Gwnai 'n awr gyfammod mawr mâd,
Hynodawl, sef enwaediad.
Yn ddïau 'r Ion addawodd
Fab tirion, oreulon rodd:
Yr Ior eirian glân ei glod
A henwodd y mab hynod.
Ag ef mâd gyfammodau
Yr Ion hael wnai gadarnhâu;
Teilwng gyfammod dilyth,
Cyfammod sydd i fod fyth.
Daeth oddiwrth Bennaeth y byd
Ail annerch ar ol ennyd.
Abraham, is y wybr hardd,
Wrth ei hynod borth iawnhardd
Eisteddai, canfyddai fod
Yr hîn yn dyner hynod;
Ac yno am Naf gwiwnef,
Dduwiol wr, meddyliai ef.
Wr geirber, ei arfer oedd
I'w ciniaw wahawdd cannoedd;
Tadawl oedd wrth alltudion,
Caent fwynhâu pur radau 'r Ion.
Tri enwog wŷr tirionwawr
Fe ganfu, wr mwyngu mawr.
Rhedodd a galwodd y gwŷr;
Heb ymrôi troi wnai 'r triwyr:
Dan ddeiliog a brigog bren
Oedd yno ymddiddanen'.
Anwyldda wr, gwnai wledd wych
I'r gwŷr hawddgar rhagorwych.
Canfyddodd eu cain foddion,
Eu bod o'r Nef loywglod lon.
Ofn a chariad mwynfad maith
I'w fron a fu ar unwaith.
Un o'r tri arglwyddi glân
Hynod oedd Naf ei hunan.
Wr da 'i dymmer, d'wed immi,
Mae 'th fwynlon wraig dirion di?
Fy Un-Duw mawr ei fwynder,
Nid pell, yn y babell bêr.
Dïau attad y deuaf,
Gyfion wr, a'th gofio wnaf,
A siriol y gwnaf Sara,
Siriol â mab duwiol da.
E glywodd y gu lawen
Y geiriau; hithau oedd hen;
Heb goelio cai fab gwiwlwys,
Yn isel, yn ddirgel ddwys,
Chwarddodd; ceryddodd yr Ion
Ei gwael a'i digred galon:
Cyn hir, y wraig gain arab,
Yn wir fe enir it' fab.
Heb law addo, 'mhen blwyddyn,
Myfi, Naf, a gwblhâf hyn.
Aent i'w taith, wŷr perffaith pur,
Tu' gwlad Sodomiad ammhur.
Rhodd Gwiw-Ner iddo gennad
I'w danfon, wr mwynlon mâd.
A gelaf, ebr Naf, yn awr,
F' union amcanion ceinwawr
Rhag Abraham? can's gwobr hael
Iddaw a ddaw yn ddiwael:
Mawr dad i genedl fâd fydd
Odidawg fawr a dedwydd.
Mi wn y rhydd hwn i'w hâd
Arch manwl, a gorch'myniad
Cadarn am wneuthur barn bêr,
Wych fendith, a chyfiawnder.
Ion didwyll, yna d'wedodd;
Gwaedd nerthawl, anferthawl fodd,
Arswydus am wŷr Sodom,
Gwaedd faith eu drygwaith sydd drom.
Cymmares ddrwg Gomorra,
Gelynion pob dynion da.
Disgynnaf, gwelaf ai gwir
Heddyw yw 'r peth gyhoeddir.
Y duwiol wr wrandawodd
Mewn parchus ofalus fodd.
Cenhadon Ion cyfion cu
I'w gorchwyl a wnaent gyrchu.
Y dawnus fwynwr dinam,
O bura' hwyl, Abraham,
Nesu wnai, naws anëofn,
At Nêr, mewn gwylder ac ofn;
Wele, Oh Dad! waeled wyf,
Lludw a llwch oll ydwyf;
F' Arglwydd, pwy draeth dy fawrglod?
Santeiddiawl ryfeddawl Fôd!
A feiddiaf un ufudd-air?
Wrth fy Naf a gaf ddweyd gair?
Gwelai wrth fodd ei galon,
Gwelai, hyfrydai ei fron,
Nêr yn fwy tyner na 'r tês
Yn gwenu arno 'n gynnes.
Fe, 'r gwr o fawr ragoriaeth,
At Dduw cu nesu a wnaeth:
Oh Geli! ddifethi fâd
Yr unfodd â rhai anfad?
Cywir Ion! os ceir yna
O'r rhai 'n ddeg a deugain da,
Ai Ti ddifethi, fy Ior,
Y gaerawg dref a'i goror?
Er mwyn y rhai 'n, wŷr cain cu,
Dêg Ior, sydd yn dy garu,
Oh Dduw mâd, Ceidwad cadarn,
Ai ni arbedi roi barn?
Duw gwŷn! na boed hyn i Ti,
Roi 'r gwirion wŷr a geri
I chwerw ing a chur angau,
Mal creulon wŷr geirwon gau.
A hyf y d'wedaf hefyd,
Ai ni rydd Barnydd y byd
Farn gyfion? ai 'r gwirion gwâr
Ar unwaith â rhai anwar
A wna ladd? Oh anwyl Ion,
Cofia, na ladd y cyfion!
Os caf, eb y Gwiw-Naf gwŷn,
A henwaist ti o honyn'
Yn gyfiawn; am eu dawn dêg
Y lwys ardal las irdeg,

Hyfryd i gyd a gedwir
Rhag bolltau'r tyrfau drwy'r tir.
  Canfu'n llon, a'i fron heb fraw,
Hawdded ydoedd dyhuddaw
Duw nefol, ei nerthol Nawdd;
Wr ethol, ail areithiawdd:
Dygodd i bump a deugain
Yn rhwydd holl nifer y rhai'n.
Y diwair wr fu'n daer iawn
O'i gariad at y gwiriawn:
I ddeg eu rhif fe ddygawdd;
A Nêr, o'i fwynder a'i nawdd,
Addawai na wnai niwaid,
Deg yn hon cyfion os caid.
Ae'r claerwyn Ior discleiriol
I'r Nef fawr yn awr yn ôl.
  Abraham ddinam ddoniawl
I Nêr fe rodd fwynber fawl.
Ae'n awr, dan fawr fyfyriaw,
Wr mwynlan, i'w drigfan draw.
  Trwy'r holl ddinas fawrfras faith,
Gadarn mewn melldigeidwaith,
Tri yno, prin tri enaid
Yn gyfiawn gyfiawn a gaid.
A hwy a ddygpwyd o hon,
Rai anwyl o ryw union:
Angylion, cysurlon swydd,
Wnaen' eu harwain yn hyrwydd.
  Braidd y t'w'nnai'r boreuddydd
A gwawr dêg trwy gaerau dydd,
Torchawg gwmmwl tew erchyll
Wnai ffrydiaw o honaw'n hyll
Grych reieidr, dan groch ruaw,
O dân a brwmstan a braw.
Difethodd, dinystriodd Naf
Yr enwir fro dirionaf;
A hwythau'r gwŷr gau i gyd,
Ennynnent yr un ennyd.
Ac yna i'r nef geinwawr
O bob parth y mygdarth mawr
A gododd; danodd mae dig
A brwd ddyfnfor berwedig.
Erddrym o gosp am fawrddrwg!
Barn gyfion am droion drwg!
  Ac wele! dros ddisgwyliad,
Sara ddaeth yn fammaeth fâd:
Dïau hon, wedi henu,
Gai lon fab, go lawen fu.
Hwn yn Isaac a henwyd;
Rhodd Dofydd, llawenydd wyd.
Gwaraidd fab o ragoriaeth,
Ffynnu a chynnyddu wnaeth.
Rhoi mawl am ei lesawl lwydd
Wnai Abra'm i Dduw'n ebrwydd:
Ei feddyliau'n gwau a gaid,
A llonnent ei holl enaid.
Cofiodd eiriau y Cyfion;
Cywir i'w air y ceir Ion:
Ei fab anwyl fu beunydd
I'w fron yn dirion drwy'r dydd.
  Wedi hyn i'r gwiwddyn gwâr
Digamwedd, gyd â'i gymmar
Pan hunai, pan gysgai'n gaeth,
Dygwyd prudd weledigaeth:
Ebre Nêr; Cymmer, wr cu,
Y gwirion wyt i'w garu,
Dy unig fab daionus,
Cyfoda, brysia heb rus,
A dos i Forïah dir;
Yno, ar fryn a enwir,
Offrymma, abertha'n bur
Gu Isaac, dy holl gysur.
  Deffrôdd, e gododd y gwr;
Credodd mai y Creawdwr,
Naf anwyl, a'i danfonawdd;
Rhodd ufudd-dod hynod hawdd.
Fe holltodd, cymm'rodd, wr cu,
O'i barth goed i aberthu:
I'w ddilyn cymm'rai ddeulange,
A'i fab mwynaidd, lariaidd lange,
Y dethawl wr ymdeithiodd
Mewn ofnus ofidus fodd.
Yn eigion ei burfron bêr
Holodd, dadleuodd lawer.
Syndod a rhyfeddod faith
I'w fron a fu ar unwaith.
Am ei anwyl fab mwynwawr
Galarai, gofidiai'n fawr.
Wrth fyfyrio hir dro'n drwm
Rhuso wnai cyfraith rheswm:
I'r gwr odiaeth, goreudad,
E barodd hyn fawr bruddhâd.
  Rhyfeddu wnai'i fwyngu fab;
A geiriau têg ac arab
Yn siriol e wnai siarad
Wrth ei fwynber dyner dad:
Boddiai âg arabeddiaith
I fyrrhâu'r dyddiau a'r daith.
Tawel ei fwyn dad diwair
Edrychodd; ni dd'wedodd air.
Mae ef yn brudd am wiwfab,
Ei fyd, ei fywyd, ei fab.
Y galar fe wnai gelu,
Fe'i teimlodd, celodd, wr cu.
A'i ffyddlon galon gulwys
Rhesymmai, 'mddiddanai'n ddwys:
Gwelaf, ryw dro neu'i gilydd,
(Dirgel, cyn y dêl, yw'r dydd,)
Mae odfa o drwm adfyd
I bawb o ddynion y byd.
Y rhinweddol duwiol da
A boenir yma'n benna';
Rhydd Ion i'r cyfiawnion fwy
O lid anocheladwy.
Yr anwir a'r dirinwedd,
Maen' hwy'n blodeuo mewn hedd;
Gofid llai nag i gyfiawn,
A'u plant sydd mewn llwyddiant llawn.
Mi o'r ddaear liwgar laith,
Dïammau, derrwyd ymaith.

Mab, i dad ammhlantadwy,
Ni rydd Celi i mi mwy.
Mi 'r dinerth darfu 'm danaf;
Weithian dan riddfan yr âf
Mewn penyd o'r byd i'r bedd,
I'r oer lawr i wael orwedd.
Cyfion i'r Ion a rannodd
Gael aberth mâd o'i râd rodd.
A mynych y bum innau,
Gwae 'm bron! hyd geimion ffyrdd gau:
Mynych mi a fum annuw,
Troseddais, mi ddigiais Dduw.
Mawrbwys a ddaeth i'm herbyn,
Troseddais, mi haeddais hyn.
I'm bron a'm calon mae cur
Am Isaac dros bob mesur.
Fy nolur, fy nghur, fy nghwyn
Am wareiddfab mor addfwyn,
Er mor frwd, mor fawr ydynt,
Fy ngwendid ond odid ŷnt.
Ond odid mai nid yn ol
Fy mawrion feiau marwol
Gwna Naf rhwyddaf a'i rhoddawdd,
Ond yn ol ei nefol nawdd.
Mi wn mai da yw 'n Muner;
Ein profi ni y mae Nêr:
O'i râd ef yw 'n Gwaredydd,
Wrth raid ei gymmorth a rydd.
Ar lawn a phur haelioni,
Ar air Naf sylfaenaf fi.
Mynych mewn geiriau mwynion,
Addawodd, e dd'wedodd Ion,
Cei luoedd dorfoedd dirfawr,
Ac o'u plith daw 'r fendith fawr.
Da obaith! cysur diball!
Gu enwog Ior, gwn y gall.
Er ei ladd, drwy ddirfawr loes,
Yr Ion eill adfer einioes:
I'w Borth er ei aberthu,
Credaf y caf, cariad cu,
Mewn rhyw fodd mwyn rhyfeddol,
Gan Naf, fy machgen yn ôl.
  Oer arwyl! fe ae 'r awr'on
I'r daith rhwng gobaith ac ofn.
Ar y trydydd dydd y daeth
I weled bryn marwolaeth.
Yno dirfawr allawr oedd
Yn weledig; niwl ydoedd:
Goleugerth dêg olygiad
Ro'i Dduw cu 'n arwyddocâd.
  Wr addwyn, fe a roddodd
Ar ei wâr fab, o'i wir fodd,
Goed yr offrwm trwm tramawr;
Yntau ddug dân eiriau wawr,
A chyllell i archolli,
I dywallt gwaed hallt â hi.
  Fy nhad, ebre 'r mab mâd mwyn,
A gweddol olwg addwyn,
Wele dân yn dy law di;
Yma rhoddaist goed immi;
Er hyn, mae 'r oenyn? pwy rydd
Ddifai aberth i Ddofydd?
Fy anwyl fab â'i fwynwedd,
Yn ddïau rhoi'r gan Dduw 'r Hedd;
Duw Ior, fy mab, a'i dyry,
Heb uno'n, ar y fron fry.
  Teithiasant, daethant eu dau
I gu ael y bryn golau.
Hardd allor i'r Ior eirian,
Yn brudd, yn ufudd a wnan'.
Y coed pan eu rhoed yn rhwydd,
Pur wiwdrefn, mewn parodrwydd,
Yn wiwddoeth d'wedai 'n addwyn
Wrth ei fab, mewn araith fwyn;
Fy nghalon dirion, dydi,
Coelia, yw aberth Celi.
Yn wir, fy machgen, eres
Orchymmyn Duw gwŷn a ge's.
Ond er hyn, Duw gwŷn, dêg Ior,
Er gollwng, ar gu allor,
Dy waed, fy ngwir grêd ydyw,
Iehofa 'th adfera 'n fyw.
  I'w fab rhyfeddod a fu,
A galar dros ei gelu.
Dywedai ei fab didwyll
Yn union mewn purion pwyll;
I Dduw hael iawn ufuddhâu;
Ein bywyd Ion a bïau.
Mynych bob blwydd o'm einioes,
I fwyngu ddifyrru f' oes,
Fy nhad mâd, â llygad llon,
Ti dd'wedaist ei add'widion:
A newidiodd Ion wed'yn?
A gwblhâ Iehofa hyn?
  Fy anwyl fab, fy enaid,
Rhoi 'n calon i'r Ion a raid:
Mae Nêr, mi wn, yn eirwir;
Dïau fod ei eiriau 'n wir:
Ei hybarch arfaeth heibiaw
Ni rodd; a dd'wedodd a ddaw.
Cefais, derbyniais di i'r byd,
O rhyfedd! o farw hefyd.
I'w fawrglod dengys f' Arglwydd
In' fwy anchwiliadwy lwydd:
Y geirwir Dduw, o'i gariad,
A'th adfer i'th dyner dad.
  Oh fy nhad! mae cariad cu
Yn anwyl iawn ennynnu
Yn f' enaid, hon fu unwaith
Mewn syndod rhyfeddod faith.
I'm monwes annymunol
Oedd cur; trodd nattur yn ôl.
Ond yn awr, fy Nuw mawr mâd,
Dilys ufuddhâf d' alwad.
Ti 'n ddïau bïau 'm bywyd,
Duw 'r duwiau! Ti bïau 'r byd!
  Heb wrthod, i'w aberthu,
Fab cyfion, fe 'n foddlon fu.
  Abraham, wr mwynbur hael,
Ei hynod fab tirionhael

A rwymodd i'w offrymmu
Ar y coed i'r mawr Ior cu.
Yn ei dirion wirion wedd,
Wr anwyl mawr ei rinwedd,
Cariad oedd i'w fab cywrain,
Ufuddhâd i'r Ceidwad cain.
Codai 'i law, oer fraw i'w fron,
I gyrraedd, lladd y gwirion,—
Clywai lef o Nef yn awr,
(E ddarfu ofni 'n ddirfawr)
Abra'm, Abra'm, ddinam dda!
Hoff eurddawn, na chyffyrdda
D' oreufab diwair ifangc,
Ond dod ollyngdod i'r llangc.
Gwn weithian, wr glân ei glod,
Dedwydd, it' ofni 'r Duwdod:
Rhoddaist, nid atteliaist ti
Y gwaraidd fab a geri,
Gwynfyd dy oes, dy geinfab,
Nage, fwy, dy *unig* fab.
Golygu 'n wareiddgu rwydd
Wnai Abra'm fry yn ebrwydd.
Gwelodd, rhyfeddodd yn fawr,
Glaerwyn Angel eglurwawr:
Cain ufuddwas, canfyddodd
Hwrdd mewn drain milain eu modd
Wrth ei gedyrn gyrn yn gaeth
Yn glynu,—Trefn Rhagluniaeth!
Y mirain hwrdd gymmerodd
Yn aberth, oreuferth rodd.
A'i fab a gadwodd yn fyw
Yn hoywddyn llawen heddyw.
I'w aberth, fe a wybu,
Yr Ion yn foddlon a fu.
Eilwaith yr Angel haelwych
Alwodd o'r wèn wybren wych;
D'wedodd, tyngodd Ion didwyll
I'w enw da, ac ni wna dwyll,
Abra'm, nid gwael dy wobrwy,
Am fwynder cei fwynder fwy.
Am it' ufuddhâu immi
Amlhâf a bendithiaf di.
Mal nifer y ser y sydd
Ym mhob rhan o'm wybrennydd,
Mal tywod môr hynod hen
Cei 'mledu yn llu llawen.
Ac yn dy Hâd gwiwfad gwâr,
Dïau cenhedloedd daear
Yn odiaethol fendithir;
Ior y Nef wna 'i air yn wir.
Gwelodd Abra'm fwyn galon,
Gwelodd, hyfrydodd ei fron,
Dêg wawr y dydd dirfawr da
O nodded i lîn Adda.
Mi 'th garaf, fy Naf nefawl!
I ti y rhoddaf fi fawl!
Fy Nuw hael a'm cyfiawnhâ,
I 'nghysur Fe 'mddanghosa!
Chwi fisoedd, blynyddoedd nef,
Olynol drwy y loywnef,
Brysied, rheded eich rhodau
Dirfawr goleuwawr yn glau!
Y liwgar loer oleugerth,
Ewybr fyddo 'th cylchlwybr certh!
Dyfod mae amser Dofydd!
O 'r haul, rhed!—deued y dydd!
I ddyn, er maint ei ddoniau,
Bèr hynt sydd yma i barhâu.
Ei gysurus wraig Sara
Aeth i hedd ddiddiwedd dda.
Galwyd yntau gan Geli,
Wr duwiol, ar ei hôl hi.
Yng Nghanaan fâd, wlad liwdeg,
Hunent hwy mewn henaint têg.
Duw trugarog, nerthog Nawdd,
Ion hynod, Fe ni hunawdd:
Bu 'n gu nerth, bu 'n gynnorthwy,
Bu 'n Dŵr, bu 'n Dad i'w hâd hwy.
Teithiais, deuais o'r diwedd
I wlad gu oludog wedd,
I lwyni o bêr luniaeth,
Nefol ac anfarwol faeth:
Yf win, a bwytta, f' enaid,
O'r ffrwythau gorau a gaid.
Mae 'r haul claer oddiâr gaer gu
Y dwyrain gain yn gwenu;
Nifwl o'i gylch sy 'n nofiaw,
A thyner lawnder o wlaw.
Mal gwlaw a ddaw i'r ddaear
A gyfyd yr ŷd o'r âr,
Deigr enaid wnan' dêg rinwedd
I gynnyddu 'n gu ei gwedd.
Drwy 'r byd mor hyfryd yw 'r hîn!
A lliwiau y gorllewin!
Goleugerth gu olygiad
Yn egawr i fyd mawr mâd!
O am aden y wèn wawr
I gyrraedd y dêg orawr!
Abra'm, dan y fawr wybren
Ei enw fydd tra bo 'r nef wèn:
Ym mhob gwlâd ei hâd amlhânt,
Rhyfeddod hir a fyddant;
Llenwan' bob eirian oror
Fawr o faint, o fôr i fôr.
Deuddeg mab lliwdeg a llon
Ro'i Nêr i un o'i wyrion:
Un pan yn llangc ifangc oedd,
I'w dad anwylyd ydoedd.
Ei dad, o ran cariad cu,
Ran urddas, ran ei harddu,
Rhoi 'n siccr i hwnnw siaced
Amryliw o geinwiw gêd.
Breuddwydiodd, adroddodd draw,
A'i frodyr dirfawr frydiaw
A wnaethant yn annoethion,
A brâd a lanwodd eu bron.
Ydd ydoedd ei freuddwydiawn
O radd gerth fawreddog iawn;
Arwyddion o rieiddwych
A helaeth lywodraeth wych:

Yr hoyw loer o liw arian,
Yr eurwawr haul gloywfawr glân,
A'r ser yn uchder y nef
A wnaent ger ei fron yntef,
Diweirfab, mewn parch dirfawr
Ymgrymmu, lon lu, i lawr.
  A Satan weithian a wnaeth
Lenwi rhai 'n â gelyniaeth:
Gwynfyd y Sarph ddybryd ddig
Yw brâd a llid berwedig.
Wŷr gweddus golygus glân,
Daethant i fangre Dothan.
A'u tad un galwad a gânt,
Ddydd bwygilydd bugeiliant.
  D'wedodd Israel, wr hael hen,
Fy lliwus fwyn fab llawen,
Joseph, fy mab dewisaf,
Yn nydd a nos dan nawdd Naf,
Dos a dychwel, gwel y gwŷr
Hyfrydawl, sef dy frodyr,
Da 'mab, a gad im' wybod
Ba wedd sydd arnynt yn bod.
  Y gwr ifangc goreufad
Ae i'r daith ar air ei dad.
Fe holai, pan welai wŷr
Ar adeg, am ei frodyr.
Heini' chwiliodd yn hynaws,
Gan grwydro hir dro ar draws
Y wlad, a daeth i liwdeg
A llydan fryn Dothan dêg.
Ei frodyr, gwŷr di gariad,
Gwelent hwy galon eu tad:
Hwy dd'wedent, Draw 'r breuddwydiwr!
Edrychwch, gwelwch y gwr!
Haul ydyw o hoyw loywder!
Frithed ei siacced o ser!
Lladdwn ef, lluddio a wnawn
Ei ddadwrdd a'i freuddwydiawn.
Cawn weled ryfedded fydd
Wed'yn rwysg y breuddwydydd.
  Eu gwridog frawd gwâr odiaeth,
Dan wenu, nesu a wnaeth:
O 'mrodyr! yma 'r ydych
I gyd mewn iechyd yn wych?
Gwelodd y bachgen gwiwlwys
Eu chwerwder a'u digter dwys:
Diweirfab, mewn ofn dirfawr,
Cyffrôdd, rhyfeddodd yn fawr.
A phan ddaeth i rygaeth rwyd,
O'i dda wisg e ddïosgwyd.
Ymbiliodd, ceisiodd, fab cu,
Tan orian, eu tyneru:
Dywedai, Eich brawd ydwyf;
Cywir iawn eich caru 'r wyf.
  O 'th ddeiliaid! fe 'th addolir!
Tydi a deyrnesi 'n wir!
Fi ro'i ddedwydd freuddwydion
I'r gwynt, ar hynt, yr awr hon;
Gwnaf, cred, mor siccred â'r ser,
Ymostwng i ti, meister!
Simeon, âg arf greulon groch,
Hagr, ar ei frawd gwrid-hoywgoch
Y geufiaidd ruthrai 'n gyflym,
A'i wedd mewn digllonedd llym.
A'r lleill yno 'n gawrio gaid,
Trywaner ef trwy 'i enaid!
  Reuben yn addien a aeth,
Hefyd a Juda hyfaeth,
Hwy lesol attaliasant
Greulonder chwerwder eu chwant.
Gwiliwch, ni bydd ddirgelwaed;
Ofnwch, na thywelltwch waed:
Bwriwn, mae pydew 'n barod,
Ef i hwn fwriwn i fod:
Ni welir mewn anialwch;
Am draha fe drenga 'n drwch.
  Hwythau, ar ol geiriau gânt,
At hynny a gyttunant.
I bydew, heb na bwydydd,
Na dwr, na goleuni dydd,
Ei lusgo, dan wawdio, wnant;
Ffyrnig a dieflig daflant
Eu brawd i'r gwaelawd yn gaeth
I wylo dan farwolaeth.
Gawr filain mewn gorfoledd
A roisant, arlwyant wledd.
Ac ef at Dduw Nef, dda Nawdd,
Ei weddi gyfarwyddawdd.
  Reuben yn ddïarwybod,
Yn awr, heb feddwl fawr fod
Eirias ac ail fradwriaeth,
Draw i areiliaw yr aeth.
Dychwelyd oedd fryd ei fron,
A gwared ei frawd gwirion,
A rhoddi hwnnw 'n rhwyddfad
Yn ol i'w odiaethol dad.
Ond Oh! yr oedd yno ddig
Lywiawdwr anweledig.
Ni âd Satan annedwydd,
Erchyll, i sefyll mo 'i swydd:
Och! bellach os gwnewch ballu,
Gresynawl! ebr y Diawl du,
A'ch gelyn yn eich golwg!
Fe lwydda ei draha drwg!
Llanwodd fron y gweision gau
A gwŷn, â chynfigennau.
  Yr eilun! fe reoli!
Gw'radwydd! fe 'n arglwydd i ni!
Rhoddwn e 'n awr mewn rhuddwaed,
Lladdwn, tywalltwn ei waed.
  Juda, â grudd brudd a bron,
O gariad i'w frawd gwirion,
D'wedai 'n fwyn, Mae 'i dad e 'n fyw;
O'i bur dad ein brawd ydyw.
Pa wedd, ar ol dïaledd dwys,
Y gwelwn ein tad gwiwlwys?
  Tra 'mddadlent, hwy welent wŷr,
Tyrfa fel torf o faelwyr.
Na laddwn, gwerthwn e 'n gaeth,
Na welwn ei farwolaeth.

Y tonnog wŷr gyttunant,
Os arian gwiwlan a gânt.
I'r geulan fry, o'r gwaelawd,
Yn brudd codasan' eu brawd:
Eu didwyll frawd clodadwy
Am arian gynhygian' hwy.
Y maelwyr, oll am olud,
A'i prynan', fab mwynlan mud:
Am arian nid ymeiriant,
Hyn oedd eu gofyn a gânt.
Na boed it' rudd brudd na bron;
Tyred, fy machgen tirion.
Haelionus a serchus wŷr!
Medd ei hyfrydwedd frodyr,
Gwr mawr yw, ac Ior mor wych
A fydd, chwi a ryfeddych!
Rheolwr mawr a hylaw!
Brenin a fydd ddydd a ddaw!
Juda ragora a gaid,
Mwynwr, yn drwm ei enaid:
Iach, dawelach, fab dilyth,
Ac yn iach, fy mrawd bach, byth!
Yn ei wyneb diweniaith
Cur oedd dros nattur un iaith.
Ei frodyr fuant fradawg;
Tynerol ar eu hol rhawg
Hiraethodd, edrychodd draw;
Trwy alar torrai i wylaw.
Ei fradwyr ymhyfrydant,
O hyd eu gwynfyd a gânt.
Y fraith siacced, y gêd gu
Unwaith oedd yn serennu,
Mewn cochlyn o waed mynn mâd
Ei harddwch ga'dd drwch drochiad.
Hwy ddaethant yn hawdd weithion
At eu mâd haeldad â hon.
Gwel hon: mae'n calon mewn cur
Am Joseph dros bob mesur;
Ai gwisg dy fab arab yw?
Annedwydd, os hon ydyw!
Canfu,—adnabu,—Duw Naf!
Gwae'r olwg arw a welaf!
Chwerw ofid! Och, wr ifangc!
Lladdwyd, a llarpiwyd y llangc!
Drylliawdd ei wisg gan drallod,
A'i fron fwyn, am i'r farn fod.
Galarai, 'mofidiai 'n fawr,
Am ei anwyl fab mwynwawr.
Ei deulu o'i ddeutu ddaeth,
Gan weled ei ddygn alaeth.
Diles ydoedd ei deulu
A'u geiriau call i'r gwr cu.
Oediog, digysur ydwy',
Fy mab ni welaf fi mwy.
Ei derfyn ddaeth, diweirfab;
Af i 'medd ar ol fy mab.
Llawer blwyddyn wed'yn aeth;
Yn hwyr derfydd blin hiraeth:
Ei fab a godwyd yn fawr;
Ni wyddai 'i dad mwyneiddwawr:
Chwerw fe ga'dd ei garcharu,
Heb son i'r cyfion wr cu.
Ei Dduw fyth fu iddo fo,
Duw anwyl fu'n Dad yno.
Anfonwyd gan Naf union,
Ar hyd yr holl ddaear hon,
Newyn ar fyd annuwiol
Am falchder diffeithder ffol.
E losgwyd Asia lwysgu,
Ac Affrig dawddedig ddu,
Ac Ewrop dêg ei gorawr,
Gan ffwrnwres y moeldes mawr.
Ond i'r Aipht mawr lawnder oedd;
Yr ŷd yn hon yr ydoedd.
I'r wlad hon yn dirion daeth
Miliynau'r byd am luniaeth.
Llawen y rhannai 'r llywydd
Lawnder yn dyner bob dydd.
Canaan ydoedd mewn cyni;
Gyd â'i meibion hoywon hi
Daeth Juda fwyndda ar fyr,
A'i fradawg euog frodyr:
Y gloywddoeth wr goleuddawn
A'u canfu yn y llu llawn.
Dywedwch, o ba dudwedd
Yr ydych? oes haelwych hedd?
O Ganaan, eb y gweiniaid,
Dy weision gwaelion a gaid:
Am luniaeth, y gwr ffraeth ffraw,
Y daethom yma i deithiaw.
Moesawl hwy ymgrymmasan'
Hyd lawr i'r gwr gloyw-wawr glân.
Llidiawg, megis llew ydoedd,
A garw ei air y gwr oedd:
Da 'r adwaen eich dirieidi,
Amlwg yw 'ch mawrddrwg i mi.
Gwelaf, mal y dydd golau,
Eich dyfnion ddirgelion gau.
Bradwyr, yspïwyr ydynt,
Carcharaf, ail holaf hwynt.
Adeg alarus ydoedd!
Syndod i'w cydwybod oedd!
D'wedent eu hanes didwyll
Yn bur dêg, heb air o dwyll.
Mwyn iawn ymgrymmu a wnaant,
Du alar! hwy gyd-wylant.
Ond hyn i'w herbyn o hyd
Yn ddidawl a wnai dd'wedyd:
Galon, meddai 'r gwron gwych,
Bradwyr, yspïwyr ydych.
'Yn wyneb dynion enwir
Mae drwg yn amlwg yn wir.
Dagrau, a du euogrwydd,
Terfysg sy 'n gymmysg i'm gŵydd.
Bradwyr, yspïwyr ydynt!
Rhwymwch, a charcharwch hwynt.
Gan drymmed, dosted y dydd,
Wŷr gwaelion, ar eu gilydd
Edrychent, cofient eu caeth
A'u dyrys hen fradwriaeth:

Am ein brawd mewn cur mae'n bron;
Duw a'i gŵyr, ei waed gwirion
Ofynnir yn wir; gwae ni
Ganwaith am ein drygioni!
I'w ruddiau 'r dagrau oeddynt;
Gwelsom ei brudd gystudd gynt.
Chwerw a fydd ein carchariad;
Oh Dduw 'n Tŵr! beth ddaw o'n tad?
  Gwelodd y llywydd gwiwlwys
Eu dychryn diderfyn dwys:
I hallt wylaw draw fe drodd;
Yn araf fe dynerodd.
Anniddan wŷr, ni wyddynt
Mai perffaith gwyddai 'u hiaith hwynt,
O herwydd cyfieithydd fu,
Gwiw hybarch, yn gohebu.
Teilwng wr, ymattaliodd,
Ac bellach mewn mwynach modd
Dychwelawdd, holawdd helynt
Eu gwlad; ai byw eu tad hwynt?
  Byw yw 'n tad, attebent hwy,
Gwan o nerth, digynnorthwy.
  Oes yng Nghanaan wenlan wych
Frodyr? pa nifer ydych?
  Deuddeg ar un pryd oeddym,
Unarddeg yn awr ydd ŷm.
Un sydd, bob dydd, gyd â'i dad,
A marw o ddryglam irad,
Ein hynaws Ior brenhinol,
F' un o'r ddau flynyddau 'n ôl.
Y seilion wŷr iselwawr
Ymgrymment, llyfent y llawr.
  Os perffaith araith eirwir,
Caf wybod gwaelod y gwir;
Anfonwch un i fynu,
Prysured, cyrched eich cu
Frawd anwyl:—e fu 'r dynion
Yn ddistaw, a braw i'w bron.
  Gwelwch, mae yn eu golwg
Arwyddion o droion drwg.
Carcharwch, rhwymwch y rhai 'n!
Ymaelwch mewn modd milain!
  Tridiau rho'i 'r gwr tra odiaeth
Hwynt mewn heiyrn cedyrn caeth.
Bu 'u henaid, drueiniaid, dro
Ym mhell wedi ammhwyllo.
Naf anwyl y Nef wenwawr!
Oh Geli! gwae ni yn awr!
Gweithredoedd fu gaeth rydost
Gânt gaeth gospedigaeth dost.
Distryw a braw 'n brydiaw 'n bron!
A distryw y' ngwlad estron!
Oh 'n tad! beth ddaw honot ti?
Gwna 'th galon dirion dorri!
Ei loesau ni theimlasom
Hyd yn awr, wedi 'r awr drom.
Drwy 'r hirddydd mae draw 'r harddwisg,
O hyd y mae 'r waedlyd wisg
Ganddo er cofio 'r cyfion,
A gwaedlyd o hyd yw hon.
Ein drygnaws fu 'n draws, fu 'n drom,
Wrth Joseph, pan werthasom.
Garw yw 'n braw! ac oer yw 'n brawd
Joseph yn y bedd isawd!
Dïaledd gan waed a elwir,
Can's gwaed a fŷn waed yn wir.
Yn ol ein bai, ni welwn,
Mae 'n penyd, mae 'n hadfyd hwn.
I ddïeithriaid, modd athrist,
Ein brawd gwan, druan, yn drist,
Werthasom; trom fu 'n trais,
A milain dost fu 'n malais:
E ddeuodd unrhyw ddïal,
Can's plaid dïeithriaid ddyd dâl.
Gwae inni, rai drwg enwir!
Gwae 'n tad anwylfad yn wir!
Ein hanes fâg anhunedd,
A'i gyrr ar fŷr i'r oer fedd.
  Danfon wnaeth y gwron gwâr
I'w cyrchu hwynt o'u carchar.
Yr oeddynt hwy, wŷr eiddil,
Mewn dagrau griddfannau fil.
Gwelodd, teimlodd eu galar;
Yna, medd, â mwyn wedd wâr;
Ofni Celi o'm calon
Yr wyf, a moliannu 'r Ion.
Yn ddïau chwithau gwnewch hyn;
Aed naw 'n ôl rhag bod newyn
Yn gwasgu teulu eich tad,
Erys un mewn carchariad.
  Dan gerydd du angnriol
Aeth naw dan wylaw yn ôl.
  Eu tad amddifad, medd ef,
Yn enw mawr Ion y wiwnef!
Yn enw Duw! ai chwi 'n unig
O'r dyrfa ga'dd ddalfa ddig!
Dyma ryfeddod immi,
Holwyd a charcharwyd chwi!
  Mae 'n hynod ryfeddod fawr,
A'r enwog wr eirianwawr,
Egored ei drugaredd,
I'r byd yn rhoi hyfryd hedd.
Am y llywydd clodrydd clau
Fe dd'wedir rhyfeddodau;
Ei godi ef yn geidwad,
O garchar du, ar lu 'r wlad.
Ei glod a'i awdurdod aeth
Yn hynod drwy 'r frenhiniaeth.
A farno ef, a fernir;
Os nawdd, fe fydd nawdd yn wir!
  Eu tad, amddifad am ddau,
A ddelwodd gan feddyliau:
E ddyrysodd ei reswm
O herwydd y tramgwydd trwm.
Pan ddarfu 'r ŷd, poen ddirfawr,
Mewn gofid gwelid eu gwawr:
Y glaswyn newyn a wnaeth
Lewygu eu hiliogaeth,
Eu plant ofynnant am fwyd,
Wylant o ddeutu 'r aelwyd:

Y rhai 'n, gyd â'u rhïeni,
Druain, fu 'n llefain yn lli'.
  Pa'm, medd eu hael dad gwael gwan,
Ba ham 'r y'ch yn bwhwmman?
A pha'm edrychwch, heb ffydd,
A'ch golwg ar eich gilydd?
Ai oedi etto 'r ydych?
Ai marw a wnawn mewn mawr nych?
Cyfodwch, a chyrchwch ŷd,
A buan am eich bywyd.
  Ni feiddiwn, mae'n anfuddiol,
Os saf yr ie'ngaf ar ôl.
Dïau, os awn ninnau 'n awr,
Myned raid i'n brawd mwynwawr:
Hebddo ni wnawn ddigio 'n ddwys
Galon y llywydd gwiwlwys;
Hebddo ni's gwnawn feiddio fyth
Adweled y gwr dilyth.
Na lidiwn lân lywiawdwr,
Rhaid ufuddhâu geiriau 'r gwr.
  Pa fodd digwyddodd y gwall
Diriaid, son am frawd arall?
  Haelwych wr, fe a'n holawdd;
A'r gwir, pan holir, ddaw 'n hawdd.
Iawn wyddem fryd y noddwr?
Ddirgelion geirwon y gwr?
I'r noddwr mawr rhinweddawl
Mae 'r anwir a'r gwir mal gwawl.
Ei helaeth wybodaeth bur
A'i nododd yn bennadur.
Pan welir y gwir i gyd,
Y gwir etto a'n gweryd.
  A hyn fu 'n fron-wahaniad,
Fu 'n brudd-der i'w dyner dad.
Yn awr ei ollwng a wnai;
Ond eilwaith anwadalai:
Nid â fy mab arab i
O'i gu wlad i galedi,
Rhag braw, rhag tramgwyddaw 'n gaeth,
Mawr alar, rhag marwolaeth!
Gyrrais fy mab hawddgaraf,
(Ei gofio dan wylo wnaf,)
Ei frawd o dref i rodiaw,
Fe aeth, ni ddaeth, ac ni ddaw:
A'i frawd ym mhell o'i frodir
Anfonaf? na wnaf yn wir!
  Os ti ni ollyngi 'r llangc,
Ofer heb ein brawd ifangc
In' feddwl, ni wnawn feiddiaw
Myn'd i'r Aipht at Simeon draw.
  Drwy loes f' einioes a fynnwch,
Ni 'ch dyddawr, i'r llawr, i'r llwch.
Dirwynwch, mae 'n drueni,
I fedd fy mhenwynnedd i.
Joseph, y cariadusaf
Ei lon wedd ddaeth o law Naf,
Nodedig fab, nid ydyw,
A Simeon dirion nid yw:
I hyll ing, pe gollyngwn,
Mae 'ch bryd fyn'd hefyd â hwn.

Ni'm gwyrir mwy â geiriau;
Gwae 'mron! onid digon dau?
  Ni feiddient ei anfoddiaw;
Och'neidiant, hwy droant draw.
  Gwelwch dirionwch ei rudd,
A'i gyfiawn olwg ufudd,
On'd yw ef, mwyn ei dafawd,
Un fron â'i hyfrydlon frawd?
  Eu golwg rhagddo gelant;
Gofidio, och'neidio wnant.
Ddyddiau wedi hir ddïoddef,
Etto aent o'i ddeutu ef:
Eb Reuben; Trwy bur obaith
Awn yn wŷr dewriawn i'r daith.
Deled ein brawd, adolwyn,
A'r llywydd a fydd yn fwyn:
Etto oni ddygaf itti,
Lladd fy neufab arab i.
  Juda 'r hygara' o'r gwŷr,
A moes iawn, â mwy synwyr,
A dd'wedodd yn ddïoedi,
Fy nhad anwylfad, gan i,
Gan i gofynni 'th gu fab,
Dy eirian enaid arab:
Dïogel mi a'i dygaf;
Am dano mechnïo wnaf.
Wr goruchel, pan wêl ni,
Ni wnawn ei lawn foddloni:
Yna fe newidia wedd
Y gwr yn llawn trugaredd.
Cei Simeon gyfion ac ef,
Cei d' edryd i gyd adref.
Ai myned yn wŷr mwyniawn,
Ai 'n unllu newynu wnawn?
  Yn oediog, yn annedwydd,
Ei ddagrau 'n rhestrau, yn rhwydd,
A lifent yn loyw afon.
Aml d'rawodd ei freufodd fron:
Du arnaf ydyw 'r diwrnod!
Duw fry! a raid felly fod!
Gwae finnau dy gyfiawnwas!
Diblentir yn wir dy was!
Poenus ydyw 'ch tad penwyn;
Gwrandewch, ac ufuddhewch hyn:
I'r gwr gwnewch anrheg euraid
O'r ffrwythau gorau a gaid,
O fyrr a balm diferawl,
O lysiau, teganau 'r gwawl,
O gnau, almonau, a mêl,
A neswch atto 'n isel;
Ac eled eich brawd gwiwlwys
I'ch canlyn:—rhag dychryn dwys,
Rhag pob rhyw ddrwg, Duw, dwg di,
Heb nam, fy meibion immi!
O'r Nef fawr hyfrydwawr fry
Duw Abra'm gweled obry!
Duw Isaac a'm dewisawdd,
Duw nefol fo 'ch nerthol Nawdd!
A rhoed, er cariad Ior Hedd,
Y gwr i chwi drugaredd.

Rhag pob drwg, Duw, dwg o'r daith
Yn ol fy meibion eilwaith!
  Heb uno'n, 'n ol derbyniad
Bendithion tirion eu tad,
I'r daith yr eilwaith yr ân'.
E wnaeth y newyn weithian
I lawer iawn o luoedd,
I'r holl fyd i gyd ar g'oedd,
Dyrru i'r deyrnas diriawn,
Helaeth, lle 'r oedd lluniaeth llawn.
Dedwydd dorfoedd alltudion,
Wrth dd'od i'r wlad hyglod hon,
Yn siriol a wnaeu' siarad
Beunydd am lywydd y wlad.
Dieithriaid a gweiniaid gànt,
Wr hael, am dano 'r holant:
Mawl y llywydd clodrydd clau,
Mwyn enwog, glywsom ninnau:
Son mae dynion am danaw,
Pob gwan, drwy 'r pedryfan draw.
Chwi fu gynt, meddynt, am ŷd
Tewfrig yn y wlad hyfryd,
Adwaenoch, welsoch chwi wedd
Yr enwog wr o rinwedd?
  Do'n wir; do, ei wên eirian,
A'i lais a glywais, wr glân.
Gwroldeb, hawddgar wylder,
Nawdd i bawb sy 'n ei wedd bêr:
Gwr ar fyrdd yn rhagori,
Perffaith oddiar ein iaith ni.
Mal mawrion gwiwlon eu gwedd
Y gweiniaid gânt ddigonedd.
Unwedd o'i flaen, bob ennyd,
Mawrion a gwaelion i gyd.
  Pan ddaethan' i'r loywlan wlad
Y gwŷr i gyd â'r un gariad
Gwresog a'i mawr garasant,
Fal beirddion a gweinion gànt
Ddyffryn gwyrddwawr clodfawr Clwyd,
Lawnaf Dyffryn a luniwyd;
Hylwydd ddyffryn ehelaeth
Yn llawn ymenyn a llaeth;
Ac yno mae gwin a mêdd,
Gwenith a haidd ddigonedd;
Aml lysoedd cyhoedd eu cêd,
Ac eirian byrth egored.
  Wrth wel'd gwedd, mawredd a maint
Y gaerog ddinas gywraint,
Medd rhai, y trysordai sydd
Amryw fil mal mawr foelydd.
Rhyfedd, dan un gwr hefyd
Mae 'r deyrnas geinlas i gyd!
Mynor ei lys dymunawl,
Disgleirbryd i gyd fel gwawl!
  Y gloywrudd haul eglurwawr
Wnai gu belydru i lawr.
O'i gywraint lys mawrfraint mâd
Y gwron mawr ei gariad,
Rhwng harddlu o'r ddeutu, ddaeth
I'w hoywliw gerbyd helaeth.

Mawrwych od y meirch ydynt,
A blodau 'r wlad werddfad ŷnt.
Caerog addurnwaith cywrain
O aur coeth yw 'r offer cain.
Ymlonnant mewn melynaur,
A'r cerbyd sydd danllyd aur:
Eres ei loywder araul,
Mal cerbyd hyfryd yr haul.
Ei olwynion ëon ânt,
Hoywon y tro'n', taranant.
O'i ddeutu golygu i lawr
O'i dirion gerbyd eurwawr,
Mewn brawdol a nefol naws,
Wna'r llywydd ar y lliaws:
Cannoedd o dorfoedd dirfawr
Ymgrymmant, llyfant y llawr.
Fel pan fydd ym meusydd Mon
Y gwenith yn frig-wynnion,
A'r gwynt o'r gogleddbwynt glân,
Y blagur oll a blygan';
Trwy ganol ei faenol fawr,
Ar fore o haf eurwawr,
Ardderchog farchog o Fon,
Hyd araul rodfa dirion,
A wêl bob grawn ffrwythlawn ffraw
Yn gweddus gyd-ogwyddaw:
Bendithia 'n llon, o'i fron frau,
Roddwr pob trugareddau.
Yr un modd, pan drodd drwyddynt
Y llywydd ei hoywrydd hynt,
I'r hynod wr brenhinwawr
Plygu wna pob rhyw lu i lawr.
Pawb yno 'n llon, pob enaid,
Wr mwyngu 'n ei garu gaid;
Gwenu ar ei ogoniant,
Hir graffu 'n anwylgu wnant.
Dyma 'r mwynwawr wr mawr mâd,
Rhagorol:—ar ei gariad,
Ei ryfedd drugaredd gu,
A'i rinwedd yn cyfrannu,
Yn gwbl ar hyn mae 'n gobaith,
Mae bywyd y mawrfyd maith.
Difyr rho'i pob rhyw dafod
Ei fawl a'i ryglyddawl glod:
Y mae 'r gwr mawr ac eirioes
Ym mlodau ei olau oes;
Mae 'n rhyfedd, mae 'n ei wedd wawl
A doniau mwy na dynawl.
Ni wyddir, meddir, y man
Daeth y gwr doeth ac eirian;
Gwir ydyw, os rhai gredir,
E ddaeth ef o Nef yn wir.
  Wr eres, drwy dês y dydd,
Tra 'r elai trwy 'r heolydd,
'I olwynion gwylltion oedd gynt
Eu rhediad na 'r rhuadwynt.
Fe graffodd, gwelodd y gwŷr
O Ganaan, ddeg o geinwyr,
Yn isel, fwynion weisiawn,
Yn ymgrymmu 'n y llu llawn.

Anfonodd attynt fwynwawr
Gennad, y gwr mwynfad mawr,
I'w tywys i'w geinlys gwŷn;
Hwy ddelwant wrth ei ddilyn.
Mae 'n sŷn; mae rhywbeth fŷn fod;
E'n rhuthrir, gwae ni 'r athrod,
Am arian fe 'n cymmerir
Yn gaethion weision yn wir.
Pwy ddodawdd, pa ddu adyn,
Y 'ngenau 'n sachau, mae 'n sŷn.
A hir yr ymgynghorant,
Gan ammhau, p' un orau wnant,
Ai peidio, neu feiddio 'n fwyn
Gu roddi i'r gwr addwyn
Eu rhodd?—on'd ofer yw hyn?
Yn wawd ni fyddwn wed'yn.
Pa fael yw rhodd wael o werth?
Oferedd yw rhodd fawrwerth,
A hyf ei chynnig hefyd
I ben rheolwr y byd.
Mae 'n wir, medd brawd mwyn arall,
Ond er hyn y ceinddyn call,
Yn ei bêr wyneb eirian
Mae mwynder a gloywder glân.
Ei chwimmwth drwm orchymmyn
Wnaethom, ufuddhasom hyn:
Yn hylaw pan ein holir,
Y llywydd genfydd y gwir.
Er helaeth lywodraeth wych,
Er geiriau 'r gwr rhagorwych,
Fe, wr eurfawr, o'i wirfodd
Fe dderbyn, er hyn, ein rhodd.
Hwy aen', hwy wnaen' yn anhy'
Neshâu at gynteddau 'r tŷ.
Taranai 'r gwr tirionwych
Trwy 'r lawen ddinas wên wych;
Trwy heolydd tra helaeth
Memphis fawr areulwawr aeth.
Ei olwynion ceinion cu
Rywfaint pan wnaent arafu,
Gwrawl wŷr a egorant
Ddrysau trysorau y sant:
E ddyglyw pawb, modd eglur,
Drwst barrau a'r dorau dur.
I'r ddinas ai myrddiynoedd,
I'r holl fyd amlder ŷd oedd.
Mynych drwy 'r wlad ddymunol,
Oddiwrtho, neu atto 'n ôl,
Cenhadon cain ehedynt
Ar led mor gynted â'r gwynt:
E gadwai 'r llywydd gwiwdeg
Drefn addas drwy 'r deyrnas dêg.
Fry mae 'n y wên wybren wawl
Yn nofio 'n gwmmwl nefawl;
Awyrawl gerbyd eirian
Yn cynnwys tyrfa lwys lân:
Yn gwenu o'r Nef gannaid
Angylion gwynnion a gaid;
Ryfedded yw gweled gwr,
Hoff anwyl amddiffynwr,
Mor enwog am ei rinwedd
A meibion rhadlon yr Hedd!
Mae enw y llywydd mwynwawr
Drwy gaerau 'r Nef olau fawr.
Y dydd daw 'r gwr dedwyddawl
I 'splennydd geurydd y Gwawl,
Ion ei ddirgelion yn gu
Oleugain wna amlygu;
Ein Ior hael ddatguddia 'n rhwydd
Ei arfaeth helaeth hylwydd.
Egored nefawl geurydd!
Brysied a deued y dydd!
Tra 'r oeddynt hwy, wŷr addwyn,
Yn gwneuthur, mewn cur, eu cwyn,
Mewn gofid, yn mwyn gyfarch,
Gwas ffraeth y pennaeth mewn parch,
Y rheolwr mawr hylwydd
A ddaeth o'i lwys odiaeth swydd.
Hwy, ger bron y gwr breiniol,
A blygant, nesant yn ôl.
Fe safodd; edrychodd dro
Yn anwyl arnyn' yno:
Ebe 'r gwr, o bur gariad,
Ai byw hyd heddyw yw 'ch tad?
Ai hylwydd, ai iach helynt
Y gwr henwasoch chwi gynt?
Byw yw 'n tâd, f' arglwydd mâd mau
Odiaethol, dy was dithau.
Gwaraidd o'i flaen y gwyrant,
Ymgrymmu 'n fwyneiddiu wnant.
Juda wareiddia' â'i rodd
Yn isel a ddynesodd:
Dy was, ein tad, sy 'n deisyf,
F' arglwydd gwŷn, na boed hyn hyf,
It' fwyn dderbyn hyn mewn hedd,
Fe wyla gan orfoledd.
Y llywydd arni 'n llawen
Drodd serchog drugarog wên.
Wr mâd, ei gennad a gânt,
A'i weision dderbyniasant.
Sylwodd, golygodd gu lân
Bryd araul eu brawd eirian.
Ai dyma 'r ie'nga'?—ei ras
Duw r'o iddo yn dra addas!
Orhoenus wr, ar hynny
Fe drodd, 'madawodd i'w dŷ.
Meddant, can's hwy welsant wedd
Y gwr yn llawn trugaredd,
Yn rhyddion oll fe 'n rhoddir;
Fe 'n profodd, gwelodd y gwir,
Duw anwyl, Tad y wiwnef,
A'i trodd, a'i meddalodd ef.
Oddiyno, tra 'mddiddenynt,
Galwyd, a gwahoddwyd hwynt.
Clywant, rhyfeddant yn fawr,
Y dorau harddbryd eurwawr
Yn egawr mewn mwyn hoywgain
Felysawl gyssonawl sain.
Dwys eglurder disgleirdeg,
A helaeth faintiolaeth têg

Y neuadd fawr yn awr wnaeth
Y dynion mewn mudaniaeth.
Byrddau a dysglau disglair,
Gweision parodion ar air,
Ag yno mewn gogoniant
Wŷr mawrion a gwychion gânt.
Dedwydd hardd lywydd y wlad,
Llon, gwrol, llawn o gariad,
Fe ydoedd ddyrchafadwy
Oddiar eu hawddgar lu hwy.
Gwelant e'n rhoi, o'i galon,
Fendith glau ar radau'r Ion.
A'i law amneidiaw a wnaeth,
A'r gwŷr yn ol rhagoriaeth
(Rhyfeddan'!) eu hoedran hwynt,
Naws diddan, a eisteddynt.
A lluniaeth fe a'u llonnodd;
Mwyaf i'r ie'ngaf a rodd.
Y glyw drodd yn gu lawen
Ar Juda anwyldda wên:
Cu hynod yw iaith Canaan,
Groyw a glwys, eb y gwr glân.
Dysgais innau ryw dwysg-iaith
Anghywraint, rywfaint o'r iaith:
Mae'n brifiaith, mae'n bêr hefyd,
Mae'n berffaith geiniaith i gyd.
Bu'r brodyr mewn myfyr maith
Pan glywsan' eirian araith
Y llywydd hardd a llawen,
Iaith eglur, iaith bur dros ben!
Newydd ddarfod ciniawa,
Rinweddol wr duwiol da,
Gorch'mynodd, o'r rhodd, gael rhan
O ffrwythydd ceinwydd Canaan.
Dygawdd ei weinidogion
Ar frys y rhai'n ger ei fron.
Golygodd, fe drodd drwyddynt
Ei law hardd i'w teimlo hwynt.
Ar y gwâr eurawg wron
Gwnai'r Aiphtiaid, â llygaid llon,
Olygu i fynu'n fwynwawr;
Troe'r lleill eu golwg tu'r llawr,
Un o'r rhai'n i'w enau rhodd,
A melys y canmolodd:
Mae yng Nghanaan loywlan lwys,
Brodir ail i Baradwys,
Brif-wŷdd, mi wn wrth brofiad
Aeron melysion y wlad;
Anrheg eich tâd mâd i mi,
Fawrwerth, iawn im' glodfori.
Y ceinfwyn lywydd, canfu
Orfoledd yn eu gwedd gu.
Ar Juda iawndda fwynddyn
Edrychodd, holodd fal hyn;
Bu gwr glân o Ganaan gynt,
Hwnnw Abra'm yr henwynt,
Dros fŷr dro'n teithio'r wlad hon;
Ni wyddir ddim newyddion
Teilwng o'i fywyd dilyth;
Holwyd, ni chlybuwyd byth:
A wyddoch, glywsoch, wŷr glân,
Y cu enw y' ngwlad Canaan?
Abra'm yw'r tad mawrfad mau;
Haelionus wr, o'i lwynau,
O hwnnw, f' arglwydd hynod,
Yr ŷm ni, 'th weision di, 'n d'od.
Aie'n wir!—gwr cywir coeth,
Gwr oedd addwyn goreuddoeth.
Wron duwiol, wrandewi
Ein ffyddlon hanesion ni?
Mwyfwy am Abra'm wiwfad,
Ein henwog odidog dad,
Fedrwn, f' arglwydd mawrlwydd mau,
Dd'wedyd o ryfeddodau.
Y llywydd arno'n llawen
Drodd fwynaidd anwylaidd wên.
Adroddodd Juda drwyddynt
Eu heres haneş a'u hynt.
Bôr dewr, ar eu brawd eirian
Craffai, golygai'n gu lân:
A pha fodd na ddeuodd ef,
Eb'r rhwyddlon wr pereiddlef,
I'r daith ychwaith gyd â chwi?
Oedd achos c'wilydd ichwi
Rhag ar led weled ei wawr,
A glaned ei gu lonwawr?
Y bachgen â'r talcen têg
A wridodd yn oreudeg.
Eb Juda, wr gwiwdda gwâr,
A golwg yn llawn galar:
Fy arglwydd, o herwydd hyn,
Gwir unig yw bob gronyn,
I'n tad ni, 'th was di, bu dau
O'i hygaraf wraig orau;
A hwn yw un o honynt:
Yr hynaf, hawddgaraf gynt,
I'w ofid tost, yn ifangc,
I'w frwyn llwyr, a fu farw'n llangc.
Un adeg hwnnw ydoedd
Ei lygaid, ei enaid oedd;
A hwnnw, f' arglwydd hynod,
I'w gof sydd beunydd yn bod:
Dros ei dad aeth i draws daith,
Ni welodd mo'no eilwaith.
Ai felly fu, gyfeilliawn?
Yn wir ni wyddir yn iawn
Yr awr'on, mewn rhyw orawr,
Nad yw'n fyw, mae'r byd yn fawr.
Gwyddom, f' arglwydd eurlwydd iawn,
Mwyn bôr, gwyddom yn buriawn.
Yn buriawn! drwy ba arwydd?
Ein Ior hael, wrth hyn yn rhwydd;
O elynol alanas
Ei wisg a ddygwyd i'th was;
Ei wiwdlos wisg yn waedlyd;
Ganddo mae honno o hyd.
Geir-dwys, gan fwystfil gwarrdew
Rhwygwyd, fe larpiwyd gan lew.
Fodrwyawg wr, fe d'rawodd
Ei fron hoff radlon, cyffrôdd:

Echrydus angau chwerwdost!
Gwir yw, y distryw oedd dost!
Wylai 'r brodyr gan alaeth;
Pob grudd dan gystudd yn gaeth.
Oes, ebe 'r coeth wr doeth da,
Nemawr pan fu hyn yma?
Mae blwyddau maith, tri saith sydd,
O leiaf, f' arglwydd lywydd.
A'i dad, yr y'ch yn d'wedyd
Fod ganddo 'r wisg honno o hyd?
Ydyw, fy arglwydd odiaeth;
Yr oedd honno ganddo 'n gaeth
I'w fynwes pan anfonawdd
Dy waelion weision i'th nawdd.
Tra hynaws wr tirionhael!
Duw 'n ei ran, wr gwan a gwael!
Ei eiriau 'r lleill a wiriant,
Eu sicrhâu 'n un enau wnant;
Didwyll, f' arglwydd, mae 'n d'wedyd
Y gwir yn gywir i gyd.
Gwaraidd wyd, f' arglwydd geirwir,
A mwyn iawn wyd i mi 'n wir:
Ein gwaelion hanesion ni
Yn dawel os gwrandewi,
Os caf, adroddaf drwyddynt
Ein bywyd a'n gofyd gynt.
Bob odfa, drwy bob adfyd,
Mewn ofnus ofalus fyd,
Duwiolaf ddysg i'w deulu
A roddai 'n tad ceinfad cu:
I'w hil adroddai helynt
Ei dadau, a'r gwyrthiau gynt;
Eu dedwydd waredfadau
Rhag creulon wŷr geirwon gau;
Y manwl bur orch'mynion
O oes i oes ro'es yr Ion;
Ar hyn y gwnai 'n dichlyn dad
Ei ddoeth bur goeth bregethiad.
Gweddi ar Dduw trag'wyddawl
A roddai, arferai fawl.
Diwyd ein brawd wrandawai,
Gwrando yn effro a wnai:
Holai, ail holai helynt
Ein tadau, a'r gwyrthiau gynt.
O herwydd, f' arglwydd, ei fod
Wrth nattur yn bur barod
I 'mofyn a derbyn dysg,
Cynnyddodd mewn cain addysg.
I'w dad rhyfeddod ydoedd;
Mab glân ei ben oedran oedd.
Mae cronfoel, mae cywreinfad
Oleufryn gerllaw tŷ 'n tad.
Fel y gwnai 'th isel weision
Ddyfod i'r wlad hyglod hon,
Ein brawd oedd dan ofnau 'n brudd,
Rhedai ddwr hyd ei ddeurudd;
Yr ydoedd yn gariadol
Yn mynych edrych o'i ôl.
Gwelodd ei dad yn gwyliaw,
A bron drist, ar y bryn draw;
Fe 'n ol troi fynnai eilwaith;
Nid hawdd y deuawdd i'r daith.
Danodd, tua 'r dwyrain dyner,
Rhodfa sydd rhwng palmwŷdd pêr.
Dda wr, amser a dderyw,
A'i lon fab anwyl yn fyw,
Yn fynych, ddau fwyn enaid,
Hwy yno 'n ymgommio gaid.
Hynod y canent glod glau
Eu deuwedd i Dduw 'r duwiau.
Ar ol ei ryfeddol fab,
I gofio am ei gu-fab,
F'ae 'r un fan yn wan ei wedd,
Mawr flinau amryw flynedd:
Meddyliai y gwelai 'n gu
Ei geinwawr fab yn gwenu.
Deuai yr hen wr duwiol
Oddiyno dan wylo 'n ôl.
Ei dra chwerw a'i drwch hiraeth
I'n bronnau ninnau fu 'n aeth.
Meddym, Pa le mae addysg
Sylweddol dy dduwiol ddysg?
Cofia, wiwddyn, cyfaddef,
Ufudd-dod yw nôd y Nef.
Angau, er dagrau, ni's dyd
Garwr i neb o'r gweryd.
Dy odiaeth fab clodadwy
Ni ddychwel, ni 'th ymwêl mwy.
Gwir, meddai 'n hael dad gwael gwan,
Hynny mi wn fy hunan;
Hynny, a'i dost ddibenydd,
I'm bron sy 'n bwys dwys bob dydd.
I mi tra pery 'mywyd,
Hyn yw 'm pur gysur i gyd;
Er ei gur, drwy drugaredd,
Ei yspryd, mewn hyfryd hedd,
Sydd, o fewn ceurydd cariad,
Ym monwes Nêr, dyner Dad.
Gu lywydd glân goleuwawr,
Gwridiodd, newidiodd ei wawr;
Torrodd ffynnon natturiaeth,
I'w ruddiau 'n ddagrau hi ddaeth.
Deufab, dau fachgen difyr,
Dau sydd gen' innau, gain wŷr;
Rhag aflwydd, rhag tramgwydd traws
I'r rhei'ny, fy rhai hynaws,
Rhag hynny, y gwŷr ceinwawr,
I'm gruddiau mae 'nagrau 'n awr.
Yn awr fe fawr fyfyriawdd,
Addwyn wr, am Dduw a'i nawdd.
Sylwi wnai 'r urddasolion
Ei gystudd, yn brudd eu bron;
Pa eres hanes hynod
Eill hon gan ynfydion fod?
Pa ryw adfyd, wr prydferth?
Ei holl nattur mewn cur certh!
Pa fodd y dygodd i'w dŷ
Fyth weiniaid o'r fath hynny?
A gwir, mae 'nt fwy o gariad
Na ni arglwyddi pob gwlad.

Ar ol i'r duwiol wr doeth
Roddi da weddi wiwddoeth,
Cododd, bendithiodd ei Dŵr,
Nefol radol Waredwr!
Y difyr frodyr doflon
Roent fawl o hyfrydawl fron:
Mor diriawn, wr mawr dewrwych!
Mor dyner, wr geirber gwych!
I'm Ior pwy a gymmarwn?
Pa gâr mor hawddgar a Hwn?
Duw a welodd ein duloes,
A rhyddhâd, o'i râd, a roes.
Dan groesau dïau fod Ion
Yn cofiaw hâd y cyfion:
Tŵr gwiwdda, y Trag'wyddol
Fydd Dâd i'w hâd ar eu hôl.
Eu glân frawd bychan yn bêr,
Dan wenu, dd'wedai 'n dyner;
Ni welais o un alwad
Fath lariaidd wr mwynaidd mâd.
Bryd, meddwn, deuwn i'r daith
I'w weled ef yr eilwaith?
Carodd y llywydd cywrain,
Pan ganfu, y cu langc cain:
Ei galon fwynlon, ryw fodd,
Haelionus, wrtho lynodd.
Dirgelaidd draw y galwai
Addas ufuddwas di fai:
Gwelaist y brodyr gwaelion
Ar giniaw, a braw i'w bron:
Y cu fâd was, cofia di,
Olynol pan wnei lenwi,
Ddodi, a gwnaf di'n ddedwydd,
Yn sach y brawd bach y bydd,
Cu fwynddyn, cofia, ynddi
Dod fy nghwppan arian i.
Y da ystig was distaw
Ymgrymmodd, ac fe drodd draw.
I Israel, eu dïwael dad,
A'i galon mewn disgwyliad,
A'i boenau'n amlhâu beunydd,
Pob awr oedd yn ddirfawr ddydd.
Ae'r gwaraidd hen wr gwiwras
Yn sŷn i'r goleufryn glas:
Ei feibion mwynlon eu modd
Yn olaf yno welodd.
Golygai, disgwyliai 'n gu
Adweled ei fwyn deulu.
Yno oriau gwnai aros,
Hên wr gwael, hyd yn ael nos;
Heb sôn, heb arwydd ronyn
O fod yn dyfod un dyn.
Ae'r gwâr hen wr rhagorol
Yn glaf, yn araf, yn ôl.
Pan ddaeth torf helaeth hylwydd,
Y rhai 'n fe wnai holi 'n rhwydd.
Fwynion gydwladyddion da,
Chwimmwth y daethoch yma.
Oes hanes, wŷr naws heini',
O'm meibion anwylion i?

Daw 'th feibion gwiwlon i gyd
Yma 'n union, mewn ennyd.
Cafwyd y llywydd cyfiawn
Yn serchus groesawus iawn:
Yn ei annedd, dan wenu,
Tynerol ryfeddol fu.
Ior glân! mae 'th deyrnas fawr glod
Yn amryw oddiwrth un Nimrod.
O addien lawen lywydd!
Is haul pa gymmar it' sydd!
Ei deyrnas, lawn cadernid,
Sydd rydd o aflonydd lid:
Gorawr lawn o drugaredd,
Heb arfau, yn mwynhâu hedd.
Cariad i'r mwynfad wr mawr
A gyrraedd drwy bob gorawr.
Mwy ei urddas na myrddiwn,
Pob graddau'n ufuddhâu hwn.
Seirian yw ei drysorau,
Amledd yn rhyfedd barhâu.
Mae auaf a haf hefyd
Groesaw rhydd beunydd i'r byd.
Ni wyddir, mae 'n sŷn addef,
P' un yw ei wlad wiwfad ef.
Gwelir pob tebygoliaeth,
O hon, fro dirion, y daeth.
Yn rhwydd i bawb mae 'n rhoddi,
Fwyn wr, ond cyntaf i ni.
Am rannu mor fwyngu fwyd
Un ail erioed ni welwyd;
Ni welir, wr anwyla',
Fyth un dyn o'r fath enw da:
Ei glod aeth drwy bob gwledydd,
Ei fawl yn anfeidrawl fydd.
Daw 'th feibion, hoywlon helynt,
Yn ôl, wŷr haeddol, ar hynt:
Maen' eisioes ym min nesu;
Bydd lon, y cyfion wr cu.
Y gwladyddion mwynion mau,
Yn iach weithion i chwithau!
Rhag cyni, i chwi a'ch hâd,
Yn gadarn, Duw fo'n Geidwad!
Myfyriaw 'n ddistaw, yn ddwys,
Gwâr galon, wnai 'r gwr gwiwlwys:
O hael odiaeth lywiawdwr!
Trugarog ac enwog wr!
Doethwr, Duw a'i bendithio!
Ei heppil yn fil a fo!
Mawreddog wr, am roddi
Fy meibion mwynion i mi.
Gwelai 'n ol ei ddisgwyliad,
O draw lu 'n dyfod i'r wlad:
Yn union ei galon gu
A'i wyneb wnai lawenu:
Fy meibion hoywlon helynt!
Af trwy serch i'w hannerch hwynt.
Brysiodd eu mâd haeldad hen,
Cyfarfu y llu 'n llawen.
Ond fe aeth, ysywaeth son,
I ganol dirfawr gŵynion.

Gofynodd, Oh gwae finnau!
P' le weithion mae 'r meibion mau?
  Gelyn llawn gwenwyn gwynnias,
Un perffaith mewn gweniaith gas,
(Diras ynfydwas y fall,
Purion ganddo gwymp arall,)
Och'neidiodd; gwae 'r modd i mi
Roi'u hanes i'w rhïeni!
Daliodd y llywydd dilyth
Yn gaethion dy feibion fyth:
A'r ie'ngaf, gwaith rhy anghall
A wnaeth drwy fariaeth y fall;
Hwnnw ddaeth i rygaeth rwyd;
I farw hwnnw a fwriwyd.
  Ofnadwy gyfnewidiad!
Hanesion tostion i'w tad!
Fe ddelwodd, syrthiodd yn sŷn
A'i dâl wrth draed ei elyn,
Fal mellten gyflym wyllt-daith,
I lawr ar y llawr oer llaith.
  Gwr yno 'n teimlo fel tad
Lefarodd o hael fwriad,
Gw'radwydd! ac nid gwir ydyw,
Mae 'th gyflon feibion yn fyw!
Ac wed'yn fe a'i cododd
Mewn ofnus gwynfannus fodd.
Clywen' ei ddi lawen lais,
Duw Abra'm! pa'm dadebrais!
Ni wyddai 'r gwr rhinweddol
Beth a wnai dros byth yn ôl.
Rhai 'n gwatwor, rhai ae 'n gyttun
Ag ef i'w haddef ei hun.
Golygai, gwelai ogylch
Ei feibion gwaelion o'i gylch:
Ei brudd wynebu 'r oeddynt:
Fe 'u galwodd, fe 'u henwodd hwynt.
  Wrth weled ei galed gur,
Ei ddu alaeth a'i ddolur,
Ei ddagrau hallt, y gwallt gwŷn
Yn gaerawg ar ei goryn,
Ei fynych ddwfn riddfannau,
Ac archollion ei fron frau,
Gelynion chwerwon eu chwant
Maleisus, a deimlasant.
  Pan y daeth mewn poen i'w dŷ,
Galar a'i rhodd mewn gwely.
E wêl, mewn cwsg, i'w alaeth,
Ei feibion mewn cyffion caeth:
Fe wêl ddeufab nefolwawr
Yn waedlyd ar lychlyd lawr:
Tirion eu dwyfron eu dau,
Engyl hawddgar, yn angau.
Dan gystudd, yn brudd mewn braw,
Rachel a wêl yn wylaw:
Clafychodd, f' edrychodd dro,
A'i enaid fu farw yno.
  Pa dafod gwiwglod a gân
Gyni 'r brodyr o Ganaan?
Pa derfysgoedd oedd iddynt
Pan ddaliwyd, pan holwyd hwynt?

Ond pan gawd y cwppan certh,
Gwae fron y dynion dinerth!
Modd astrus! Oh am ddistryw
I'w llyngcu hwy i fynu 'n fyw!
Garw gur ar ol gwir gariad!
Chwerwder ar ol mwynder mâd!
Haws teimlo 'u cyffro a'u cur
Na dilys ddweyd eu dolur.
E ddygodd y swyddogiawn
Y gwŷr ar frys i'r llys llawn.
Yr ynad mawr eirianwych
Wnai eistedd ar orsedd wych:
Haccru, ennynnu wnai 'i wedd
Diriawn, yn llawn digllonedd.
Yn swrth o'i flaen y syrthiant,
Crynu, prin anadlu, wnant.
  Codwch,—attebwch,—ai têg
Am bêr fwynder hufendeg
Yw lledrad?—gwaeth na lladron
Wnai galed hocced fel hon!
I'ch cibddall ddeall ni ddaeth
Fod ynnof ddawn dewiniaeth?
  Gwae imni rai drwg annoeth!
Wrth f' arglwydd dedwydd a doeth
Beth dd'wedwn? lefarwn? f' ŵyr
Rodiad pob drwgweithredwyr.
Gw'radwydd, euogrwydd hagrwawr,
Ein drygau sy 'n olau 'n awr.
Gwarthus, poenus yw 'n penyd;
I'n harglwydd hylwydd o hyd,
Cur chwerw! oll fe 'n carcharir
Yn gaethion weision yn wir.
  Urddasol dynerol nawdd,
Ei loyw rudd a lareiddiawdd,
Na atto Duw i mi wneud hyn:
Ef, ef wyf fi 'n ei ofyn,
Y llengcyn penfelyn,—fo
A ddaliwyd yn ei ddwylo
A'r cwppan arian yn wir,
A rhyddion chwi y rhoddir:
Ewch i'ch gwlad at eich tad da,
Yn ôl i'ch gwlad anwyla':
Rhyddion mi wnaf eich rhoddi,
Mewn heddwch dychwelwch chwi.
  Juda wnai gu nesu 'n awr
At yr ynad tirionwawr:
Gwelodd ei bêr dymmer da
Yn ei olwg anwyla';
Mawreddog enwog ynad!
Dïau tydithau sydd dad:
Gwel adyn dan galedi,
Wr mawr mâd, can's tad wyt ti:
D' amynedd yw 'm dymuniad;
Adolwyn, f' arglwydd mwyn mâd,
D' amynedd dod im' ennyd,
A'r gwir egorir i gyd:
Y gwas tau yn feichiau f' aeth
I'w dad am ei frawd odiaeth.
Am hyn, du elyn dilyth,
Oni's dygaf, fyddaf fyth.

Os na wêl e'n dychwelyd,
Swrth i'r bedd y syrth o'r byd.
Minnau'n brudd, mewn cystudd caeth
A welaf ei farwolaeth.
Os cyll, gloes erchyll yw son,
Y ddeufrawd, tyrr ei ddwyfron.
Oh deilwng Lywydd dilyth!
I ti y byddwyf fi fyth
Gaethwas! gwna gymmwynas mâd
O fwynder i'm cyflawndad;
Oh f' ynad! derbyn finnef
Anwyl Ior! yn ei le ef.
P'odd yr âf? ni feiddiaf fi
Droi unwaith, gan drueni,
Adref, rhag braw anfeidrol,
A'm tlawd anwylfrawd yn ôl.
Dygaf; os âf, gwae fi son,
Dygaf fy nhad i eigion
Trueni,—wr tirionwawr,
Tosturiwch!—i'r llwch, i'r llawr:
Yn union ei benwynnedd
A'n llawn gofidiawn i fedd.
Ond Oh! 'r oedd yno wâr ddyn
Hynaws dros bawb o honyn';
Trodd olygon cyflon cu
Yn fwynion arno i fynu;
Dygn oedd ei grynedigaeth;
Heb eiriau, ei ddagrau ddaeth
I'w gu ruddiau gwareiddwawr,
O'i ruddiau'n llynnau i'r llawr.
Golwg a wanodd galon
Yr ynad harddfad oedd hon;
Ydd ydoedd ry doddadwy,
Ry feddal i 'mattal mwy.
Llefodd, fe'u soddodd mewn sàn,
Bellach eled pawb allan!
Mewn mawr sàn, pawb allan aeth:
Odidawg ynad odiaeth,
Chwerw oedd ofn ei garcharwyr,
Gwnai graffu'n gu ar y gwŷr.
Wr ffraw, â'i ddwy law ar led,
A'i wyneb mor dirioned,
Hyd entyrch codai yntef
Wylofus alarus lef;
Myfi yw Joseph!—mae f' ais
Ar dorri tra'r hir daerais.
Ai byw hefyd hyd yn hyn
Yw 'nhad mewn byd anhydyn?
Hyn a holltodd eu henaid!
Y gwŷr mewn gwewyr a gaid.
Gwylder, mawr brudd-der a braw
Trwyddynt oeddynt yn treiddiaw.
Eu dygn ddwfn symmedigaeth
Barodd gau pob genau'n gaeth.
Y muner mawr orch'mynodd,
Mewn hawddgar gyfeillgar fodd,
Chwithau dyneswch weithian:
Dan grynu dynesu wnan'.
Mi wn na 'dwaenoch mo'nwyf;
Eich brawd llwyd a werthwyd wyf.
Gwae i'w bron! eu di lon lu
Oedd o'i flaen ar ddiflannu.
Na 'mddigiwch, na fernwch fod
Y camwedd dros bob cymmod.
Nid chwi, ond Celi, coelier,
Nid chwi, ond ein Tad ni, Nêr,
Ein grasol, ein nefol Nawdd,
Duw'n fwyn yma'm danfonawdd:
A bu er mwyn cadw bywyd
Myrddiynau drwy barthau'r byd.
Chwithau na 'mddigiwch weithion:
Moler, mawryger yr Ion.
Eu poenau ganfu'r pennaeth;
O'i orsedd eurwedd e ddaeth:
Cusanai, cofleidiai'n lân
Ei hynaws frawd ei hunan.
Y gwaraidd langc ro'i ddwy law
Yn dyner iawn am danaw:
Yna, etto, trodd nattur
Yn ddagrau, mal perlau pur.
I'w frodyr, wr hyfrydwedd,
E rodd hael arwydd o hedd.
Cofleidiodd a hoffodd hwynt,
Ior addwyn, fel yr oeddynt.
Yn fwyn arnyn' fe wenai,
Hael iawn wr, a'u holi wnai:
Fy nhad diddan hyd heddyw,
F' athro, mae ef etto'n fyw?
Y gwŷr, rhwng brawdol gariad,
Rhwng gwylder a mwynder mâd,
Rhwng hynod ryfeddod fawr
Yn derfysg, ac ofn dirfawr,
A ddelwant rhwng ei ddwylaw;
Ymgrymmant, brysiant mewn braw.
Y nefolwawr penfelyn,
Mewn mwyn fodd, waharddodd hyn.
Mor ddedwydd fy mreuddwydiawn!
Hwy ddaethant â llwyddiant llawn!
Duw'n tadau, Fe'n ddïau ddaeth
I hylwydd freintiau helaeth
A'i was yr hwn ddewisawdd;
Bob amser Nêr a fo'm nawdd.
Ar ol, wŷr moesol, o'u mysg
Darfod eu dyfnfawr derfysg,
Nawsaidd ymddiddanasant
Felysion hen gofion gànt.
Yn llon eu danfon i'r daith
Wnai'n ol i Ganaan eilwaith.
Yn llawnwych anfon lluniaeth
I'w dad anwylfad a wnaeth.
Dewrwyllt gerbydau eurwawr
Wnaeth anfon, wr mwynlon mawr.
Ei frodyr, dan hyfrydu,
A ddaethan' i Ganaan gu.
Ac Israel, fu'n wael ei wedd,
Ef eilwaith ga'dd orfoledd:
Ei radlon galon, fu'n gaeth,
Mawr alar! 'min marwolaeth,
Tannau eurlwys, tynerlon
Delynau wnaen' fywhâu hon.

Anfadfab ffol ynfydfalch,
(Llwydd wna ynfydrwydd yn falch).
Gorthrymmu, bygylu 'r gwan
Fu tymmer ynfyd Haman;
Gyd â'r brenin, erwin waith,
E ffynnodd drwy hoff weniaith.
Bwriadodd, meddyliodd ef
Yn lân o dan y loywnef
Ddifa meibion Duw Ddofydd,
Eirian dorf, yn yr un dydd.
Yr achos oedd oruchel,
Sef hyn a ganlyn heb gêl;
Un Iuddew ni wnai oddef
Mo'i wynebpryd ynfyd ef;
Garw anmharch! ni wnai 'mgrymmu
Ger bron y digllon wr du.
Yn fflam dân, gwnai Haman hyll
Olygon taerion teryll.
Mawr gŵyn! rho'i 'r anaddwyn wr
Ei fryd ar fod yn fradwr.
Lluniodd â'i erchyll enau
Lythyr dybryd gwaedlyd gau:
Hwn â'r fodrwy frenhinol,
Cannoedd o rifoedd ar ôl
A seliodd;—llwyr ddwys alaeth!
Anfon yn union a wnaeth
At d'wysogion geirwon gau
Lwyth eres o lythyrau.
Y dydd du, i lu Duw lwyd,
Annedwydd a bennodwyd.
Yr Iuddewon gwaelion gwâr,
Ion a'u gwelodd mewn galar.
Er eu bod yn fawr eu bai,
Eu Naf anwyl ni fynnai
I greulawn ddrwg reolwyr,
Uchel radd, eu lladd yn llwyr.
Yn nydd blin eu di nawdd blaid
Athrist dan iau dïeithriaid,
Wir-Dduw, Fe wnaeth dda erddynt,
Coffhâd o'i hen gariad gynt.
Y brenin blin heb lonydd
Gan fraw 'n arswydaw y sydd;
Braw dyrys rhag bradwriaeth
Greulon i'w ddwyfron a ddaeth:
E frydiai am ryw fradwaith,
Arswydai, ni chysgai chwaith.
Y gwŷr llys, hygar a llon
Eu naws, ddygent hanesion
Ei gadarnwych gu deyrnas
I'w ryddhâu o'i boenau bas.
Da adeg fu a dedwydd!
Wrth ddarllain y rhai 'n yn rhwydd,
Mordecai ddifai a ddaeth
I dirion goffadwriaeth.
Yr Iuddew hwn a roddawdd
Ffyddlon hanesion; ei nawdd
Am cadwodd, rhag i'm cedyrn [chwyrn;
Ddwyn f' einioes, drwy chwerwloes
Da ddamwain! cadwodd immi,
Y mâd wr, fy mywyd i.
Pa haeledd a mawredd mâd,
'Adolwyn, fu ei daliad?
Y gwŷr llys oeddynt ger llaw
Yn weddus dd'weden' iddaw,
Yn ddifeth ni addefwn,
Dim yn y byd hyfryd hwn.
Yn awr, ar hyn o eiriau,
Mewn gwŷn daeth y gelyn gau,
Y dewr ynfyd wr anferth,
Llawn balchedd, i'r cyntedd certh:
Bore y daeth mewn bâr du,
Fradwr, dan fawr hyfrydu.
Y llidiog wr taeog tew,
Yr oedd am grogi 'r Iuddew.
I ddwys gael ei ddisgwyliad
Daeth i'r llys mewn brys a brâd.
Pwy, medd, faidd ommedd Haman?
Neb; mae pob rhwy'deb i'm rhan.
O draw y brenin a drodd,
Yn fwyn efe ofynnodd,
Pa ryfedd fawredd wnaf fi
Am ddawn lawn o haelioni
I'r hwn wyf am ei fawrhâu,
Mwynwr, dywed i minnau?
Go lawen fu pan glywodd,
Ewybr iawn atteb a rodd:
(Meddai 'r balch dewrwalch diras
Yn eigion ei galon gas,
I mi 'n rhwydd y mae 'n rhoddi,
Pwy yma 'n fwy na myfi?)
Gyd â pharch boed i d' arch di,
Flaenawr, gael ei gyflawni;
Rhodder, mewn mwynder a mawl,
I hwn y wisg frenhinawl,
A march fo barch i'w berchen,
Ac ar gymmwys burlwys ben
Y gwr doder y goron
Ddisgleiriawl frenhinawl hon.
Ac yna 'n y wisg geinwawr,
Gyd â pharch, ar y march mawr,
Hy' eled drwy 'r heolydd
Yn wr dewr ar hanner dydd.
Cyhoedded t'wysog haeddawl
Ei ryfedd fawredd a'i fawl:
O'i flaen aed,—Fel hyn yn wir
I'n dyddiau 'r anrhydeddir
Y gwr ennillo gariad
Gwerthfawr ein brenin mawr mâd.
A dd'wedaist, yn ddïoedi,
O flaen dim cyflawna di
I'r gwâr Iuddew goreuddoeth,
Mordecai, wr difai doeth:
O'r geiriau tra rhagorol
Na âd un gronyn yn ôl.
Haman hoywffraeth, f' aeth yn fud,
Am ei siom prif gwnai 'msymmud;
Calon wan Haman a hyllt
Gan farwol gnofa orwyllt.
Druan wr! ni's gall droi 'n ôl
Yr hynod arch brenhinol.

A dd'wedodd mor dda odiaeth,
Hynny 'n wir hwnnw a wnaeth.
Y gwâr Iuddew goreuddoeth,
Drwy 'r heol, wr duwiol doeth
Diddan, gai 'i anrhydeddu
Ger bron gelynion, gau lu.
Am fanon ymofynynt,
Bronwen gain, i'r brenin gynt.
Manwl oedd y gorch'myniad;
Trwy barthau taleithiau 'r wlad
Cyrchwyd, cynnullwyd yn awr
Lon forwynion eirianwawr;
Seirian dduwiesau siriawl,
Glanaf a mwyaf eu mawl.
Gyd â'r rhai 'n, lu cain, y caid
Iuddewes gynnes gannaid:
Glanaf a harddaf oedd hon,
Goreuferch, o'r gwyryfon.
Bernid, er bod yn barnu
Dystion o elynion lu,
Fod hon, Gwen hoywfron hyfryd,
Yn ben morwynion y byd.
Y firain wên forwyn wych,
Bu hon yn fanon fwynwych.
Ni chysgodd, ni hunodd hi
A'i gwladwyr dan galedi.
Esther, y Wawr lwysber lân,
Bu'n oer wylo dro, druan.
Drostynt, mewn dirfawr dristwch,
Mewn ingder, mewn trymder trwch,
O flaen gorsedd felenwawr
Uchelbarch y monarch mawr,
Eiriolodd Gwawr oreulwys
A geiriau, â dagrau dwys:
Meinwen, fel y dymunodd,
Y drwg oddiwrthynt a drodd.
Y gelyn fu 'n bygylu,
Ag arswyd llanwyd eu llu.
A Haman wan ei weniaith,
Crogbren fu diben ei daith.
Gwnaeth plant Ior cu, yn llu llon,
Gelanedd o'u gelynion
Mewn hedd gwnaent orfoleddu
Pan ddaeth buddugoliaeth gu.
Daeth Ion, i'w ryfeddlon fawl,
A'r flwyddyn orfoleddawl;
E ddaeth â'i luoedd ethol
I glyd nawdd eu gwlad yn ôl.
Y cryfion fawrion furiau,
Er creulon wŷr geirwon gau,
A lôywdeg adeiladwyd
O'r ddeutu gan lu Duw lwyd.
Pan oedd y deml gyhoedd gu
Ar fin ei phenderfynu,
Yr hylaw weithwyr hoywlon,
Eu gwynfyd hwy ganfod hon,
Bloeddient, bendithient y dydd
Oll yno mewn llawenydd.
Yr hynaf rai o honynt,
Cofiai 'r rhai 'n y deml gain gynt:
D'wedent ddisgleiried ydoedd,
I'w llygaid rhy danbaid oedd.
Cain adail, yn ail i Nef
Lwys olau, oedd teml Selef.
Och'neidio, dan wylo, wnant,
Gannoedd, losgi 'u gogoniant.
Yn yr ennyd hyfryd hon
Daeth yno wr doeth union:
Ai gwael gennych y gwelir
Y deml hon weithion yn wir
Wrth deml Selef gref ei grym?
A doddawdd megis diddym?
Ond, medd ein mâd bennadur
Uchel, Zorobabel bur,
Ymgryfhâ, na ofna neb,
Mi 'th gadwaf â maith gudeb.
Tithau 'r gwr coeth, mab doeth da
Josedec, nag arswyda.
Ffyddlon ddynion y ddinas,
Gweithiwch, ac nag ofnwch gâs:
Hylwydd anwyl wehelyth,
Gyd â chwi yr wyf fi fyth.
Yn gadarn Mi ysgydwaf
Gylchoedd y nefoedd, medd Naf:
Codaf, cynhyrfaf cyn hir
Y brydiawg fôr a'r brodir.
Yna 'r anfonaf finnau
Ddymuniad pob gwlad yn glau.
Mi lanwaf y deml wenwych
A moliant Gogoniant gwych.
Ganwaith bydd mwy gogoniant
Y deml fawr yn awr a wnant
Na 'r gyntaf: Duw Naf, da Nawdd
Godidog a'i dywedawdd.
Wedi i'r llu gartrefu tro,
Eu nattur lygren' etto.
Anfon a wnai 'r Ion o'i râd
Gu anwyl sanctaidd gennad:
E geryddai 'r gwr addas
Eu drygau a'u beiau bas.
Wele Fi, medd haelaf Ion
Y wenfawr Nef, yn anfon
Fy nghennad oleufad lân,
Hynaws, o'm blaen fy hunan.
Disymmwth a disiommiad
Y daw 'r Arglwydd mawrlwydd mâd
I'w liwgar deml oleugu,
Neshâu mae 'r dydd, cynnydd cu.
Yma Angel cyfammod,
Duw Nêr, ar fyrder sy i fod.
Pa rai saif? pa wŷr y sydd
A'i goddefant, gu Ddofydd?
Ponid hawdd y tawdd y tân
Eirias ddefnyddiau arian?
Ef, wâr Ion, ar fèr ennyd
Lanhâ, ac Fe bura 'r byd.
Medd yr Arglwydd dedwydd da,
Wele 'r dydd a lwyr dodda,
A lysg fal terfysg y tân,
Ar wawrio yn wâr eirian!

Y beilchion, chwerwon eu chwant,
Yn y dydd hwn a doddant:
Un radd pob anwireddwyr,
Difiannu wna eu llu 'n llwyr.
Ond i chwi sy 'n ofni Nêr,
Cu fwyndeg Haul cyfiawnder
A gyfyd, goleubryd glân;
Dan eres edyn eirian
Hwn y bydd i fyrddiwn faeth,
Ac anwyl feddyginiaeth.
Anfonaf, medd Naf union,
Wr addas, Elïas lon,
Gu rybudd dydd goreuber
Llosgadwy ofnadwy Nêr.
Fe ddaw i rybuddiaw 'r byd
O'i anferth bechod ynfyd:
Fe dry 'r ddaear hawddgar hon
A'u gilydd yn un galon.
  Yn awr yr anfonai Naf
Ei deilwng gennad olaf:
Dilys air prophwydoliaeth
Yn awr gorphwyso a wnaeth.
Finnau orphwysaf ennyd
Yn bêr iawn ar hyn o bryd.
  Prophwydi, pur hoff awdwyr
Duwiol iawn, hynodawl wŷr,
Hwy 'n bêr, mal y sêr siriawl,
Cyn dydd, o geurydd y gwawl,
Isod hwy fachludasant,
Ac un ni welir o gànt.
Cyn hir y gwelir golau
Gwynbur hardd i gain barhâu.
Yn ei nerth a'i brydferthwch
Haul Nef wèn hoff lawen ffiwch
I'r byd a gyfyd yn gain,
Yn dyner o'r dêr dwyrain.
Daw 'r dydd i'n gwledydd yn glau;
Disgwyliaf ei dês golau.
  Da fydd gan y cybydd cas,
Taeraidd, cynhenllyd, diras,
Ei dir a'i olud eurwawr;
Da i mi fyddo 'r Duw mawr.
  O deulu a gwaedoliaeth
Mae cànt a 'mffrostiant yn ffraeth:
Eu hynod waed eu hunain,
Bonedd yw rhinwedd y rhai'n.
Ymarfer rhai yw mawrfost;
Dïau myfinnau wnaf fost:
Er anair rhai dirinwedd,
Er gŷr Eglwyswyr mewn gwledd,
Er salwed a gwaeled gwr,
Câr ydwyf i'r Creawdwr.
  Boed i arall, anghall waith,
Soddi i ffol fasweddwaith,
Cariad goruchel Geli
Gwên Nef fawr a ganaf fi.
I'r dewr ddysgawdwyr diras
Nid cerdd ond pagangerdd gas.
Aml gwynant i'r mawl ganiad
Wyf fi yn ei rhoddi 'n rhad;
I oleuni pan ddêl unwaith,
Chwarddant, a gwawdiant y gwaith.
Boed felly; er hynny 'r rhai 'n
A'u cariad at waith cywrain,
Gwybyddent, cofient mai cu
I'w weision ydyw Iesu.
Pan gwympais, pan soddais i,
Dro annoeth, i drueni,
Tra rhodiais hyd dir hudawl,
Drwy falais a dyfais Diawl
O'i rwyd Fe fu i'm gwaredu,
Ior mâd, mawr gariad mor gu.
Oh am well, mwy o allael!
Rhown glod i'm hynod Dduw hael.
Ni red f' Awen gymmen gall
Yn beraidd i neb arall;
I fawrglod Iesu, i'r Arglwydd,
F' Awen a red yn fwyn rwydd.
  A mi 'n fachgen dan sên sur,
Cydymmaith cu dïammhur,
Ac etto yn rhodio'n rhwydd
Yn oedran diniweidrwydd,
Myfyriais am ei Fawredd,
Ior hael, ac am ei wael wedd:
Bwriedais, o bawn brydydd
O ddawn rwydd iawn, ar ryw ddydd
Neillduo, ac eilio gwawd
I diriondeb y Drindawd.
Yn dystion yr afonydd
Teifi a Dysynni sydd.
Mynych ar lannau mwyniawn
Y ddwy lwys arafaidd lawn,
Yn fynych iawn f' Awenydd
A'm denai, daliai drwy 'r dydd.
E ddoi 'r nos i dduo 'r nên;
Y rywiog fwynber Awen
Yn daer a'm hudai'n diriawn;
Aros dros y nos a wnawn;
Ac wylwn;—Nefawl Geli!
Rhy faith y mawrwaith i mi!
Goreudeg adeg odiaeth!
I'm gofid newid a wnaeth.
Annoethaidd iawn y gwnaethum,
Diras fab, dyrys a fum.
Rhyw goeg bleser a gwegi,
Cloi a wnaent fy 'm calon i.
Hunais mewn camwedd hynod;
Heddyw 'n fyw ni haeddwn fod.
  Digyrrith yw dy gariad,
Duw 'r Hedd, mewn rhyfedd barhâd.
Tydi, Ior, yttwyd eirwir;
Profais a gwelais mai gwir
Fod o hyd gennyd i'r gau
Roddion o drugareddau.
Anfoni ras i fwyn wraidd
Y galon yn ddirgelaidd.
Tirionaidd y troi annyn,
Tydi sydd yn hoffi hyn.
Fy Nêr, yr wyf yn eiriol,
Na âd fy enaid yn ôl;

Na chofia, dilëa 'n lân
O'th wiwlyfr fy ngwaith aflan.
Gogwydda olwg addas,
Duw 'r Hedd, ar waeledd dy was.
Fy iachâu o'm clwyfau claf
Di elli, Celi, coeliaf.
Oh tyred, f' Arglwydd tirion!
A glanhâ y galon hon.
Cofia d' Anwyl-Fab cyfiawn,
A dod im' ollyngdod llawn.
Gweli 'n awr, y Duw mawr mau,
Rediad fy holl fwriadau.
Fy Nuw, yr wyf anëofn
Rhwng mâd gu gariad ac ofn,
Rhag dirmyg, rhyfyg rhyfawr,
Rhag sarhâd i'r mâd Ior mawr.
Dirfawr y gwaith! maith im' yw!
Ni wedir, mawr iawn ydyw!
Mae 'th fawl yn anfeidrawl fwy
Na'm nerth, heb dy gynnorthwy.
Oh y Dirfawr diderfyn!
Sy 'n caru, sy 'n dysgu dyn!
Na ommedd, fy Ion, immi,
Duw Yspryd Glân, dy dân Di.
Denu mae 'r byd i Annwn,
Ni wiw i mi hoffi hwn.
Di fudd bod rhwng dau feddwl,
Hwy rhyngddyn' wnan' ddyn yn ddŵl.
Ymaith bob araith orwag,
Ymaith â phob gobaith gwag.
Dy fwyn glod weuaf yn glau,
Ni oedaf f' addunedau.
Ior anwyl, âf ar unwaith,
Drwy 'th ras, o gwmpas y gwaith.
I euro cerdd i'r Ior cu
Fy enaid cwyd i fynu!
Cyfod, y fyfyrdod fau,
A dedwydd fo 'th hediadau!
Yn galonnog ail ennyn
Dêg wawd i foli Duw gwŷn.
Y Byw-Nêr, uwch pob anian
O'r Entrych goleuwych glân
A ganfu wlad gu y Gwawl
A nifer ei blant nefawl;
Llŷn Annwn oll yn wynnias,
A'r gyfrgron ddaear lon las.
Gwelai 'n awr ei wiwfawr waith,
Ior enwog, oll ar unwaith:
Gwelai yr holl drigolion
Oedd ar hyd y ddaear hon:
Gwyrasant, mawr yw 'r gresyn,
Yn faith o gyfraith Duw gwŷn.
Rhyfeddai na welai neb,
Na wnai undyn uniondeb.
Llygrodd, gwyrodd pob gorawr,
Mae 'r byd yn ynfyd yn awr.
Amlwg pob drwg, pawb a drodd,
A ffydd a lwyr ddiffoddodd.
Y ddaear sydd yn ddïau
Ym mron gan y Gwyllon gau.
Pan ganfu yr Ior cu certh
Ynfyd bechodau anferth
Y byd, a'i anwybodaeth,
Fry, o Nef, llefaru wnaeth:
Mi fy hunan weithian âf,
Dywedais, ac nid oedaf:
Myfi a bïau dïal,
Myfi yw Duw, Myfi dâl.
Mal byllt bydd gorwyllt gerydd
Trwy restrau 'r delwau 'r un dydd.
Weithion gelynion, gau lu,
Laweroedd gânt alaru.
Gwaed eu byddin, gerwin gâd,
Daenellir hyd 'y nillad.
E ddaeth y dyddiau weithion;
O ras hael, yn yr oes hon
Dygaf yn garedigol
Fy mhraidd anwylaidd yn ôl.
Iachâf bob claf o'u clefyd,
Glanhâf, Mi buraf y byd.
I'r ddaear yn ddïaros,
Hedd fwynber, yn dyner dos;
Gwaraidd fyddo pob gorawr,
Gwna 'r byd yn unfryd yn awr.
Oh Dduw gwŷn! sydd, fydd, ac oedd!
Naf! na rwygit y nefoedd!
Duw hylwydd! boed dy helynt
Fal dyddiau y gwyrthiau gynt!
E ddaeth dydd d' arfaeth dirfawr;
Brynniau a mynyddau 'n awr,
Boed trwyddynt iddynt doddi
Fal ewyn dwr o 'th flaen Di.
Teyrnasoedd garwfloedd i gyd,
Distawant, dofant hefyd,
O f' Arglwydd! gan rwydd roddi
Pob urddas i'th deyrnas Di
Galar a ddêl i'r Gelyn
Ar frys, a boed hysbys hyn.
O'th ras dod gymmorth wrth raid,
Duw anwyl, i dy weiniaid.
Oh edrych o'r Nef wych wèn,
O'th gu Annedd faith geinwen!
Mae dy zêl? Oh gwel mor gaeth
A dygn yw 'n cospedigaeth!
A aeth dy dosturiaethau
Oll ymaith am ein gwaith gau?
Oh Geli! Ti yw ein Tad,
Trugarog enwog Ynad,
Ion didwyll, er nad edwyn
Abraham, fu ddinam ddyn,
Mo'nom; Israel mwy inni
Nid yw Dad;—Duw Ion, Dydi
Erioed a fu 'n Gwaredydd;
Tydi 'n hadwaeni bob dydd.
Dirym yw 'n cyfiawnderau,
Llawn treiswaith a gweniaith gau.
O dy râd, ein Duw, 'r ydym,
O fawr râd yn fyw yr ŷm.
Oh clyw, y Duw byw di ball!
Un Duw Ior, ac nid arall;

O gerydd gelli 'n gwared,
Ynnod, Ior Nef, cref yw 'n crêd.
Oh gwel ni yn disgwyliaw!
Duw lwys, yr ŷm yn dy law!
Dod inni, Oh Dad, hynod
Arwydd o fawrlwydd i fod!
Daeth hedd eglurwedd a glân
Odiaethol i'r byd weithian.
Isod fe ffodd cyfrysedd
I'w gwlad hyll rhag gweled hedd:
Mawr swn ac ymrysonaeth
Ym mysg cwn Annwn a wnaeth.
Gan hawddgar hedd geinwedd gu,
Duwies gynnes yn gwenu,
Y tŵr eurfawr, tŷ 'r arfau,
Rhag ffrawdd, a gafawdd ei gau.
Ac wed'yn hi ymgodawdd
I'r wybr loyw, yn hoyw, yn hawdd.
Mewn gwŷn ar edyn yr oedd,
Ar nawf o ddeutu 'r nefoedd,
A'i haelwych wyneb heulwawr
O'r ddeutu 'n pelydru i lawr.
Ac wele 'r holl drigolion
Sydd ar y ddaear hardd hon,
Nid oes na brâd ofnadwy
Na therfysg yn eu mysg mwy.
Pob gwledydd, o'i herwydd hi,
Aml wenant dan ymlonni.
Brenhinoedd bobloedd y byd,
Coronawg, cu yw 'r ennyd,
Y sydd ar eu gorseddau
Mewn pur hedd yma 'n parhâu,
Mewn disgwyliad safadwy
Daw 'n ebrwydd eu Harglwydd hwy.
Llawenu mae holl anian,
Canu, gorfoleddu 'n lân.
Y brynniau a'r wybrennydd
Disgleiriol yn siriol sydd.
Hardd goedydd pob mynydd maith,
Ior enwog, hwy ar unwaith
A gefir yn ei gyfarch
Mewn diledïaith berffaith barch;
Buan i Nêr y Bywyd
Plygant, gogwyddant i gyd.
Mae 'r eigion yn mawrygu,
Ym mhob goror, mal côr cu;
Dïammau daw da dymmor,
Medd mawrswn myrddiwn y môr.
Cenhadon tirion y Tad,
Rai hoywdeg, ar ehediad,
Yn saethu o'r Nef gu gain
I diroedd glân y dwyrain:
Gwiwrwydd groesaw i'n gorawr!
Mi welaf ddydd Naf yn awr!
Zacharïas, mwynwas mâd,
Hoff wr, ydoedd offeiriad;
Ei ddydd arferol a ddaeth
A'i dug i'w weinidogaeth.
Rhagorol wr hygaraf,
Tra bu 'n gogoneddu Naf,
Drwy gyfion lon foliannu,
Yn ei gain deml gywrain gu,
Fe welai, 'n llawn gorfoledd,
Angel goruchel gwâr wedd;
Ac odiaeth fywiog ydoedd,
Gerllaw allor Ior yr oedd.
Arswydodd pan welodd wawr
Y Claerwyn hardd discleirwawr.
Bydd, wr gweddol duwiol da,
Yn gefnog, ac nac ofna;
Dy lef wrandawodd Duw lwyd,
Gan Ion cyfion y'th gofiwyd.
Daw 'r dydd ac e fydd it' fab
Rhagorol o'th wraig arab:
Hwnnw 'n Ioan a henwi,
Llon dad, a llawenhêi di.
Wr dedwydd, e fydd dy fab
O rifoedd yn oreufab.
Mawr fydd o flaen Llywydd llon
Nef anwyl, ei Naf union.
Duwiolaf fwyn was dilyth,
Nid â gwin at ei fin fyth.
Fe lenwir, nefawl anian,
O râd glwys yr Yspryd Glân.
O'i rinwedd fe wna rannu,
Try at Nêr lawer o lu.
Fe gyfyd dy fab gwiwferth,
Hyfryd, yn yspryd a nerth
Elïas; i Dduw Lywydd
Gwas dethol rhyfeddol fydd.
Fwynwr, efe ofynnodd,
Fynegi di i mi 'r modd?
Cu unwaith fu 'm gwraig geinwen,
Minnau a hithau sydd hen.
Gwelai eilwaith y Gloywlan
Yn amneidiaw â'i law lân;
Ddim hwy na bydd ammheuwr,
Yn ebrwydd cei arwydd, wr;
Yn y fan, mewn un funud,
Tydi a fyddi yn fud.
Ac ebre, Mi yw Gabriel;
Hyd y dydd dedwydd y dêl
A dd'wedais mor dda odiaeth,
D' enau fydd, gwybydd, yn gaeth.
Claerwyn Gennad ddisgleiriol,
I Nef esgynnodd yn ôl.
Gwr hen fu 'n berchen da byd
Un odfa, 'n awr mewn adfyd,
Gu fwynwr wnai drigfannu
Yn Naz'reth, a geneth gu.
Gormeswyr hagr eu moesau,
Cyfeillion o galon gau,
Treiswyr a ddistrywiasant
Y gwr fu 'n noddwr i gânt.
Marïa, hoywdda oedd hi,
Lân hael, o lwynau Heli.
'Roedd gwallt hon, Gwenfron, yn gwau
'N eurawg fodrwyawg droiau.
Ei hœnaid, fal nef hinon,
A gaid yn ei llygaid llon.

Ei wenferch oedd, ei wynfyd,
Ei bleser gwiwber i gyd.
Fe rodd Ion, o'i haelioni,
Hon, yn lle moddion, i mi.
I hon fe ddysgai 'i hunan
Y gyfraith oleufaith lân.
Pur hoff awdwyr, prophwŷdi
O hyd oedd i'w dwylaw hi.
Y Salmau â'r geiriau gwin,
Bêr anwyl waith y brenin,
Dwyfawl ganiadau Dafydd
Wnai 'n gain eu darllain bob dydd.
Yn ei hyspryd, hyfryd hwyl,
Ennynnai y tân anwyl.
O'i deilwng bur waedoliaeth,
O'i lwynau 'n ddïau hi ddaeth.
Cafodd gan yr Ion cyfiawn
Yr un nefol ddwyfol ddawn.
I'w thad mwyn eneth ydoedd,
I'r hen wr ei huan oedd.
Llwydodd ef gan drallodiawn,
Gwelai ei fod yn glaf iawn.
Gwnai hi, 'r Lili oleulŵys,
Leihâu ei boenau a'i bwys.
Gwawd esmwyth gyd â dwsmel
Ganai Mair â'i genau mêl.
Eisteddai 'i thâd, wr mâd mwyn,
Gyfeiryd â'r gu forwyn.
Hi yno yn frenhinawl
Eiliai felus fedrus fawl.
A hon oedd cân ddiddan dda
Y rywiog fun Marïa.

1. Y cadarn Iehofa deyrnasa 'n y Nef
Reola drigolion y gron ddaear gref;
Mae'n codi rhai 'n fawrion sy'n waelion yn awr,
Mae'u tafiu 'r blodeuog, goludog i lawr.

2. Pa ham, bendefigion a beilchion y byd,
Pa ham ymderfysgant, ymgasglant i gyd?
Can's wedi gwnel gormes a rhodres eu rhan,
Mae Naf yn Waredydd tragywydd i'r gwan.

3. Pa ham ymhyfryda, ymgoda gwŷr gau?
A ddarfu trugaredd a mawredd Duw mau?
Ni ŵyr y rhai ynfyd, anhyfryd eu hynt,
Yn nyddiau ein tadau y gwyrthiau wnaeth gynt!

4. Pe crynai 'r mynyddau, o'u seiliau os ânt,
I minnau dim ofnau 'r mynyddau ni wnant;
Yn effraw, yn hunaw, 'r wy 'n nwylaw 'r un Ior,
Pe'u llosgid, pe'u teflid mewn mawrlid i'r môr.

5. Mae mawrion add'widion i'r cyfion rai eu;
Can's Duw sy Waredydd a Llywydd i'w llu;
Yn gynnar o'u galar o'r ddaear ydd ânt,
Gan Arglwydd y Bywyd eu gwynfyd a gânt.

6. Y cadarn Iehofa deyrnasa 'n y Nef
Reola drigolion y gron ddaear gref;
O'i lawnwych haelioni mae 'n rhoddi i bob rhyw,
Fe garaf, Fe folaf, tra byddaf fi byw.

Heli fwyn, haelaf enaid,
Ei galon gyfion a gaid
O'r un mwynber dymmer da
Dedwyddol â'i dad Adda,
Pan eiliai, pan folai 'n fwyn
Ufuddol Efa addwyn,
Ac awyrawl gerdd gywrain
I'w hatteb, cyssondeb sain,
Eosydd ar laswydd, lu
Diddan, yn cyd-brydyddu.
Gwnai Mair mewn maint cywraint cu
Ac iawn addysg gynnyddu.
Trymmion ofalon filoedd
I'w thâd am ei eneth oedd.
Dihunai pan wyddai neb
Lawndid ei bur ffyddlondeb;
Hwnnw 'n y nos ddihunai,
Gweddïo, dan wylo, wnai.
Cyn y doi 'r dyfyn i'r daith
Na welid mo'no eilwaith,
Dymunai weled Meinwen
Gyda gwr wnai gadw Gwen.
Gwr addwyn o gâr iddi
Ym mhob modd a'i hoffodd hi.
O'r dedwydd wr da odiaeth,
O'r Salmydd Dafydd y daeth.
F' aeth y byd hadlyd ar hwn
Yn isel, fel ar filiwn.
Fe wir garai Fair gywrain
Fal angyles gynnes gain.
A hwn ddewisai 'r henwr
I'r forwyn wên Fair yn wr:
Y gwr addfwyn gwareiddfab,
Bydd di i mi yn lle mab.
Ef, wr anwyl, fèr ennyd
Cartrefu y bu 'n y byd.
E welai ei farwolaeth,
Mewn hedd ei ddiwedd a ddaeth.
Fe alwai Fair benfelen;
Nesu wnai Gwawr gu ei gwên.
Golygu hon yno wnaeth
Ar wely ei farwolaeth;
D'wedai, Oh f'enaid ydwyt!
Fy myd, fy mywyd im' wyt!
Mun dyner, mewn daioni
Coleddais a dysgais di.
Difeth yw geiriau Dofydd,
Hwy 'n orau trysorau sydd.
Gwyddost mor dda yw gweddi,
Mewn adfyd hyfryd yw hi.
Beunydd hi geiff dderbyniad
Y'ngolau gynteddau 'r Tad.
Celi glyw weddi addwyn,
Gan atteb, cymmundeb mwyn!
Dy beraidd nefolaidd fawl,
Rhywiog eiriau rhagorawl,
Dy helaeth wybodaeth bur
A ge's i'm bron yn gysur.
Dêl etto iawn dâl itti,
Diddanaist, adfywiaist fi.
Yn Nuw gwŷn, heb ronyn braw,
Mewn henaint mi wna' hunaw:
Mi âf o ddwys bwys y byd
Oh na wyla, f'anwylyd!
Duw hael ni wna d'adael di,
Duw etto fydd Dad itti.

Fy Ion glywodd f' erfyniad,
A Duw fydd i tithau 'n Dad!
Yn ôl gogwyddo a wnai,
A llais marwol llesmeiriai:
Dihunai, adfywiai 'n fwyn;
Ac ar Fair, gywir forwyn,
Ei enaid a gaid yn gu,
Er gwanned, arni 'n gwenu.
Oh Mair! fy merch ddiwair dda!
Hefyd wyd ferch Iehofa!
Dan gysgod hynod Ion hael
Tydi a ddeui 'n ddiwael.
Coelia, fy ngeneth, Celi
Ddeuodd, ymwelodd â mi.
Dygwyd im' weledigaeth,
Mewn hûn gwsg, a minnau 'n gaeth.
Gwir hanes gei bob gronyn;
Neithiwyr, yn yr hwyr, bu hyn:
Breuddwydiais, rhyfeddais faint
I gyfion yw 'r digofaint;
Y dwyfawl mewn du ofid,
Yn griddfan dan lydan lid:
Yma rhynnu mae rhinwedd,
Drygioni 'n heini' mewn hedd;
A dïau yw nad yw Ion
Yn gwared y gwan gwirion.
Cymmylu 'n bygddu uwch ben
Yn ebrwydd wnai y wybren.
Crynais ac arswydais i,
Gwaeddais ar Dduw mewn gweddi:
E dynnwyd f' anghrediniaeth,
A'r wybr yn bur eglur aeth,
Ysgol ragorol gywrain
O 'splennydd geurydd Nef gain
Eglur welwn yn glaerlwys
Hyd ar y ddu ddaear ddwys.
O'r lawen wybr oleuwawr
Gwelwn lu 'n golygu i lawr;
O 'r hedd oedd yn eu gwedd gu!
Gwynnion blant Nef yn gwenu!
Un glân o lu 'r goleuni
Yn fwyn a ddaeth attaf fi;
Bywiol ryfeddol ei fodd,
A godidawg y d'wedodd;
Dy weddi, Heli hylwydd, -
Nêr hael wrandawodd yn rhwydd.
Iehofa i Farïa rydd
Haelionus iawn lawenydd:
Iē, meddaf, mae iddi
Fawr ffafor gyd â'n Ior ni.
O Heli! am dy haeledd,
Tydithau gei fwynhâu hedd.
Hyfryd-rwydd doi fry adref
Yfory 'n wir i'r fawr Nef.
Duw mawr a'th gadwo, 'morwyn;
Bydd iach, f'anwylyd fach fwyn.'
Ei anadl oedd i'w enau
Ar hyn wedi llwyr fyrhâu.
A'i law am ddeheulaw hon,
Ei anwyl eneth union,
Ei dêr enaid i'r wiwnef
A rodd; anadlodd i Nef.
Y wèn Fair yno a fu,
Bun wiwdlos, heb anadlu;
Gan alaeth hi aeth weithion
Yn fud, heb symmud, heb son,
Ond yna, wedi ennyd,
Yn swrth hon syrthiai o'i hyd;
Ar wddw' ei thad yr aeth hi,
Hi alwodd, Fy nhad Heli!
Afonydd lifai i fynu
O eigion y galon gu;
Dagrau o garedigrwydd
A lifent, rhedent yn rhwydd.
Ei gyfeillion gwaelion gwâr
Ddeuant i'w roi 'n y ddaear.
Oer wylo, wrth yr elawr,
Wnai 'r dduwies gynnes ei gwawr.
Nos ar hyn wnai nesu 'n rhwydd;
Ystyrio 'n y distawrwydd
A wnai 'r forwyn addwyn wyl
Iaith dyner ei thad anwyl.
Pan wawriodd, dihunodd hi
Yn felys iawn i foli
Duw Nêr, ei harfer o hyd,
A'i rhyfedd bleser hefyd.
Ar ol gweddi ddifri' dda,
Y gywrain Fair hawddgara',
Fel Dafydd, mwyn fawl difai
Plygeinber i Nêr a wnai.
Mawl odiaeth fal mêl ydoedd;
Ond cyn yr emyn yr oedd
Bysedd llon Gwenfron yn gwau
Ar bur dyner bêr dannau
Blasus i felus foli
Yn gydlef â'i hoywlef hi.
Ac yna hi y gân hon,
Gwèn eneth, ganai 'n union:

1. Iehofa hael,
Dydi, Oh Dad,
Glywi 'mhob gwlad
Gri gweddi 'r gwael.
Oh gwel fi 'n isel yn awr,
Ior hedd, o flaen d' orsedd Di!
Tro, Ion, d' olygon i lawr
O'r Nef wèn fawr arnaf fi:
On'd Ti, ein Tŵr,
Dywysai 'n glau dy weision glân drwy dân a dwr?

2. O d' ŵydd nid âf;
Pa glau ddur glo,
Pa fryn, pa fro
Na welo Naf!
Pe 'mgodwn, pe hedwn hynt
Ar laswen aden y wawr,
Neu olwynion gwylltion gwynt,
I'r tonnawg fôr murm'rawg mawr,
Ym monwes môr
Byddaf o hyd, hyfryd yw hyn, dan edyn Ior.

3. O dêg liw dydd,
O gyrraedd gwawr
Ffurfafen fawr,
I'r orawr rydd,
Pe 'mguddio wnawn yno, Nêr
Mewn Gwawl anfeidrawl a fydd!
Y nos sydd, heb loer na ser,
I'r Ion mor dirion â'r dydd:
Oh Arglwydd glân!
Personawl Dad, presennol Di i mi 'mhob man.

4. Fy meddwl mâd,
O herwydd hyn,
Sy 'n soddi 'n syn,
Ddiderfyn Dad!
I'r Nef, i'r oleunef lân,
Mal pybyr eryr, pe 'r awn;
Y siriol anfeidrol fan,
Tydi sy 'n ei llenwi 'n llawn:
Dwys hynt, os âf
I Uffern ddu, yn ei Ffwrn ddofn, Cyfion y'th caf.

5. Gormod yw 'r gwaith,
Anfeidrawl Fôd!
Egluro 'th glod,
Rhyfeddod faith!
Dy ddeddfau a d' eiriau Di
Sydd lawn mor diriawn â'r dydd;
Mor bêr yw eu mêr i mi!
Hwy 'n orau trysorau sydd;
Mal mêl im' ŷnt,
O fwyned yw i f' enaid i eu holi hwynt!

6. Drugarog Ion!
Yn d' eiriau Di
Myfyriaf fi,
Er si 'r oes hon.
Y ddaear werdd-liwgar lân,
A'r glaerwen ffurfafen fawr,
Newidio, heneiddio wnan',
Er gwyrdded, gwynned eu gwawr:
Duw lwys di lyth,
Diriona' Tad, yr Un wyt Ti, a fyddi fyth.

Myfyrio yno ennyd,
Gwenfron, a wnai hon o hyd.
Didawl ddyfn fyfyrdodau
Yn ei henaid gaid yn gwau.
Fal y nef olau yn awr,
Glaerwen, dawel, eglurwawr;
Wedi 'r addwyn daer weddi,
Felly caid ei henaid hi.
Pan godai 'r haul didraul da,
Mal cawr, i'w eurfawr yrfa,
O'r glaerwen wybren obry
Daeth Angel tawel i'r tŷ:
Godidawg i gyd ydoedd,
Tiriawn, brenhinawl iawn oedd.
Gwridiai Mair yn gariadawl,
A hyn wnai Mab gwŷn y Gwawl.
Y wych ferch, ei chyfarchu
Mewn iaith fêl wnai Gabriel gu:
Hanffych, y wyryf wych, well,
Dda ollawl, a bydd wellwell.
Cefaist ras gan Dduw cyfiawn,
O'i gariad Ef, gorau dawn.
Gwŷn dy fyd, hyfryd dy hedd,
Gwawr hoywgain, y' mhlith gwragedd!
Fwynddyn fâd, ofnodd yn fawr
Y Claerwyn hardd discleirwawr.
E dd'wedodd yn ddïoedi,
Y fun dêg, na ofna di;
Cu Ior Nef, cywir ei nawdd,
Wên feinwar, a'm anfonawdd
Yma attad; mae itti
Fawr ffafor gyd â'n Ior ni.
Ac wele, 'r lwys eglur lân!
Esgori, y Waisg eirian,
Ar ryfedd Fab ceinwedd cu,
Glwyswawr, a gelwi—Iesu.
O'u pechodau gau i gyd
Y gwirion oll Fe 'u gweryd.
Dïau Ef o flaen Dofydd,
Mirain Fab, mawr iawn a fydd.
Gwir Ion i'w Fab, gwâr Ynad,
Rydd orsedd Dafydd ei dad.
Difeth ar orsedd Dafydd
O hyd tra bo byd y bydd,
Cu eirian Ior cywirwych,
Yn Llywydd tragywydd gwych.
Mab Dafydd, celfydd ei caid,
Reola 'r holl Israeliaid.
Hi 'n ddidwyll iawn a dd'wedodd,
Cain Gennad! trwy ba fâd fodd?
Creda, gŵyr y Creawdwr,
Duw Nef, nad adwaen i ŵr.
Y fun arab fwyn eirian,
Duw Ysbryd goleubryd glân,
Nefawl Arglwydd dedwydd da,
Yn gadarn a'th gysgoda.
A gwybydd, o herwydd hyn,
Y gogoned Fachgenyn
Eiddilaidd santeiddiolaf
A elwir, yn wir,—Mab Naf.
Ac wele! i gryfhâu 'th galon,
Gwrando 'r eres hanes hon;
Elisabeth loywlwys bêr,
Dy anwyl gares dyner,
Y gywrain fwyn wraig arab,
Oediog, sydd feichiog ar fab.
Y Wawr eglur rywioglon,
Credu wnaeth Mair i air Ion:
Dïammau y daw immi,
Y Disglair, yn ol d'air di.
Ae 'r loywfad Gennad geinwych
Ymaith i'r Nef wenfaith wych.
Aeth Mair, â'i diwair wên dêg,
I'r mynydd-dir mwyneidd-deg,
At ei chares gynnes gu
Hynod, oedd wedi heneu.
Difyr y daith! da fu 'r dydd!
Hwy lanwyd o lawenydd!
Yn felys, fal nefolion,
Molent, mawrygent yr Ion.

Chwef 14. 1918

# Y CHWECHFED RAN.

Marwol anguriol gerydd!
Braw ddaeth i Fab y wawr ddydd!
Galwodd, cynnullodd yn awr
Farus dorf, ar frys dirfawr,
O'i weision duon a dig,
Uffernawl;—Byddwch ffyrnig!
Mae achos mwya' ichwi!
Mae 'n awr achos mawr i mi!
Mewn crynfa, mewn cur anferth,
A'i hynt mal y corwynt certh,
Y Diawl, tad pob hudoliaeth,
Creulon, i'r Eigion yr aeth.
Mam Suddas, (fu ddiras ddyn,
Fu 'rioed y cyfryw adyn?)
Ar hwn cyn esgorai hi
Yr oedd mawr brudd-der iddi.
Yn nhrymder, yn nyfnder nos
Y dygodd breuddwyd agos
Yn llwyr ei synwyr yn sŷn,
Gwŷn ddu echrys, gan ddychryn.
Gwelai o flaen ei golwg,
Dorf dywyll o erchyll wg;
Uthrawl wynebai athrist,
Duon a thrymmion a thrist;
A brwd ruddwaed berwedig
Ar eirias dân o wres dig;
A chroes waedlyd echrysawl!
A hwythau y darnau diawl!
Ynfydai gan ofidion,
Dychlammai, anhwyliai hon.
Diddan fam y bedyddiwr,
Y wreigdda, gyda ei gwr
Tra 'r hunai, canfyddai fâd
Brydferth loywgerth olygiad:
Trwy gaddug du trag'wyddawl
Meddyliai y gwelai 'r Gwawl
Yn gwawrio yn gu eirian,
A'r duwiau yn cydwau cân.
O haelionus lawenaf
Niferoedd yn Nefoedd Naf!
Ei chalon oedd raslon rydd
A lanwyd o lawenydd.
Dïau pan anwyd Ioan,
Ei dad, wr goleufad glân,
Ei enau, gynnau oedd gaeth,
A dynnwyd o'i fudaniaeth.
Moliannodd, â mêl enau,
Dduw hael yn ol ei ryddhâu.
Gwir felys fu gorfoledd
Ei galon a'i wiwlon wedd.
Mewn nefawl ryfeddawl fodd
Mair dirion lon a lanwodd.
Ei gwr oedd mewn cyflwr caeth,
Mynnai adael Mun odiaeth.
Ni fŷn goffhâu 'r geiriau 'n g'oedd
I'w dilyn drwy 'r ardaloedd.
Ni rydd g'wilydd a galar
I'w chanlyn, anwylddyn wâr.
O'r entyrch atto yntef,
Liw nos, daeth Angel o Nef:
Egorai ei gu araith
Am Fab Nêr, mewn mwynder maith.
Dywedai 'r Gennad odiaeth,
Gwybydd, fab Dafydd, y daeth
O wynfyd y Nef wenfawr
Ogoned ymwared mawr.
Yn gefnog bydd, nag ofna,
Dan wregys Mair ddiwair dda
Mae 'r mawr Iesu, dy gu Gâr,
E ddeuodd Duw i'r ddaear.
Y glau dêg weledigaeth
O Nef ei foddloni wnaeth.
Yn union, heb ofn anair
Y byd, gwnai gymmeryd Mair.
Caisar fawr yn awr a wnaeth
Farn hynod trwy 'r frenhiniaeth:
Ef oedd â'r byd i'w feddiant,
Gwnai 'n ol ei ymchwyddol chwant:
Dïau 'r byd nid arbedodd,
Pob gwlad dan drethiad a rodd.
I'w dinas ae pob dynion
I dalu 'r dreth ddifeth hon.
Ae 'r wyryf a'i gwr eirian
I Fethle'm oleudrem lân.
Yno tra bu 'r ddau anwyl,
Y firain wên forwyn ŵyl,
Gwawr dyner, ei hamser hi,
Waisg eirian, i esgori
Gyflawnwyd;—Duw lwyd, ba lys,
Claerlawn ehang discleirlys,
Ior nattur, a rown itti?
A gafwn lle dodwn Di?
Yn y dre' mae pob lle 'n llawn:
'Y bêr wyryf dêr diriawn,
Dra hynod wraig dirionhael,
Cei letty a gwely gwael:
Mewn preseb! man pur isel,
Gorwedd wnai 'r fwyn forwyn fêl.
Ior nefawl y freiniawl fro,
Mab Duw lwyd anwyd yno!
Difyr fugeilwyr defaid
Gerllaw yn gwyliaw a gaid.
Aml lu o gymmylau oedd
Yn nofio 'gylch y nefoedd.
Yn awr hardd loer wineurudd
Oedd olau, ac weithiau 'n gudd.
Laned yw llu 'r oleunef!
Meddant, tra 'r wynebant Nef:
Duw lwyd! gwaith dy law ydyn',
Rhyfedd mor faith gwaith Duw gwŷn!
Gyrrwyd ni o bob gorawr,
Duw gwel ni 'n isel yn awr.

D'wedwyd, mynegwyd i ni
Y genir T'wysog inni
Ryw ddydd a'n rhydd yn rhyddion,
Dafydd y Salmydd sy 'n son.
  Dda ddynion, tra 'mddiddanynt
Am ddyddiau y gwyrthiau gynt,
O'r dwyrain hyfryd araul,
Mal codiad tywynniad haul,
Lân wŷr, hwy welen' eirian
Wawl o draw 'n olwynaw 'n lân,
Ar nawf drwy gaerau 'r nefoedd,
Neshâu amryw raddau 'r oedd.
Wele eres lu eirian
Discleiriol âg ethol gân!
Dedwydd lu 'r Nef glodadwy
Yn glaergylch o'u hamgylch hwy!
Canent emynnau ceinwych
Uwchben yn y wybren wych.
Fwynion wŷr, ofni a wnaeth
Y dirion wyliadwriaeth.
Ac ar hyn Angel gwŷn gwâr
Ddeuodd yn fwyn i'r ddaear:
Nag ofnwch, can's heddwch hir
Heddyw i chwi gyhoeddir:
I chwi 'r wy 'n mynegi 'n awr
Newyddion trymmion tramawr!
Newyddion dedwyddlon da
O lwyddiant i hil Adda!
Ganwyd eich T'wysog union,
Yr Ior hael, yn yr awr hon!
Eich Llywydd tragywydd gwâr
Ddeuodd heddyw i'r ddaear!
Naws dof, yn ninas Dafydd
Eich T'wysog serchog y sydd.
Tra hynod eurglod Arglwydd,
Tad pob dawn, ddaeth â llawn llwydd.
A hyn yr wy 'n ei henwi
A fydd wych arwydd i chwi;
Cefwch y Ceidwad cyfion,
Anwyl ei wedd â'i wên lon,
Dirymmiant, wedi 'i rwymaw,
A'r lle mewn preseb ger llaw.
Yno cewch yn ddi naccâu,
Duw uchod mewn cadachau!
  Clywid nefol siriol swn
Melysawl fawl gan filiwn:
Cerubiaid, oleublaid lawn,
Gu natturiawl ganteriawn,
Y gloywlwys lu goleulon,
Gogoniant roddant i'r Ion;
I'r ddaear gu liwgar lân,
I'r moddus wŷr a'i meddan',
Tangnefedd, oleuwedd lu,
Roisant am eni 'r Iesu:
I ddynion, dorf ddiddana',
Lliaws doeth, rhoent 'wyllys da.
O'r byd hwy gyd-ymgodan'
Ar ol eu rhagorol gân:
Ae 'r tyner nifer nefol,
Pereiddlef, i Nef yn ôl.

Gan mor bêr mwynder eu mawl
A'u haml leisiau melysawl,
Bu 'r ffyddlon wŷr tirion têg
Dros dro 'n gwrando 'n gywreindeg.
  Rhyfeddol ddiddanol ddydd!
Gwelwn, meddent i'w gilydd,
Gwaith Arglwydd yr arglwyddi
O Nef hyspyswyd i ni.
  Plaid y bugeiliaid gwaelion
Yn yr ennyd hyfryd hon,
Daethant, a gwelsant y gwir;
Y gwr cu a'i wraig gywir;
Joseph a Mair, ddiwair ddau;
O ddidawl ryfeddodau!
Hwy welsan' y Baban bach,
Iesu hael!—p' le iselach?
Mewn preseb! man pur isel,
Mae yn awr Immanuel!
Hynaws graffent yn hoenwych,
T'wysog hedd, ar ei wedd wych,
Ar dirionwawr Duw 'r wiwnef,
Duw 'r lluoedd a nerthoedd Nef.
Mawr ryfeddu wnai 'r llu llon,
Taenasant eu hanesion:
Clau weision, pawb a'i clywsant,
Un wedd rhyfeddu a wnant.
Yn ôl, wŷr ethol, yr ânt,
A'r llu dan ganu ganant.
  Yn ol y faith gyfraith gynt,
Iawn ydoedd, hwy enwaedynt
Fab Dafydd, Llywydd pob llu,
Henwasant hwy e 'n Iesu.
  Y wên Fair ddiwair, pan ddaeth
Dy' gwyl ei phuredigaeth,
Dygasant Ef, dêg Iesu,
I deml glaer Salem gaer gu,
I'w gyflwyno, gu Flaenawr,
I'w Dad, y mawrfad Dduw mawr.
  Gwr difri' mewn gweddi gaid,
Simeon union ei enaid,
Eiddunai lân ddiddanwch
I Israel o'u trafael trwch.
Gan Yspryd hyfryd Duw 'r hedd,
Gwir felys fu 'r gorfoledd,
E wybu gyflawn obaith,
Cyn bedd a diwedd ei daith,
Cu olwg, y cai weled
Y pur Nêr, Crist, Prynwr Crêd.
Yn llefaru bu 'n ddi baid
Ion anwyl yn ei enaid:
Gwybydd, dyma 'r dydd y daeth
Y diriawn iechawdwriaeth:
Mae 'n awr dy Arglwydd mawr mâd,
Mae 'th Frenin, mae 'th fawr Ynad,
Mae 'n awr, y gwr mwyn eirian,
Mae 'n awr i'w deml lwysfawr lân.
Simeon, na ofna 'th siommi,
Dos, a gwel, a dychwel di.
  I'r ryfedd deml oreufaeth,
Mwyn ddyn, hen Simeon a ddaeth:

A gwir yw, yn ol gair Ion,
Cafodd ei Arglwydd cyfion.
Y gwr isel goreuserch
O law ei fam, olau ferch,
Brysiai, cymmerai 'r Mawredd,
Y Maban eirian ei wedd.
Ennyd, mewn gwynfyd, wr gwyl,
Fe wenai ar Naf anwyl:
Torrodd yr hen wr tirion
I'r fawrglod gân hynod hon:
Ydd ydwyf yma 'n ddedwydd!
Iesu 'n rhoi ei was yn rhydd!
Di ball gwnaf symmud bellach
Mewn tangnefedd i'r bedd bach.
Yn ol d' air, Duw anwyl, daeth
Dy eirian iechawdwriaeth!
I'r cenhedloedd, lluoedd llawn,
Ti yrraist olau tiriawn!
I hil dy weision haelwych,
I'th blant daeth gogoniant gwych!
Gwenu a wnai Mair geinwawr,
Gwnai 'i gwr cu ryfeddu 'n fawr.
Anna, brophwydes union,
Llefarai, cyhoeddai hon
Yr un peth, wraig ddifeth dda,
Am rywiog Fab Marïa.
Pan ddaeth Mab Naf glanaf glod,
Iesu, i'r ddaear isod,
Satan llawn malais yttoedd,
A dig felltigedig oedd.
Ym mol yr uffernol Ffau
Eirias oddaith orseddau
Y sydd, megis moelydd mawr,
Yn gaerog enwog orawr:
Ac yno, T'wysog Annwn,
Mae echrys frenhinllys hwn.
Yno 'r eisteddai ennyd
Mewn creulawn afradlawn fryd.
Fe guchiodd, edrychodd dro,
Lew anwar, pwy wêl yno.
Caid y pennaethiaid yn awr,
Yrroedd, drwy amryw orawr,
Yn cospi, 'n poeni heb baid,
Mawr ddolur, amryw ddeiliaid.
Pwy weithian, medd Satan, sydd
O'n gweision â 'n negesydd?
Tra gawriai, newidiai 'i wedd
Gan ddiriaid groch gynddaredd.
Swyddogion llymmion y Llys,
Dewrion Ellyllon dyrys,
Gwelodd hwynt yn disgwyliaw
Mewn cuchiog afrywiog fraw.
Hedwch, cynhyrfwch yn awr,
Dorfoedd yr Eigion dirfawr!
Brysient yr odfa bresen
Y' nghyd, cyn bo 'r byd ar ben.
Rhag ei ruad ofnadwy
Dychlammant, ehedant hwy.
Ar air, drwy 'r Distryw eirias,
Yn chwyrn y doi 'r Cedyrn câs;
Holl Senedd llïaws Annwn
Ehedant, heidiant at hwn.
O radd i radd yr oeddynt,
Mal yn Nef fawr geinwawr gynt.
Siriol pan fo 'r haul seirian
Uwch y môr mawr gloyw-wawr glân
Yn gwenu drwy niwl du dwys,
Gwelir disgleirbyst gwiwlwys
Laweroedd, o'r niwl-oror,
Hyd wyneb llaith maith y môr;
Hyll rawd y Llew rhuadwy
Oedd gymmaint o faint, neu fwy.
Llewyrchent â lliw erchyll
Trwy 'r echrys frenhinllys hyll.
Oh gadau, bendigedig
Gynt oedd, sydd yn dorfoedd dig!
Wynebau 'n llawn anobaith
Amlwg, am eu mawrddrwg maith!
Celwydd a balchder calon
A wnaeth y wahaniaeth hon.
Cododd Satan yn dân dig,
Yn gadarn felltigedig,
I fawrwych groch lefaru,
Erchyll oedd goruwch eu llu.
Chwi d'wysogion creulon cras
Sydd ar orseddau eirias,
Enwog lu 'r Nefoedd unwaith,
Yn awr torf Uffern fawr faith,
Galwyd chwi at eich gilydd
Am fatter ar fyrder fydd;
I'n Ffwrn ddu ni fu ei fwy,
Annedwydd ac ofnadwy!
Nef-Frenin pan ddifreiniawdd
Ein llu ni allan o'i nawdd
I'r penyd, o'r gwynfyd gwych,
Mi gwn, mewn cof mae gennych
Y ddadl gadarn a'r farn fu,
Mai dirym yw hyderu
Ail egawr y Nef loywgerth
Trwy ddewrder, nifer, a nerth.
Gwir!—ond er hyn rhagori
Mae 'ch dyfnion ddichellion chwi.
Y Taranwr, taer Ynad,
Ar ol yr angerddol gâd,
Bwriadodd, Fe geisiodd gau
Torf Annwn mewn terfynau;
Ond o'r Llyn, er hyn, yn hawdd,
Aethom, torrasom trosawdd.
Yn Eden, ardd wèn odiaeth,
Hudais, mi gymm'rais yn gaeth
Addaf, ddedwyddaf hoywddyn,
Y cyntaf a'r doethaf dyn.
Afreidiawl im' ddifrodi
Yn ofer eich amser chwi,
Denais yr holl fyd annoeth,
Mi hudais trwy ddyfais ddoeth.
I chwithau, gwyddoch weithian,
O'r fantais mi roddais ran.
Ninnau ar hyn o ennyd,
Ni'n ddïau a bïau 'r byd.

Yn awr mae'r Gelyn mawr mau
Am ei ddwyn o'm meddiannau.
Gwir ydyw, rhai a gredynt
Eiriau'r daroganau gynt;
Hwy gredynt mai Gwaredydd
O'r Nef draw a ddaw ryw ddydd.
Ac yna bydd gwae inni,
Distrywir, anafir ni.
I'r Ddraig Hâd y wraig a rydd
Hynod ddirfawr ddibenydd:
Y lwyr-chwyrn farwol archoll
Pa bryd nid yw'n d'wedyd oll.
Ar air, wrth bob rhyw arwydd,
Y dyddiau 'n agoshâu sydd.
Ond och!—can's gwyddoch mai gwir!
A gwae ei fod yn gywir!
Miloedd a myrddiynoedd aeth
O'r dynion roent grediniaeth
I'r Hawddfyd, i'r Gwynfyd gwych,
Gwae inni! mae'n gof gennych.
Pa fodd? o'n hanfodd aen' hwy?
D'wedwch?—mae 'n anghredadwy!
Aethan' i lân Oleuni,
Mae'n w'radwydd, o'ch herwydd chwi.
Meddych, gán golli'r wych wawr,
Y lawen Nef oleuwawr,
Yn y tanllyd hagrfyd hwn
Trwy ofid y cartrefwn.
Rheolwn Annwn wynnias
A ffwrn groch holl Uffern gras
Y wlad, anfeidrol ydyw,
Digon o waith, a dygn yw:—
Oni wyddoch? 'r rhai'n oeddynt
Eich dadleuon gweigion gynt?
Gerwin fu eich seguryd!
O'ch bodd collasoch y byd!
Ond chwithau gwrandêwch weithion,
A chryned, brydied eich bron:
Byddwch chwi, arglwyddi glân,
Yn well-well o hyn allan;
Byddwch, clywch eich rhybuddiaw,
Fwy bywiog, llidiog rhag llaw.
Blin yrroedd y blaenoriaid
Rhagddo mewn cyffro eu caid.
D'wedwch, a gollwch i gyd
Drwy hyllfai draw yr hollfyd?
A ddenais, a hudais hwn
Unwaith i feddiant Annwn
I'w roi'n ôl? bythol na bo
Y gw'radwydd hwn i'n gwrido.
Bellach, yn hytrach na hyn,
Rhown hyder ar ein hedyn;
I gyd nyni a godwn
O'r Llyn dybryd tanllyd hwn.
Myn f' eirias deyrnas o dân,
Fy hynod fraich fy hunan,
Ac myn hon y goron gerth
Fawrfaint, os yw'r Nef eurferth
O gyrraedd arfau geirwon,
Tyrfa a rhuthrau'r fro hon,
Y ddu oerlom ddaearlawr
Dynnaf, faluriaf i lawr;
I lawr mi a'i maluriaf,
Yn un âg Uffern a wnaf!
Dïal cyhafal yw hyn
I rwysgo a goresgyn!
Ar hyn o amser hynod
Yn fŷr gadewch inni fod:
Arw haid, awn ar ehediad,
Chwychwi, gwnewch lenwi y wlad;
Hudwch, denwch bob dynion
I'r hen Fagddu hagrddu hon.
Drwy ddichellion geirwon gau
Na oedwch ladd eneidiau;
I'w dinystr gwnewch eu denu,
Yn llwyr ennillwn eu llu.
I ddynion, tra bon' yn bod
Heb achwyn dan drwm bechod,
Heb ystyr gwewyr eu gwŷn,
Heb hedd, heb rinwedd ronyn,
Yn rhwydd eu Nêr pe rhoddai
Y lwys Nef, pa les a wnai?
On'd diawliaid melldigaid ŷch?
Da 'r adwaen mai dewr ydych:
Llew ydwyf, pwy all wadu?
Fi fydd yn Llywydd i'ch llu.
Gynhygiwn, gymm'rwn un gwaith
Heb ei orphen yn berffaith?
Mi gwn, dïammau gennyf,
Ac yn hyn 'r wy'n ddigon hyf,
Gw'radwydd fydd i'w Gwaredwr,
Hudaf, mi gwympaf y Gwr.
Gan falchder a hyder hwn
Hyll wenu wnai holl Annwn.
Eu cadau cyn y codynt,
Mal byllt i'w ehedwyllt hynt,
Ront dair bonllef grochgref gras,
Gan rwygo'r oror eirias:
Dibris gawriai'r llu dybryd
Yn erbyn Duw gwŷn i gyd:
Uffernawl greigiau ffyrnig
Ront anfad attebiad dig.
Ar hyn croch ddychryn a ddaeth
I waelod bro marwolaeth!
Goruwch,—uffernawl gerydd
Trwy'r Fagddu yn saethu sydd!
Griddfannu, dan grynu'n groch
Hyd eigiawn y Llyn dugoch,
Wnai Annwn ddofn wenwynig,
Griddfannu, a dyblu dig.
Pa riddfan, ebr Satan, sydd,
Erchyll, trwy'r gorwyllt geurydd?
Pa ddychryn anhydyn hyll,
A braw du drwy'r wybr dywyll?
Coeliaf dy ddyfod, Celi!
Dduw mawr! rhy ryfedd i mi!
Gorwyllt dorf, nid gwiw aros
Ym mroydd annedwydd Nos;
Oferedd in' fyfyriaw
Ymochel; a *ddîl* a *ddaw*.

Yn awr torf Uffern fawr faith,
Rai anwar, oll ar unwaith,
O Dân aent ar adenydd,
Chwerw dorf, tu a chaerau Dydd.
Uwch ben y troe 'r Cadben cas,
Draig arwddig, mewn drwg urddas:
Rhifai, tra 'r ehedai hwn,
Dorfoedd byddinoedd Annwn.
Gwir ddïau gwae i'r ddaear!
Gwae 'r byd gan benyd a bâr!
Daionus ydyw inni
Yn awr fod Duw gyda ni.
Doethion ac enwogion wŷr,
Ac odiaeth iawn ddysgawdwyr,
O Arabia oreuber,
Welent Wawl hynodawl Nêr.
Yr hanes am Ior hynod,
Hawddgar i'r ddaear i *dd'od*,
Dduwiol Frenin Iuddewon,
A lanwai 'r wlad harddfad hon.
Gwawl siriawl mal gloyw seren
Ryfeddwych yn entrych nen,
Arwyddion mewn seryddiaeth,
Liw nos, wnaen' ddangos, Fe *ddaeth!*
Tu a'r seren wèn waneg
Teithiai 'r rhai 'n o'r dwyrain dêg:
Daethant, wŷr hynod, weithion,
I Salem oleudrem lon.
At Herod ddiglod ydd ânt;
Yn gu fwynion gofynant,
Mae 'r Hwn a ddaeth mor hynod,
Y sydd, ac a fydd i fod
I'r Iuddewon mwynion mâd
Yn Frenin, yn fawr Ynad?
Ei wyrthiol siriol seren
Yn entrych y nef wych wèn
A welsom: daethom o dir
Iawnglod y dwyrain wenglir;
I ddilyth wir addoli,
Y mwyn Ior, y deuem ni.
Yna Herod annhirion
Gyffrôdd, a synnodd wrth son.
Bu 'n annoeth fawr boen ennyd
I'r dref gyd âg ef i gyd.
Gwysiodd Herod i geisiaw
I'w lys, ar frys, mewn chwerw fraw,
Gymmanfa ddoeth gyfrgoeth gall,
Y gwanddyn cynfigenddall.
Pan gasglodd, fe 'u holodd hwynt,
Lu moddus, pa le meddynt
Genid Brenin Gogoniant?
Enneiniog Swyddog y Sant?
Hoff wŷr, yr archoffeiriaid
Bob un, yn gyttun a gaid
I'w atteb; Bethle'm yttyw
Y da le, hynodawl yw:
Can's hon yw 'r ddinas lon lwyd,
Dda odiaeth, a ragdd'wedwyd.
Fe 'r annoeth ddiras frenin
Y sydd yn aflonydd flin.
Draw at y doethion fe drodd,
Hwy eilwaith fe a holodd:
Pan gaffoch, pan weloch wedd
Ior hynod, Brenin rhinwedd,
Deuwch, mynegwch i ni,
Cu ddyn, p' le ca'dd ei eni;
A minnau 'n ddïau ddeuaf,
Lân Ior, a'i addoli wnaf.
Hen lwynog, hwn lawenai,
Bradychu, dan wenu, wnai.
I'w ddu galon ddig'wilydd
Dichellion surion y sydd.
Y doethion draw a deithiant,
Mewn llawn gobaith ymaith ânt.
Y claerion wawl discleirlwys,
Fal seren oleuwen lwys,
O'u blaen aeth, bu lawen iawn
Y dethol fwynwyr doethiawn.
Y cyfeillion cu felly,
Ior glân, y daethan' i'w dŷ.
Wele ryfedd ryfeddawd!
Ein gwiw Nêr sydd yma 'n gnawd!
Trag'wyddol Fab nefol Naf
Ar liniau Mair lawenaf!
Gweddus oedd ei bryd gwiwdda,
Mwy tirion na binon ha'.
Yr ydoedd fwy goreudeg,
Fwy cynnes nag yw 'r tês têg:
A'i ben, ni bu neb wynnach,
Mor lân yw y Baban bach!
Mab ffraw, a'i ddwy law ar led,
Yn gwenu, Ion gogoned!
Hynaws graffent yn hoenwych,
T'wysog hedd, ar ei wedd wych,
Ar dirionwawr Duw 'r wiwnef,
Duw 'r lluoedd a nerthoedd Nef.
Y gwŷr enwog eirianwawr,
Syrthient, penlinient i lawr;
Addolent Ef yn ddilys,
Rhoent fawl hyfrydawl ar frys:
Rhyfedd iawn! rhyfedd eni
Naf pur yn ein nattur ni!
Tra siriol o'u trysorau
Rhoent roddion gloywon yn glau:
I'r Iesu aur a roisant,
Rhoi thus yn weddus a wnant:
Myrr, i Fab difyr Dafydd,
Glân a ront, o galon rydd.
Duw Nêr, yn nyfnder y nos,
Modd yngwrth, wnaeth ymddangos
I'r doethion haelion, mewn hedd:
At Herod, sy 'n llawn taeredd,
Cofiwch, na ddychwelwch chwi:
Codant, galwant ar Geli.
Ar hyn yr annhirionwawr,
A llu yr holl Fagddu fawr
O wlad Uffern, le diffaith,
Daethant yn awr, dirfawr daith!
Mewn llawn gofid a llid llwyr
Troant o ddeutu 'r awyr.

Weithian ae Satan i'w swydd,
Gau fwriad, yn gyfarwydd
I drin creulon droion drwg,
Mwrddrad, pob llid a mawrddrwg.
O'r wybr draw obry e drodd,
Ei gyfaill hen a gofiodd:
Creulonaf a gwaethaf gwr
Ydoedd Herod ddihirwr.
Deallodd gael ei dwyllaw,
Cyffrôdd a brochodd mewn braw.
Y Diafol hudol wnai hwn
Fal un o ben ddieifl Annwn.
Gwnaeth ddanfon gweision dan gêl,
Rifoedd o wŷr o ryfel,
I ladd a dïaleddu
Trwy Fethle'm dref geindrem gu.
Diras Herod roes arwydd,
Hwy ânt, prysurant i'w swydd.
Y sawdwyr, modd arswydus,
Trywanent, briwent heb rûs,
(A luniwyd gwaith creulonach
Gan elyn?) y bechgyn bach.
Oh lid rhai annheimladwy!
Tra gwenent, gwahanent hwy!
Hyll rwygwyd llawer ugain,
Is dwyflwydd, yn rhwydd, o'r rhai'n.
Dwys gamwedd du ysgymmun!
Lladdwyd, ni adawyd un!
Clwy' dudost! caled adwy!
Blant siriol, ar eu hol hwy
Eu rhïaidd fammau rhywiawg
Wylofain wnai'r rhai'n y rhawg.
Dichellion, amcanion cas,
Gelyniaeth a galanas
Satan, os cyfrwys yttynt,
O Nef hardd canfu Naf hwynt.
O'i nawdd anfonawdd yn fwyn
Ei weddus lwys Fab addwyn
I'r Aipht; ac i'r Aipht yr aeth;
Mudwyd gan ei fam odiaeth.
I'r gweinion rhodd Ior gwiwnef
Y santaidd anwylaidd Nef.
Herod ga'dd ddibendod bas,
Iddo daeth angau addas.
A Naf ddaeth a'i Fab nefol,
Heb feth, i Naz'reth yn ôl.
Yn Naz'reth, Brenin Israel,
Ior mawr mâd, mewn galwad gwael,
Tra ufudd y cartrefai,
Dirgel fyw'n isel a wnai.
Ior hael, gan mor wael ei wedd,
Er hynny yn llawn rhinwedd,
Ni wyddai Satan eiddig,
Drwy ddichellion dyfnion dig,
Pwy yw'r Ynad, fâd Fodur;
Bu flin a gerwin ei gur.
F'Arglwydd yn ddeuddengmlwydd aeth
I Salem, ddinas helaeth,
Tangnefeddol rasol Ri,
Ar unwaith â'i rïeni,
Ar wyl y Pasg areulwawr,
Gwyl iawngred ymwared mawr:
Yr enwog ddirfawr Ynad,
Fe aeth fry i dŷ ei Dad.
Tirion lu o Ddoctoriaid
Yno'n ymgommio a gaid.
Gwrandawai'n gadarn arnynt,
Gwrandawodd, a holodd hwynt.
Ei nefol wrol araith
Wnaeth i'r llu ryfeddu'n faith.
Cododd a chynhyrfodd hyn
Arwa' galar i'r Gelyn.
Ae'r Annuw yn yr unawr
I'r wybren yn fellten fawr:
Yn danbaid haid anhydyn
A gasglodd, cyhoeddodd hyn;
Ni wiw'n anfwyn ennynfawr
Troi'n ôl wedi taro'n awr.
Gyrrais lu i frathu'i fron,
A chollais wrth ddichellion.
Er Addaf chwi'n wir wyddoch
Bob dichellion creulon croch.
Chwi'r Erchyllion geirwon gau
Trwch benydiwch eneidiau.
Rhuthrwch, meddiannwch ddynion,
Rhwygwch, a brydiwch eu bron.
Carcharwch mewn cur chwerwaf,
Brysiwch, na ofnwch eu Naf.
Didawl ei ofid ydoedd,
Chwerwi, cynddeiriogi'r oedd.
Nerthoedd byddinoedd Annwn,
Mal rheibus, mal gwangcus gwn,
Rhuthrant, meddiannant ddynion,
Rhwygant a briwant eu bron.
Aflonydd yw'r rhai flinant,
Gwallgofi'n aneiri' wnant.
Gwanant eu cyrph gan gynnwr',
Hwy syrthian' i dân a dwr.
Gan gur y dur a dorrant,
Pob rhwymau yn ddarnau ydd ânt.
Y dynion gwaelion dinerth
Gystuddiant, gospant yn gerth.
Hyll olwg! pwy all weled
Eu cystudd, a'i rudd ni red?
Anfynych rho'i Naf union,
Cyn bod yr oes hynod hon,
Gennad i lu drwg Annwn
I boeni'r byd hyfryd hwn.
Ond yn awr y dirfawr Dad,
O'u chwerw a'u dwfn garchariad,
Y Diafol a'i lu difoes
Tros fŷr dro'n rhyddion a'u rhoes.
Beunydd mae rhyw ddibennion
O gu iawn râd gan yr Ion:
Can's wrth hyn y Gelyn gau,
Hen Lew, sydd yn ei liwiau;
Ei ddichellion dyfnion dig,
A'i ddu lid fydd weledig:
A godidawg y Duwdod
Yn gyflawn a gai iawn glod.

Gwelid gan bob trigolion
Radau a mawr wyrthiau 'r Ion.
Yn gu eirian mae 'n gwawriaw,
Mae dydd y Llywydd ger llaw.
Galar fydd i ti, 'r Gelyn,
Yn ebrwydd, o herwydd hyn:
Gwir yw, T'wysog yr awyr,
I dân llosg teflir di 'n llwyr:
Y ffyrnig Sarph uffernol,
Cyn hir ysigir dy siol:
Dy ddrwg ddeiliaid tanbaid ti,
Yn rhawd, rhag ei Fawrhydi
Ddychrynant, ffoant i'w Ffau,
I ddu Annwn fyrddiynau.
At Ioan eirian ei wedd
Gair anwyl Duw 'r Gwirionedd
A ddaeth; helaeth a hylaw
Gwnai 'r gwr llon, a'i fron heb fraw,
Bregethu i bob llu llawn
Ar fin dwr afon diriawn:
Bedyddiai 'r mwyn fab diddan
Luoedd ar fin dyfroedd Dan.
Yn awr mor bwysfawr o beth
Ei bur agwrdd bêr bregeth,
Cyflym hanes eres aeth,
Iaith rywiog, o'i athrawiaeth
Drwy bob gwlad, i'w fâd fedydd
Ymgasglent, deuent bob dydd
O Salem, ddinas wiwlwys,
A da wlad Judea lwys.
Gwir addysg a ro'i iddynt,
Dysgai, argyhoeddai hwynt.
Doi yno wedi ennyd
Blant gwagedd, bonedd y byd.
D'wedodd, cyffrôdd, wr cu ffraeth,
Oh 'r dynion digredinïaeth!
Barus genedl gwiberod!
Rhag llid y dydd fydd i fod,
Ba wedd, pwy 'ch rhagrybuddiawdd
Yma 'n wir i ffoi am nawdd?
Dygwch, mae 'n bryd diwygio,
Ffrwyth gweddus, trefnus bo 'ch tro.
Edifarhêwch, chwi gewch gu
Fawredd am edifaru.
Rhoddwch ymaith bob gwaith gau
Newidiwch eich eneidiau.
Am eich trosedd camwedd caeth,
Diles yw pob gwaedoliaeth.
Y fwyall, deall, y dyn,
Roddwyd yn awr ar wreiddyn
Y prennau; rhai heb rinwedd
A gwympir, yn wir, un wedd
A'u gilydd tros y geulan,
Torrir, fe'u teflir i'r tân.
Tra'r oedd y bobloedd yn bod,
Fawr fyddin, mewn rhyfeddod,
Ai hwn oedd Crist ei hunan,
Ebre 'r cymmwys wr glwys glân,
Yr ydwyf ei ragredwr,
Dros dro, 'n bedyddio â dwr.
Mae Hwn sy 'n dyfod o'm hôl,
Ior gwâr, yn fwy rhagorol.
Oh wladwyr! rhy wael ydwyf,
Wrth nattur rhy ammhur wyf,
Ni's gwadaf, i ddwyn 'sgidiau
Y mwynwawr Arglwydd mawr mau.
Mae 'r graslawn Ior cyfiawn cu,
Mae 'n agos, 'r wy 'n mynegu:
Ei fedydd Ef fydd fadwys,
Fydd tân yr Yspryd Glân glwys.
Tra bu 'n llefaru yn fwyn
Weddus gynghorion addwyn,
Yr Iesu, yn Wr isel,
Llariaidd a gwaraidd dan gêl,
Dilys drwy ysprydoliaeth,
At Ioan ddiddan Fe ddaeth.
(Ei oed yn hyn o adeg,
Oen Duw, oedd ugain a deg.)
Ni wyddai drwy 'r blynyddoedd,
Wr mwyngu, mai 'r Iesu oedd.
Adnabu, pan ganfu 'r gwr,
Ei wych odiaeth Iachawdwr.
Di gêl rhoes Duw i'w galon
Wybod yr awr hynod hon.
Oh Arglwydd yr arglwyddi!
Fy Naf! a fedyddiaf Di?
Oh moes, can's mae im' eisiau,
Fy Nêr, y bedydd têr tau.
Attebodd, d'wedodd Mab doeth
Y Gwir-Dduw yn gu war-ddoeth,
Yn ffyddlawn mae 'n iawn i ni
O flaen pob peth gyflawni
Yr holl gyfraith fawrfaith fau
O dirion gyfiawnderau:
Mae ei rhinwedd mor hynod,
Gan hynny gâd felly fod.
I'w Nêr, wrth ei fwyn eiriau,
O'i fodd hwn wnai ufuddhâu.
Ior da, pan ddeuodd o'r dwr,
Y goreudeg Waredwr
Ar Dduw Ri ei weddi rodd,
Y gaerawg Nef egorodd;
O'r lwysber Nef dyner dêg,
Mal colommen wèn waneg,
Gwelid Yspryd Naf gwiwlan
Ar Ddofydd gu Lywydd glân
Yn disgyn: Duw gwŷn yn gerth
Hefyd o'r Nefoedd hoywferth
A dd'wedodd, cyhoeddodd, Hwn
Yw f' anwyl Fab a fynnwn
I'm cyfiawn lawn foddloni,
Ac weithion wyf foddlon Fi.
Dofydd o'i fedydd Ef aeth,
Dygwyd i'w brofedigaeth:
I'r niwlog fawr anialwch,
I'r anferth o drafferth drwch,
Yn ddistaw gan law Duw lwyd,
Ior anwyl, Fe arweiniwyd.
Hen Addaf, ddedwyddaf ddyn,
A goeliodd ei gau Elyn:

Rho'i hyder ar air hudawl,
Dichellion dyfnion y Diawl;
O'i wirfodd fe gwympodd gynt,
A'i holl hil ga'dd hyll helynt.
Ond Duw 'r hedd, o'i ryfedd râd,
A gododd i ddyn Geidwad.
Ac wele! (Oh am galon
I groyw iach gredu gair Ion!)
Er dyfais arw 'r Diafol,
Mae 'n wir ennillir ni 'n ôl.
Ond pa fodd yr adroddaf?
Pa eiriau i'm genau gaf?
Hir fyddai dweyd rhyfeddawl
Ddichellion dyfnion y Diawl:
Hanes llawer o honyn'
Sydd ry ddwys, sy oddiar ddyn:
Gerwin oeddynt, uwch geiriau;
Yn fŷr boed y myfyr mau.
O'r wèn Iorddonen pan ddaeth
Y Gwaredwr gwir odiaeth,
Satan ddu ganfu y Gwr,
A goflin oedd ei gyflwr.
Fadyn, fe wnai ofidiaw
Mewn llidiog afrywiog fraw.
Fe roddai gyfarwyddyd
I'w weision geirwon i gyd,
Beunyddiol bawb o naddun
I fod yn barod bob un.
Llenwi a wnai llu Annwn,
Y dybryd, y gwaedlyd gŵn,
Yr anial oll ar unwaith
A'r glaerwawr wybren fawr faith.
Y Gelyn croch dig'wilydd,
Drwg amcan, Satan y sydd
Lidiog a bywiog uwch ben;—
Dig obry o'r dêg wybren
Edrychai, canfyddai 'r fan
Ddirgelaidd 'r oedd Ior gwiwlan.
Weithiau dan gangau y gwŷdd
E rodiai y Gwaredydd;
Ac wele 'n awr ac eilwaith,
Eisteddai, myfyriai 'n faith.
Hynny yr Amhirionwawr
Pan welai, rhyfeddai 'n fawr.
Ni wyddai Satan eiddig,
Er dichellion dyfnion dig,
Mo amcanion mawrion mâd
Yr enwog ddirfawr Ynad.
Y dyrys orthrymderau
Oddiwrth ddyn a'r Gelyn gau;
Cadw 'r berffaith gyfraith i gyd
A chalon ddifrycheulyd;
Tynnu 'r deyrnas Satanaidd
O'r galon, yn gron o'r gwraidd;
Seilio teyrnas ehelaeth,
Ysprydol, yn fywiol faeth,
Oedd lwys dda feddwl Iesu,
A'i fawrion amcanion cu.
Didawl mewn ympryd ydoedd,
I weddi ymroddi 'r oedd.

Y dieflig yspryd aflan
Grynodd pan olygodd lân
Wawr hynod Brenin rhinwedd,
Gofidiai, newidiai 'i wedd.
Ni welodd fodd i feiddiaw
Ei demtiad a'i frâd gan fraw.
Dros hir amser, Nêr, wiw Nawdd
Puredig, yr ymprydiawdd:
Deugain o ddyddiau digoll
Iesu gaid heb dammaid oll.
Ac yno T'wysog union
Y Nèfoedd â'u lluoedd llon,
(Ni a welwn ei ddynoliaeth)
Hael Iesu, newynu wnaeth.
Y Temtiwr, Hudolwr du,
Diriaid, a wnai hyderu
Y denai Brynwr dynion
Yr ennyd anhyfryd hon.
Fal Archangel tawel têg
O lydan wlad oleudeg
Y Nef, ymddanghosai 'n awr
I'r enwog Ior eirianwawr.
Yr Anfad â'i frâd i'w fron,
(Och hylled ei ddichellion!)
Holai, fe lefarai 'n fwyn,
Ai diddig Fab Duw addwyn
Ydwyd? can's anfonwyd fi
Attad yn gymmorth itti.
Hedais, pan glywais, yn glau,
Dy fod mewn du ofidiau.
Mi welaf, mae im' alaeth,
Dy rudd dan gystudd yn gaeth.
Dy waelaidd bryd a welir
Fal dyn mewn newyn yn wir.
Ai dedwydd Fab Duw ydwyd?
Dyma garreg lyfndeg lwyd,
Tro hon yn burion bara,
O'th loes hir fe a'th leshâ.
Yr Iesu ganfu ei gaeth
Fâr dyrys, a'i fradwriaeth:
Dywedodd, Afraid ydyw,
Da gwn, 'scrifenedig yw,
Oferedd i ddyn fara
Heb nefol air dethol da
O enau Duw 'r Gwirionedd
Sydd fywyd a hyfryd hedd.
Pan glywai, ni fedrai 'r Fall
Yr awr'on gael gair arall.
Mor berffaith y gyfraith gu,
Ei fron wnai hon wahanu.
E gafodd warth a gofid,
Ffodd pan na lwyddodd ei lid.
Ac wed'yn y cu Geidwad,
Wrth 'wyllys dilys ei Dad,
A'i ofalon yn filoedd,
Ymborthi ar weddi 'r oedd.
Yn erwin daeth yr un dydd
I'r Gelyn ddirfawr g'wilydd.
E ddarfu ei fawr ddewrfost,
Satan, bu fechan ei fost.

Hwnnw unwaith ei hunan
Ymchwyddai, ni roddai ran
I neb o lu'r Anobaith
O'i ddig felltigedig waith.
Hyn wyr, os ennill a wnai,
Ei gyfarch yn fwy gafai;
Llai, os nad elai â'r dydd,
I'w galon gai o g'wilydd.
Pan welodd, mewn poen alaeth,
Nad ffynnu, ennynnu wnaeth:
Archodd i lu'r Fagddu fawr
Wneud terfysg hynod dirfawr
Draw i ruaw drwy'r awyr:—
Dan ruthro, rhuo'n yr hwyr
Torrai, ymwriai'r mawrwynt
O'i garchar o'r pedwar pwynt.
Mal lluchynt y trowynt trwch
Annelodd i'r anialwch:
Coed irion acw dorrant,
O seiliau dyfn-wreiddiau'r ânt.
Mab Duw lwyd, dïarswyd oedd,
Ei Geidwad, ei Dad ydoedd.
Yna gostegodd ennyd;
Duodd, ymgauodd i gyd
Yn d'w'llwch mawrdrwch a maith
Drwy'r anial draw ar unwaith.
Mewn nerthawl ryfeddawl fodd
Ar unwaith hi daranodd.
Y mellt oedd yn ymwylltiaw,
Fflammiant, goleuant drwy'r gwlaw.
Trystiai, e ruai'r awyr,
Rhwygid, fe'i llosgid yn llwyr.
Creulon Ellyllon mewn llid,
Rifoedd, mewn amryw ofid,
Och o'u bâr anhygar hwy!
Dwfn udant yn ofnadwy!
Ac yno Mawredd gwiwnef,
Heb ofn eu bloedd, ydd oedd Ef,
Dan derfysg o dân dirfawr,
Ac ym mhlith llu'r felldith fawr
Bu Mab Nêr dan drymder dro;
Ni's hunodd y nos honno.
I'm Ior pa beth gymmaraf?
Tebygol i'm nefol Naf
Yw enwog graig o fynor
Y' nghanol anfeidrol fôr:
Pan ddeffry, pan gyffry'r gwynt,
Rhawd, yn nerth y rhuadwynt,
O gaerawg donnau geirwon
Fygythiant, a hyrddiant hon.
Codant yn dorfoedd cedyrn,
Torrant, gwreichionant yn chwyrn;
Rhuthran' i'r llydan fôr llaith
Yn ôl yn wreichion eilwaith.
Er eu torf a'u rhuad hir,
A'u gwg, hi nid ysgogir.
Felly'n awr, y Fall â'i nerth,
Dorf ynfyd, wnaen' dwrf anferth.
Gwâr Iesu, Craig yr Oesoedd,
Dïeuog, dïysgog oedd.

Doi'r dydd o newydd yn awr
I'r dwyrain, hyfryd orawr.
Yn dyner pan dywynnodd,
Llu'r Diawl uffernawl a ffodd.
Ac eilwaith daeth y Gelyn
Traws, gau, at yr Iesu gwyn:
Ymrithiodd, deuodd y Diawl
Fal Seraph nefol siriawl.
E roddai eiriau addwyn,
Parablai, llefarai'n fwyn.
I dorri ei fradwriaeth
Ein Ior rhoi atteb a wnaeth;
Paid, paid, mi wn pwy ydwyt,
Mai'r Diafol hudol hy' wyt.
Ar air dwys yr Ior glwys glân
Hwnnw i'w wedd ei hunan
A drodd, newidiodd ei wawr:
Ebre'r gerwin flin Flaenawr,
Ni wedir, hwnnw ydwyf,
Hwnnw'n wir ei hunan wyf.
Dawnus Wr, Ti'm hadwaeni;
Dymunwn pe 'dwaenwn Di.
Gwelaf gref debygoliaeth
Mai Ti o ddifri' a ddaeth
I ddwyn fy hen feddiannau
Yma'n hir fum i'w mwynhâu.
Tyred i le mwy tiriawn,
I'n taith ar unwaith yr awn.
Ar hyn y Gelyn a gyrch,
Dewr antur, hyd yr entyrch,
A glân Arglwydd goleunef,
Mae'n syn, ar ei edyn ef.
D'wedir (a gwir da ydoedd)
Caniattâd i'w demtiad oedd.
Trwy nen yr wybren yr ânt,
Y ddau cyn hir a ddeuant
I fannog uchel fynydd,
Yr uchaf a'r serthaf sydd:
Ac yno, T'wysog Annwn,
Hudo Nêr oedd hyder hwn.
Teithiasom, daethom ein dau,
Gwelwn, i fynydd golau.
Gwel yn awr nad Gelyn wyf,
Anniweidiol iawn ydwyf:
Ai dedwydd Fab Duw ydwyt?
Am hedd, da rinwedd, yr wyt.
Di welaist brophwydoliaeth,
Os anwir neu wir, ni waeth,
Am ryfedd orsedd eursad
Y llywydd Dafydd dy dad.
Mae'n gaeth y frenhiniaeth hon
I'r Eryr* mawr yr awr'on.
Yn awr cei olwg fawr faith
O'r enwog fyd ar unwaith.
Teyrnasoedd bobloedd y byd,
Yn union yr un ennyd,

* Ymerawdwr Rhufain, yn meddiant yr hwn yr ydoedd Gwlad Canaan yn awr. Eryr oedd arwyddlun milwriaethol yr ymerodraeth Rufeinig.

Yn eu teilwng faintiolaeth,
I Nêr eu dangos a wnaeth.
Fe dd'wedodd, F' eiddo ydynt,
Dderbyniais, a gefais gynt;
I'r hwn b'wyf am ei fawrhâu
Yn rhwydd fwyn rhoddaf finnau.
Dïau dod im' wrandawiad,
Cei roddion mawrion a mâd.
Bŷr gwmpas dy deyrnas Di,
Israel, yn wael, a weli:
A gwael yn wir y gwelwn
Wrth y mawrfyd hyfryd hwn.
Os Mab Nêr, mae 'th dymmer Di,
Wr gwaraidd, am ragori.
Yn awr clyw fwynion eiriau
Y gwirfodd ymadrodd mau.
Pob gwledydd, ceurydd cywrain,
I ti yr wy 'n rhoddi 'r rhai 'n.
Ti ni ommeddi, mi wn,
(Heddyw myfi a haeddwn,
Dy ddylęd yw) f' addoli,
Can's haeddawl yw mawl i mi.
Attebodd, d'wedodd Mab Duw,
Oh enwir araith annuw!
Ymaith, Satan, â'th ammhwyll!
Ymaith, y Diffaith, â'th dwyll!
Y mae 'r berffaith gyfraith gu,
Ddewisgoeth yn addysgu
Addoli 'r Arglwydd ddylit,
Dy Dduw, daw anrhydedd it':
Yn unig, ac yn iawnaf,
Tydi ogoneddi Naf.
Ae'r Anwar hwnt ar unwaith,
Ffodd, a gofidiodd yn faith.
Yr hen Elyn cyndyn cas
Ni wyddai foddion addas
I demtio na hudo 'n hwy,
Rhwydwyd y Llew rhuadwy.
Gobaith nid oes, mae 'n gwybod,
Iddo fyth am hedd i fod.
Ym mysg llu 'r Fagddu e fydd
I'w galon anferth g'wilydd.
Meiddiodd, rhyfygodd yn faith,
Y Diawl ddychwelyd eilwaith.
I'r cribog fannog fynydd,
Yno daeth yn yr un dydd.
Nêr odiaeth yno 'r ydoedd,
Myfyriaw dan rodiaw 'r oedd.
Hen Elyn, hwnnw eilwaith
Areithiai, rhyfygai 'n faith:
Yn ddilys am fy addoli
Rhoddwn y byd hwn i Ti:
Ond Tydi ni fynni fod
Yn hwn yn Frenin hynod:
Gwaelaidd gennyt y gwelir,
Yn hwn pa beth a wnei 'n hir?
Yn union Satan annuw
A gododd, dygodd Fab Duw
I Gaer-Salem ragorwawr,
Ac ar ben y deml wèn wawr,
Ar y pinagl mawr pennaf,
Rhodd nefol Fab nerthol Naf.
D'wedodd, Os Mab Duw ydwyd,
Bwrw 'n awr dy hun i'r llawr llwyd;
Can's dy Dad, o'i râd, a rydd
(Gwir difeth yw gair Dofydd)
Orchymmyn, y mwynddyn mâd,
Yn dyner iawn am danad
I'w Angylion ceinion cu
Dy ddwyn yn fwyn i fynu;
Daliant Di yn eu dwylaw
Rhag taro, briwo mewn braw
Gerwin dy droed wrth garreg;
Nag ofna; ymdafla 'n dêg.
Yr ynfyd Demtiwr anferth
Ga'dd lawn atteb cyfiawn certh;
Na themtia, arswyda 'r swydd,
Dy eurglod Dduw, dy Arglwydd.
Yr Enwir ffodd ar unwaith,
Ffodd Satan yn dân i'w daith.
Uffernol farwol fawrwarth!
Gwnai furmur gan gur a gwarth.
Angylion gwynnion yn gylch,
Ion têg, ddaethant o'i ogylch,
A'r Iesu gymmerasant,
A'i ddwyn yn addfwyn a wnant
O lwyr-dop y deml eurdeg
I laswedd wastadedd têg.
Ar ol ei fuddugoliaeth
Ar y Gelyn cyndyn caeth,
Tirion blant gwynnion y Gwawl
Ganasant yn gynnesawl;—
Er i Adda, gwaela' gwaith,
A'i wraig wèn rywiog unwaith,
Rhai 'n er llithraw o honynt
I rwydau 'r Gelyn gan gynt,
Gwall ydoedd golli Eden,
Yr hynod ardd wiwglod wèn
O'r eirian lân Oleuni,
Duw Nêr, dyma d' amser Di,
Tithau a ddaethost weithian,
Dduw Ior hael, i'r ddaear hon;
Prynaist, ennillaist yn ôl
Baradwys fwy ysbrydol.
Trywanaist yntau, 'r Enwir,
Cwympaist, anafaist e 'n wir.
Ti 'n ddïau a bïau 'r byd,
Etifedd Nef wyt hefyd;
Di ddylit gael d' addoli,
Boed clod pob tafod i Ti;
Yn deilwng bydd, Ior dilyth,
Bydd Di, Amen, yn Ben byth.
Aeth côr yr oror eirian
I fynu at lu 'r Nef lân;
Fe, 'r Iesu, aeth i'w fawrswydd,
Nêr hael, i'w gorphen yn rhwydd.

Chwef. 19. 18

# Y SEITHFED RAN.

Er ei fedydd, wâr Fodur,
Hiraeth am y Pennaeth pur,
Galar a mawr ddisgwyliad
Ymledodd, lanwodd y wlad.
Ar ol ei fuddugoliaeth,
Ior Hedd, o'r diwedd y daeth.
Trigolion Zabulon lwys,
Gwelent oleuni gwiwlwys.
I lawer iawn o luoedd
O isel wŷr, y sawl oedd
Dan dduon gysgodion gau
A mawr ing ym mro angau,
Cododd, egorodd y Gwawl
Yn dês claerwyn discleiriawl:
Mab santaidd anwylaidd Nêr,
Tywynnodd fal Haul tyner.
Ef, Ion mâd, ar fin y môr
A gerddai; wrth y gwyrddfor
Gwelai bysgodwyr gwaelion,
Pedwar o wŷr lliwgar llon.
Galwai hwynt pan eu gwelawdd,
Ufuddhâu wnaen' hwythau 'n hawdd.
Cofient weled y Cyfion
Y dydd y bedyddiwyd Ion.
Yn union, o galon gu,
Dilynasant lân Iesu.
  Ar fŷr bu yn nhref eirian
Cana Galilea lân
Briodas gyweithas gu
Duwiolion mewn mwyn deulu.
Ae'r Iesu a'i wâr weision,
Cywirlu, i harddu hon.
Ior Hedd, Fe wnaeth eglurhâu
Ei nerthol fawrion wyrthiau;
Fe, 'r unig gyfiawn Frenin,
Y dwr, a wnaeth i droi'n win;
Y dwr ger bron ei dirionwawr,
Gwridiai, newidiai ei wawr.
  Angylion gwynnion a gaid,
A dilorf dorf y diawliaid,
Yn dystion i'r Cyfion cu
Dduw enwog ddifeddiannu
A goresgyn cyfrwysgall
Ruthrau, a holl faglau 'r Fall:
Mab Dafydd, ei ddydd a ddaeth,
Gwelir ei fuddugoliaeth
Ryfedd yn eglur hefyd
Gan luoedd bobloedd y byd.
Ae'r hanes am eres waith
Yr enwog Ior ar unwaith
Drwy y wlad; e dyrrai lu,
A'r fyddin wnai ryfeddu,
Glân Etifedd goleunef,
Ei eiriau a'i wyrthiau Ef.
I Gaersalem, gwir Silo,
Wiw dref, pan ddeuodd ar dro,
Y deml dêg, fu'n dŷ mawl Duw,
Dynion cybyddlyd annuw,
Rhai'n prynu, rhai'n gwerthu gaid
Filoedd o anifeiliaid.
Oddiyno, Fe, Dduw union,
A drodd (e frydiodd ei fron)
Y prynwyr a'r gwerthwyr, gau
Ddynion a'u gwag feddiannau.
Gwelent, i'w hofn a'u galar,
Ogonedd yn ei wedd wâr,
Awdurdod y Duwdod oedd
I darfu'r cyndyn dorfoedd.
  Y bobloedd, yn lluoedd llawn,
Tyrrent at yr Ion tiriawn.
Y cleifion o bob clwyfau,
O flin hwyl wnai Ef lanhâu.
Ei gu lais y meirw glywsant,
A deffro'n union a wnant
Torf Annwn, y gwaedgwn gau,
Udent gan ddychryniadau;
A throsodd hwy ruthrasant,
Fil myrddiwn i Annwn ânt.
  Yn ei daith daeth yr Ion da
I lawen Alilea:
Ar fyrder daeth llawer llu,
Tyrrasant at yr Iesu.
Dofydd i fynydd Ef aeth
I'w iawn dêg weinidogaeth.
  Pan fo'r ddaear hawddgar hon
Yn geni meilliawn gwynnion,
Yn fwyn fe wna'r nef wenu,
Hi rydd lawn gynnydd yn gu:
Difera, defnynna'r nef
Olynol, taen y loywnef
Ar laswellt îr, i'w lesiaw,
Fawr fendith y gwlith a'r gwlaw:
Yn ffraeth pan athrawiaethodd
Yr Ion mâd, yn yr un modd
Ei araith, egluriaith glau,
Ddefnynnodd o'i fwyn enau.
Gwelid mwynder ei galon,
Ior Hedd, yn ei lwys-wedd lon.
Ei fendithion cyfion cu
I'r isel a ro'i'r Iesu:
O gyflwr gwael a goflin,
O fyd blwng, o ofid blin,
Yn fuan ân' i Fywyd,
I nefol anfarwol Fyd.
Y rhai a lwyr alarant,
Dedwyddyd i gyd a gânt.
Y llariaidd gwaraidd geirwir,
Hwynt-hwy feddiannant y tir.
Mawrion fendithion dethawl,
Tragywydd y sydd i'r sawl
Sychedant, n'w'nant, medd Nêr,
Gu fendith, am gyfiawnder:

Gennyf, yn y Gogoniant,
Gwledd o ddigonedd a gânt.
Goreugwyr trugarogion!
Am drugaredd lwys-wedd lon
Y gwŷr a gânt drugaredd;
Gwŷn eu byd! hyfryd eu hedd!
Duw agwrdd a fendigai
Y galon bur, glân o'i bai:
Gwelir gan bur o galon
Yn ei Lys yr anwyl Ion.
Ac hefyd, gwyn-fyd y gwŷr
A fyddant dangnefeddwyr!
Fe 'u gelwir (ba fwy galwad?)
Yn feibion tirion y Tad.
O'r wlad y sawl erlidir
Am gredu, am garu 'r gwir,
Mwynhâu' y lân oleunef,
Fy mhlant ennillant y Nef:
Y gwŷr anwyl goronir
Mewn gwynfyd a hawddfyd hir.

Medd Ion, â melyslon lais,
Yn ddïau Mi ni ddeuais
I loywaidd lwyr ddileu
Y berffaith fawr gyfraith gu;
Daethum â mawr fendithion,
A gwyrthiau, i fawrhâu hon;
I'w chwblhâu 'n ddïau 'n ddi ddig,
A'i chadw hi yn barchedig.
Golygwch nef gu loywgain;
Mae 'n hyfryd; i gyd mae 'n gain:
Er tecced, hardded yw hi,
Er glaned yw 'r goleuni,
Nef a daear liwgar las
An' yn wir yn un eirias:
Yr un dydd y rhai 'n doddant,
O'r ddeutu ennynnu wnant:
Ond y berffaith gyfraith gu
Gyfion, ni wna hon henu;
Hi ddeil i gyd yn ddilyth,
Parhâ, ni ddarfydda fyth.

Dawnus Waredydd dynion
Rodd fâd eglurhâd ar hon.
Traethodd ei ymadrodd mwyn
Yn weddus ac yn addwyn;
Mor bêr oedd mwynder y modd
A'r addysg ddoeth a roddodd.
I'w ddawn fwyn hwy rodden' fawl,
Ior dedwydd awdurdodawl:
Un ail erioed ni welwyd!
Nefolaidd Wr llariaidd llwyd!

Daeth Dofydd o'r mynydd mawr
I'r glas ddyffryndir glwys-wawr.
Yno 'r Iesu, o'r llu llawn,
A ddewisodd ei weisiawn.
Deuddeg fu o deulu da
Hyfaeth gynt gan Iehofa:
Gwyrthiau a rhadau i'w rhan,
I'r deuddeg ro'i 'r Ior diddan.
Yn ei daith, Oen Duw ethawl,
I chwalu blin deulu 'r Diawl,
E gymm'rai long, a mawr lu
Hwyliasant ar ol Iesu.
Duai 'r awyr yn dywyll
Dymhestlog, dryghinog hyll;
Rhuai 'r gwyntoedd, lluoedd llawn,
Ymwriai 'r tonnau mawriawn.
Llawn o dwrf ae 'r llyn dirfawr,
Ae 'r tonnau 'n fynyddau 'n awr.
Yr ewynawg dorchawg dòn,
Fawr agwrdd, i ddeifr eigion
Ddisgynnodd; llyngcodd y llyn
Gwreichionawg, dan groch ennyn
Ar reieidr chwyrn o'r awyr,
Y llong o'r golwg yn llwyr.
Trwy 'r rhuadwynt, tra 'r hedai,
Mynych i'r entrych yr ai,
Ac i lidiawg waelodion
Yng nghymmysg derfysg y dòn:
Hi droliai, hi droe eilwaith,
Mal meddwyn, yn y llyn llaith.
Ofn tonnau 'r dyfnderau dig,
A brâd y môr berwedig,
Ofn torfoedd gwyntoedd yn gwau,
A lanwodd eu calonnau.
Mab Duw gwŷn, cyn y cynnwrf,
Cyn y berwawg donnawg dwrf,
Obry ar wely yr aeth:
Y dynion digrediniaeth
At yr Ion yn union ânt,
A'r Iesu a ddeffroisant:
Athraw hael, mae'n drafael drom!
Duw Ynad, darfu 'm danom!

Eu Naf, Awdwr tangnefedd,
Cyfodai, cyhoeddai hedd:
Torfoedd y gwyntoedd sy 'n gwau,
A dwr y gorddyfnderau,
Rhedwyllt donnau rhuadwy,
Heddwch! nag ymwriwch mwy!
Ufuddhâu 'r geiriau ar g'oedd
Wnai dwr y gorddyfnderoedd;
Torfoedd y gwyntoedd i gyd
Yn union yr un ennyd
A glywsant, ufuddhânt hwy
Eu dedwydd Ior clodadwy:
Gwastad yw 'r môr mawr gosteg,
Pob awel sy 'n dawel dêg.

Pa enwog ardderchog Ddyn
Yw hwn? medd pawb o honyn':
Mae 'r mawrddwys wynt, mae 'r myrddiwn
O donnau 'n ufuddhâu Hwn!

Dirinwedd Gadareniaid,
Ei fendith i'w plith a'u plaid
Ni fynnent, ni haeddent hwy
Ei gu nerthol gynnorthwy.
Ar frys o'r fro afrasol
Yr hwyliai Nêr hael yn ôl.
I fynydd (uwch dolydd da)
Aeth sywdeg wŷr Bethsaida;
At Ior ar frys tyrrai 'r fro,
Nawdd anwyl, pan oedd yno.

Hwy, addwyn wŷr, oedden' ail
I fagad mawr heb fugail
O ddefaid; Naf yn ddifyr
A ro'i gain addysg i'r gwŷr.
Y Gwaredydd, Llywydd llon,
Gwir Feddyg â gwâr foddion,
Pob afiach yn iach a wnaeth,
Gannoedd, heb feddyginiaeth.
Gwiw rinwedd gair ei enau
Wnai 'n uniawn eu llawn wellhâu.
Y cloff sydd yn hoff ei hynt,
'I aelodau 'n wrol ydynt:
Yn llon llammai 'n llawenwiw
Fel yr hydd ar fola rhiw.
O ddu nos y dall ddoi 'n awr
I ganfod y nef geinfawr:
Yr olwg gynta'r welodd
Oedd Ior hael, ei Dduw a'i rhodd.
Clywai'r byddar lonwar lef
Haelionus Ior y loywnef.
I fudion rhoes dafodiaith,
Molent Naf yn gyntaf gwaith.
Dirfawr ryfeddai'r dyrfa
Ei faith garedigwaith da.
Hynodawl wyrth, ni wedir,
Yn odiaeth a wnaeth yn wir!
Wele'r cloff mor hoff y rhed!
Golwg y dall sy 'n gweled!
Ei weision ddoent at Iesu,
Ei fwynion ddyscyblion cu:
Yr awr hon y mae'n hwyrhâu,
Weithion ymâd â hwythau:
Mae dinas yma danynt
Yn yr hon digonir hwynt.
Y tirion Ion a wenawdd,
Arwydd yn wir o'i dda nawdd:
Y rhai'n, lawer o honynt,
Gwaelion bellennigion ŷnt;
Rhoddwch chwi, yn rhwyddwych iawn,
Wŷr dawnus, fwyd i'r dyniawn.
Nêr addwyn, nyni roddi!
Yma 'n awr mae gennym ni
Pum torth, ein hymborth yw hyn
I gyd, a dau bysgodyn.
D'wedodd yr Ion clodadwy;
Gorphwysant, eisteddant hwy.
Ar y gwellt, y glaswellt glân
Tew-ddwysaidd, eisteddasan'
Yn rhestrau, 'n finteiau têg,
Gariadus lu goreudeg.
Troen' olwg tra anwylaf
Ar hyfryd wynebpryd Naf.
Naf anwyl, troi wnai i fynu
Ei olygon ceinion cu.
Bendithiodd, rhannodd Ior hwynt
I'r deuddeg, â'i râd iddynt;
A'i weision a rannasant
Y fendith i blith ei blant.
Wele wledd i'w rhyfeddu!
Er amled, llawned y llu,
Pum mil, eu haneiddil Nawdd,
Oen Duw gwŷn, a'u digonawdd.
Ac wedi 'r wledd ryfeddol,
Rhyfedd fu'r amledd ar ôl!
Yr huan eirian ei wawr
Yn y lawen ne' loyw-wawr
Hir oedi draw yr ydoedd,
A gwenu ar Iesu 'r oedd;
Gwridiodd wel'd ei Greawdwr;
Dan werddlas deyrnas y dwr
Ymguddiodd, fe welodd Wawl
Yn gwawrio 'n fwy rhagorawl.
Y dyrfa, wedi darfod
Y wledd, mewn gorfoledd fod
Y mwynwawr Brophwyd mawr mâd,
Immanu-El, Dymuniad
Pob gwledydd, yn ddedwydd iawn
Wedi 'i eni 'mhlith dyniawn,
Hwy fynnent wneud Naf union
Yn Rhi ar y ddaear hon.
Iesu 'n ddistaw draw a drodd,
O'u golwg Fe a giliodd.
O'i hynod fawr frenhiniaeth,
Amryw amser, Nêr a wnaeth
Roi addysg hyddysg am hon
I'w ddewisawl dda weision.
Er hyn tymmer eu henaid
Yn ddall ac anghall a gaid:
Glynodd eu ffol galonnau
Wrth y byd gwageddlyd gau.
Rheolwyr yr Israeliaid,
Cyndyn ac anhydyn haid,
Pob gradd oedd am ladd hael Ion
Daionus o blith dynion.
I'r Pennadur eglur oedd
Y galon a'i dirgeloedd.
Fe roddai fawr wae iddynt,
Cyffrôdd, argyhoeddodd hwynt:
Athrodai eu gweithredoedd
A'u meddyliau gau ar g'oedd.
Er gweled, medd Ior gwiwlwys,
Mawr wyrthiau a doniau dwys,
Er hynod ganfod rhinwedd,
Ac er cael cynnyg hael hedd,
Dyrys-wŷr daear isod!
Mewn heddwch ni fynnwch fod!
Duw Ior bu lawn dair blynedd
O hyd yn pregethu hedd.
Myrddiynoedd bobloedd y byd
A ddeuent atto 'n ddiwyd.
Po fwyaf ro'i Naf o nawdd,
Mwy gofid yma gafawdd.
Y Temtiwr, Hudolwr du,
Yn anwar wnai ennynnu
Haid o offeiriaid di ffydd
I rwydo y Gwaredydd
A'u cabledd, â'u gwagedd gau,
A'u didawl draddodiadau;
Och! wed'yn lladd Iachawdwr
Y byd; i'r gweryd â'r Gwr!

Er dichellion geirwon gau
'R dig, ddiawledig aelodau.
Er hyn amser Nêr y Nef,
Ei ddydd yr oedd i ddioddef,
Bennodwyd gan Bennadur
Nef loywglod, y Pendod pur.
Dilys Ef oedd i dalu,
Dros holl Grêd, y ddyled ddu.
Y Gwaredydd gwir odiaeth,
Glân Ior, i Dabor y daeth.
Iesu gymmerth o'i weision
Dri, o ran mawr fri, i'r fron.
Trymmion ŷnt ar ol tramwy,
Gorweddant a hunant hwy.
Ar Dduw, Ior a weddïodd
Yn ol ei arferol fodd.
Hwy yno 'n ol dihunaw
Gaent nefol hyfrydol fraw.
Newidiodd yn hynodawl
Ei gain wedd fal y gwŷn wawl.
Disgleirdeb, dwys eglurder
Hyfryd wynebpryd eu Nêr,
Wir-Naf, pan d'w'nnai arnynt,
Amlhâu wnai eu hofnau hwynt.
Canfyddent, mewn cain foddion,
Ddau wr, yn ail i wedd Ion;
Moesen lawen, Elïas,
Nefol ddewisol ddau was.
Drwy addas ymadroddion
Am gur ei lafur, hael Ion;
Ei derfyn dwys a dirfawr,
A'i fâd adgyfodiad fawr,
Y dedwydd wŷr clodadwy
Yno 'n hawdd adwaenen' hwy.
D'wedent (ni wyddent yn wir
Ddi wâd pa beth a dd'wedir)
Mae 'n dda bod yma, O Dad!
Duw pob dawn, a gawn gennad?
Gogonedd eglurwedd glwys,
Mal golau gwmmwl gwiwlwys,
A'u todd, cysgododd y gwawl
Y gwŷr mewn modd rhagorawl.
Hwy glywent, o'r goleuwawr,
Bereiddlef Ion Nef yn awr:
Hwn yw fy Mab, Cynfab cu,
Monwesol, eich mwyn Iesu:
Gwnaeth gyflawn Iawn i'r wiwnef,
Gwnaed pawb wrando arno Ef.
Ofn a braw a fu 'n eu bron,
Syrthio wnaen' yno 'n union
Ar y ddaear liwgar las,
Gu rywiog dri goreuwas.
Cyffyrddodd, cododd Ior cu
Ei fwynion blant i fynu:
Fab glanaf Naf y Nefoedd,
Ond Ef, neb yno nid oedd.
Y gwir Iesu hael grasol
Ddenai 'n awr i'w wedd yn ôl.
Nêr, yn anwylber, a wnaeth
Gwed'yn roi addysg odiaeth:
F' anwylion ddyscyblion cu,
Gwiliwch arnoch am gelu
Yr olwg lân oreulwys
Hyd na ddêl dydd dirgel dwys
Y cyfyd o feirw (cofier)
Gynfab ac Anwylfab Nêr.
Hwynt-hwy ni ddeallent hyn,
I Nef hwy ofnen' ofyn.
Y dydd mawr yn awr a wnai
Ddyfod, pan ddïoddefai:
Ei hynod lân frenhiniaeth,
Ion pur, yn eglur a wnaeth.
Yr Iesu i'w wâr weision
Yn glau wnaeth eglurhâu hon.
Rhagdd'wedodd y modd a'r màn
O'i hynod angau 'i hunan.
Yn fwyn yr wy 'n rhoi f' einioes
I gur, i lafur mawr loes.
Ni's gall y byd gymm'ryd, gwn,
Fy einioes, oni fynnwn:
I ddodi 'r byd yn ddedwydd
Myfi sy 'n ei rhoddi 'n rhwydd.
Myfi hael roddi yr wyf
Fy einioes; ond pan fynnwyf
O'r mawrion gaerau marwol
Fi 'n wir a ddeuaf yn ôl.
Rhagdd'wedodd rym llym y llid,
A'r dinystr mawr a daenid
Ar Salem a'i phreswylwyr;
Am ei weision, waelion wŷr,
Gwnaent hwy, â chynnorthwy Nêr,
Daenu 'r Efengyl dyner.
E ro'i 'r Ior, yn wâr eirian,
Ddarluniad goleufad glân
O'r gadarn fawr Farn a fydd,
A'r dirfawr Fyd na's derfydd.
Teulu yr Apostolion
Yn ddistaw, â braw i'w bron,
Rhyfeddent, ni fynnent fod
Yr awr hon i'r Ior hynod.
Heibio 'r ae eu hoyw obaith,
Gw'radwydd yn lle mawrlwydd maith.
Rhagdd'wedai'n awr lwyddfawr les
Afonydd gwaed ei fynwes.
Mae 'n wir, pan gyfodir Fi,
Rhag barn gwnaf gadarn godi
Y ddinerth nattur ddynol,
Y byd i Fywyd ar f' ôl.
Pa gu lu, pwy a glywaf,
Aml iawn ŷnt, yn moli Naf?
Hosanna draw a seiniant!
Seinio 'n awr Hosanna wnant!
Wele 'r Brenin, hael Brynwr!
Ar asynan gwan mae 'r Gwr!
Myned yn awr, drymfawr dro,
I Salem y mae Silo!
Y cloffion, rai gweinion gynt,
Rhedeg o'i flaen yr ydynt!
I'r gwâr Feddyg rhagorawl
Yn llon gwna 'r mudion roi mawl!

Y deillion, o galon gu,
Molant, dangosant Iesu!
Y dyrfa diriona' 'rioed,
Lwysgu, ddygant wyrddlasgoed,
Neidiant o flaen Pennadur
Y wenfaith Nef berffaith bur.
Hosanna i gyd a seiniant!
Llawenu yn Iesu wnant!
Haid o'r Phariseaid sydd
Yn flin ac yn aflonydd:
Gwelwch, meddant i'w gilydd,
Wŷr mâd, pa lesâd y sydd?
Y byd, mor anwybodol,
Trwy dân yr ân' ar ei ôl!
Disgwyliai'n awr mawr a mân
I siriol deyrnas eirian
Naf agwrdd, i'r Nef wiwgerth
Egawr yn awr, mewn gwir nerth.
Eu heneidiau llawn ydynt
O fawrion hen goflon gynt.
Meddyliant am y ddilorf
Olwynawg odidawg dorf
Odiaethol fu 'nghylch Dothan
A gwr Duw, yn gaer o dân!
Disgwyliant y gwelant gôr
Eirian yn llenwi'r oror,
Arfogion weision Iesu
Yn fflammawg olwynawg lu!
Y gwelid yr Ior gwiwlan
Ar orsedd oleuwedd lân!
Y doi'r byd i gyd yn gaeth
I'w oleudrefn lywodraeth!
Daeth Nêr ar gyfer y gain
Gaerog fawr ddinas gywrain.
O'r mynydd, gu Lywydd glân,
Draw Fe welai'r dref wiwlan.
Ystyriodd yn dosturiawl
Ddiwedd ei mawredd a'i mawl.
Nefol garedigol Dad!
Oh mor bur yw cur cariad!
At Salem ei drem pan drodd,
Wele'r Iesu a wylodd!
Oh na wyddit yn addas,
Ferch Sïon! gu roddion gras!
I'th einioes a berthynan'
Oh Salem oleudrem lân!
Cuddiedig heddyw ydynt,
I'th olwg anamlwg ŷnt.
Ac Ef a'r dorf o'r dirfawr
Fynydd Olewwŷdd i lawr
I Sïon; hon a hynod
Gynhyrfai, rhyfeddai fod
Mawr lïaws, myrdd mor lawen
A rhif aneirif y Nen!
Pa dirion lon lawenydd!
Rhyfedd son y rhifoedd sydd!
Pwy'n ddilys, p' un feddyliwn
Yw'r mawrglod Ior hynod hwn?
Cyhoeddodd, llefodd y llu,
Hir oesed! Ef yw'r Iesu!

Eres Brophwyd mawr eirian
Gwlad dda Galilea lân!
Yn y Nef boed tangnefedd!
I'r ddaear boed hawddgar hedd!
Aeth Ior i'w deml dra thirion,
Fe wnaeth yn glau lanhâu hon.
Mudion, deillion, cloffion claf
Pawb yno o'u pob anaf,
Yn fwynaidd gan Naf uniawn
Gaent ryddhâd a gwellhâd llawn.
Rhyfeddu a wnai'r llu llon,
I'r Iesu mawl a roeson'.
Moliannu, plethu wnai'r plant
Gu gân i Dduw'r Gogoniant.
Hoff wŷr! yr archoffeiriaid
Yn ennyn mewn gwŷn a gaid:
Ennyn a wnai'r Gelyn gwyllt
Y gwŷr â digter gorwyllt.
Treiddiawdd y Cythraul trwyddynt,
Mewn grym, mor gyflym a'r gwynt.
Yn awr offerynnau wnaeth
A synwyr i'w wasanaeth.
Rhai diras addas oeddynt,
Meddiannodd, cynhyrfodd hwynt.
Ac weithion y gweision gau
Ynfydent gan ofidiau.
Y Cynghawr nerthfawr a wnaeth
Dyrru at eu bradwriaeth.
Du gaeth ddrwg, deg a thr'ugain
Wnai 'mgasglu'n y deml gu gain.
Dig'wilydd frâd y Gelyn,
Holl falais a dyfais dyn,
Ar waith a roddir weithion
I hudo, i rwydo'r Ion.
Gan Dduw lwyd rhwydwyd y rhai'n
A'u hynod rwyd eu hunain:
Eu gwagedd a gai ogwymp,
Cyhoeddus a gwarthus gwymp.
Synnai'r gwŷr drygnaws annuw,
Rhoent heibio demtio Mab Duw.
Athrawiaethu y llu llawn
A dyrrai atto'n diriawn
Yn ei deml wnai Ion y dydd;
Ior mwyn, ac'r nos i'r mynydd:
Ac yno gweddïo'n ddwys
Ar Geli wnai'r Ior gwiwlwys;
A galw am fuddugoliaeth
O'r dyfnder ar Nêr a wnaeth.
Satan a'i lïaws etto
(Rheolwyr, bradwyr eu bro)
A dyrrent yn fradwrawl
I lys gwas dyrys y Diawl;
Y bleiddiaid yn danbaid ŷnt,
Arswydus, cyfrwys ydynt.
Ei ladd a ddwg in' lwyddiant,
Dwg fendith i'n plith a'n plant.
Ond, meddan', Pa fan? pa fodd?
I'w rwydau'r byd a redodd!
Mewn chwerwder a digter du
Llew Annwn wnai hyll wenu:

I'w brâd, oedd mor barodol,
Hwn ei frâd ni âd yn ôl.
Hedodd, prysurodd fel saeth,
Dygodd fab colledigaeth
Mewn cyflym frys i'r llys llawn;
Hwn yno a wnai 'n uniawn
Gynnyg, am wael deganau,
Gwerthu 'r Ion i'r gweision gau.
Llon dros ben llawen yw 'r llu!
Câd Annwn yn cyd-wenu!
Tri-deg, i'r gwas troadwy,
Darn arian gynhygian' hwy;
Ac am hon, anraslon rodd,
Suddas a ddwfn droseddodd.
Ei ddiffaith waith oedd weithion
Bradychu 'r Iesu, wir Ion.
Neshâu a wnai dyddiau dwys
Yr Wyl ddirfawr oreulwys:
Ae 'r Iesu a'i wâr weision
I gyd i'r Wyl hyfryd hon.
Ac ar swpper, Nêr ei nawdd
A'i gariad a egorawdd:
Fy nghyfeillion mwynion mâd,
Manwl oedd fy nymuniad,
Mi ddewisais, medd Iesu,
Gael bwytta 'r Pasg ola 'n gu:
Gwelwch, bwytta 'r Pasg olaf
Yn awr gyda chwi a wnaf.
Duw ethol wnai fendithiaw
Y cwppan yn ei lân law:
Didwyll gyfeillion dedwydd,
Derbyniwch, rhennwch e 'n rhwydd.
Ar ol hon, yr Wyl hynod,
Meddaf, ni byddaf yn bod
Mwy i fwynhâu llwythau llon
Ffrwythydd y gwinwŷdd gwynnion:
Ond yng ngwlad geinfad y Gwawl
Nyni yfwn win nefawl.
Y llidiog hir drallodiawn
Gefais I, digofus iawn;
Chwithau fy mlinderau dig
A wyddoch drwy 'r byd eiddig.
Ac yn ddïau, gorau gwŷr,
Anwyl iawn, fy nilynwyr,
I chwithau gorseddau sydd,
A gwledd yng ngwlad Goleuddydd.
Ior hael, edrychodd ar hyn
Ar olwg ei chwerw elyn:
Iesu Grist yn drist a drodd,
Duw Fodur, du ofidiodd;
Un o honoch wna heno
Ddrygionus druenus dro,
A dichell fy mradychu
I'm chwerwon elynion lu.
Diderfyn brudd-der dirfawr
Mal saeth i'w bron aeth yn awr:
Galar heb ei ddisgwyliaw!
Trymder o brudd-der a braw!
Ior glân, gofynan', ai fi
Yttwyf a wna hyn itti?
Troe Nêr, mewn mawr brudd-der bron,
Ei liwgar lân olygon:
Gwael adyn! hyn fydd ei hawl,
Drwg wae iddo 'n drag'wyddawl!
Heb wridio, meddai 'r bradwr,
Ai fi, Oh Geli, yw 'r gwr?
Och'neidiodd, d'wedodd Mab Duw,
Gwir iawn, tydi, 'r gwr annuw.
Un awr amser ni erys,
Fe rêd, a gwna dithau frys.
Ac yna T'wysog Annwn
Feddiannodd, gynhyrfodd hwn.
Heb uno'n, yn union aeth
Y diras i'w fradwriaeth
Echrydus ddrygwaith chwerwdost!
Aeth i'w golledigaeth dost!
Ni wyddent (gan anoddef
Brudd-der am Fab Nêr y Nef)
Amcanion Ior cyfion cu,
A'i fwriad yn llefaru.
Pan aeth Suddas, ddiras ddyn,
I ddwylaw ei ddu Elyn;
Medd Ion, Mi weithion yn wir
Yn addas ogoneddir;
Mawrhêir y Tad mawrfad mau,
Naf anwyl, ynnof finnau.
Ym myd cynhenllyd cyn hir,
F' anwyliaid, Fi ni welir:
Dïau Fi, mewn ennyd fèr,
I'r fawrdaith âf ar fyrder.
A chwithau, y gorau gaid,
Fi ni welwch, f' anwyliaid:
Ennyd fèr ffŷ trymder trwch,
Ac eilwaith chwi a'm gwelwch.
Hyn yn orchymmyn i chwi,
Yn wir addysg, wy 'n roddi:
Byddwch, dduwiol weddol wŷr,
Yn un fryd fwynion frodyr.
Chwi gerais; cofiwch garu
Beunydd eu gilydd yn gu.
Wrth yr arwydd hylwydd hon
Adwaenir chwi 'mhlith dynion.
Yn daer fwyn Pedr ofynawdd,
B' le 'r ai, Naf, anwylaf Nawdd?
I'r lle 'r âf, medd Gwiw-Naf gwŷn,
Gwel, ni's gelli 'n awr ga'lyn.
E fydd etto o'th fodd itti,
Ar ol hyn, fy nilyn I.
Pa'm, Naf, na allaf yn awr?
Erod âf yn garcharawr:
Fy einioes, os gofynir,
A roddaf, fy Naf, yn wir.
Golygodd, e dd'wedodd Ion,
Na siomma dy hun, Simon.
Dilys taer geisiodd d' Elyn
Dy nithio a'th dwyllo, 'r dyn.
Trwy Dduw (can's taer weddïais)
Yr Ellyll a gyll ei gais.
Cofia hyn, mai cyn canu
Yn siriol blygeiniol gu

O'r ceiliog godidog da
Y nos, y plygain nesa',
Yn ddïau cyn cân ddwywaith
Tydi a'm gwedi dair gwaith.
  Yn awr, Ion mawr, cymmerodd
Fara 'n llon; Fe radlon rodd
Ei fendith arno 'n fwyndeg,
Rhannodd, pan dorrodd, e 'n dêg.
Dywedodd, Fy nghnawd ydyw,
Derbyniwch, a byddwch byw.
Gwnewch hyn, 'r wy 'n erfyn, medd Naf,
I dyner goffa 'm danaf.
Ior Hedd, cymmerai 'r awr hon
Y gwin â'i ddwylaw gwynnion:
Dïolchiadau, gorau gwaith,
A dalodd i'w Dad eilwaith.
Hyfwyn lefarodd hefyd,
Cymm'rwch ac yfwch i gyd.
Dywedodd, Fy ngwaed ydyw,
Mâd waed fy Nghyfammod yw,
Cyn hir ollyngir yn llif
Yn wir dros dorf aneirif.
Rhag llid daw rhyddid drwyddaw,
I'm plant maddeuant a ddaw.
Na flinwch yn aflonydd,
Eich calon raslon fo rydd.
Credwch i'r Tad mawrfad mau,
A mwyn gredwch i minnau.
Yn Nhŷ fy Nhad, hoyw-wlad hedd,
Yno mae amryw annedd.
Myn'd yr wyf am hyn o dro
Yn Flaenawr nefol yno.
A phan âf, cyflêaf lon
A dilys le 'r duwiolion.
Fi 'n ddïau 'n fwyn a ddeuaf
Yn ôl, a'ch derbyn a wnaf:
Mewn eirian lân lawenydd
Chwithau a Myfinnau fydd.
Felly gwyddoch, gyfeillion,
Lle 'r âf, a'r ffordd lwysaf lon.
  Un, ar hyn, o honyn' hwy,
D'wedodd, Arglwydd clodadwy,
Ion mâd, b' le 'r wyt yn mudaw
Ni's gwyddom, na 'r ffordd drom draw.
  Myfi, o ddifri,' medd Ion,
Clywed, coelied pob calon,
Myfi yw 'r Ffordd hyffordd hon,
A'r Gwirionedd gwâr union.
Hynny 'n wir fy hunan wyf,
Fi dedwydd Fywyd ydwyf.
Nid yw neb yn adnabod
Naf, oni byddaf Fi 'n bod
Drwy 'r Yspryd goleubryd glân
I wawrio arno 'n eirian.
Myned yr wyf, wŷr mwynion,
Fry at fy Nhad i'r wlad lon.
Pob peth gan ddifeth Ddofydd
A geisioch, ofynoch, fydd:
Yn f' enw yr hyn ofynir,
Hynny a wnaf Finnau 'n wir.
Gofynwch, derbyniwch, bydd
I chwi lawn wych lawenydd.
O cherwch Fi 'n wych eirian,
Wŷr clau, o galonnau glân,
Gwiriwch hyn drwy bur gariad
I'm cyfion orch'mynion mâd.
Myfi ro' weddi ar Ion,
Fe rydd Ddiddanydd union;
Yr Yspryd Glân diddan da
I'r wiwnef a'ch arweinia.
Etto ennyd, a'r byd bas
(I'w foddio nid wyf addas)
Ni 'm gwel; ond yn geinmyg iawn,
A mynych, y gwŷr mwyniawn,
Gwelwch chwi Fi mewn golau;
Yn hyn chwi wnewch lawenhâu.
Ynfydion beilchion y byd
Eu mwyniant gânt am ennyd;
Gwenant yn eu drygioni,
Yn ennyd eich adfyd chwi.
Er hyn, i'w dychryn daw 'r dydd
Hwy wylant drwy 'r heolydd.
Eich galar chwi a gilia,
O'ch tristedd daw diwedd da.
Dïau chwi ni's gadawaf,
Yn ôl dychwelyd a wnaf.
Yn Bennaeth byw wnaf beunydd
Y' ngolau ardalau 'r dydd.
Felly chwithau, gyfeillion,
Gewch fwynbâd o'r un wlad lon.
Af hefyd o'r byd o'm bodd
Yn fwyn at Dduw 'm hanfonodd.
Gwelaf chwithau 'n ddigalon
Dan drymder o brudd-der bron.
Er hyn y mae 'n wir hynod
Mai 'n llesol a buddiol bod
Immi fyn'd o'r byd ymaith,
Gwna 'r weithred ymwared maith.
Esgynnaf, anfonaf Fi
Iachus Ddiddanydd ichwi.
Mwyn bur Ion, mewn bêr ennyd,
O'u bâr argyhoedda 'r byd.
Rhoddi i chwi o'r rhwyddaf
Hedd a thangnefedd a wnaf.
  Dan bwys nos wir-ddwys oerddu,
Nos erchyll dywyll a du,
Glân Ior, i gwrdd gelyniaeth,
Dros Gedron yn union aeth:
Aeth Iesu, trwm a fu 'r tro,
I unig ardd oedd yno.
O'u rhif dewisai 'r awr hon
Yr Iesu dri o'i weision.
Myned gyda 'r gwŷr mwynwawr
Wnaeth Ior cu o'r neilldu 'nawr.
Fe wnai lwyr ddwfn alaru,
A phruddhâu hyd angau du.
Gwiliwch, meddai 'n un galon,
Wŷr hael, gyd â mi 'r awr hon.
Gweddïwch, a gwyliwch gaeth
A dygn dost brofedigaeth.

Ae mawr a da Fab Mair dêg
O'u cyrraedd ergyd carreg.
Heb nawdd i'w ddisgwyl gan neb
Yr Ion ae ar ei wyneb:
D'wedodd, Fy Nhad, od ydyw,
Oh! i'th nawdd ai anhawdd yw!
Poenau hyll y cwppan hwn,
Du ofid, mal nad yfwn?
Ai rheidiol i'th Fawrhydi,
Dduw mawr! ei roddi i mi?
Dy 'wyllys, dilys yw 'm dolef,
A wneler, Oh Nêr y Nef!
Ar Dduw hael rho'i 'r weddi hon;
Iesu ddaeth at ei weision
Gwâr addwyn; cysgu 'r oeddynt;
Galwodd, a dihunodd hwynt.
Yn brudd mewn braw draw pan drodd,
Cwsg wed'yn a'u cysgododd.
Dïenaid oedd y dynion
Weled Nêr dan brudd-der bron.
Eilwaith ar ei Dad iolodd,
Ar Dduw yr un weddi rodd.
Yn ol at ei anwyliaid
Pan ddaeth, mewn cwsg caeth eu caid.
Yn brudd mwyn rybudd a roes,
Hynod gariad i'w heinioes.
Yn addas hwy ni wyddant
Pa esgus gweddus a gânt.
Ae 'n ôl mewn mawr iawn alaeth,
Gweddïo dan wylo wnaeth.
Poen ydoedd i'r Pennadur,
Dïeithrol angerddol gur.
Y dwr oedd hyd ei ruddiau
Heb rif yn genllif yn gwau.
Ior Hedd, chwysodd y rhuddwaed,
Ei chwys oedd fal y coch waed.
Tros galon yr Ion yr oedd
Mal rhuthrawg ferwawg foroedd,
Digofus arswydus sain
Crych lifoedd yn croch lefain.
I gyd ymchwyddai 'n gedyrn
Holl donnau pechodau 'n chwyrn.
Dygai boen a dig benyd
Tros luoedd bobloedd y byd.
Daeth Angel yn dawel dêg
O fwyn wlad Nef wèn loywdeg
At Iesu i'w nerthu 'n awr
Cyn ei ddwys derfyn dirfawr.
Mewn prudd-der ae Nêr yn ôl;
Ei lân weision olynol
A gafodd, gan eu gofid,
Yn cysgu, 'n ll'w'gu rhag llid.
Chwithau, a hunwch weithion,
Yr ennyd anhyfryd hon,
Pan ruthrir, pan fernir Fi
Drwy gynnwrf a drygioni?
Ar y geiriau rhagorawl,
Suddas a llu diras Diawl,
Doi 'r dyniawn drwy y dunos
I ddal Nêr yn nyfnder nos.
Cleddyfau, ffaglau, a ffyn
I'w dwylaw bob du elyn,
Eiddigus ddrwg swyddogion,
Oedd ganddynt i'r helynt hon.
Daeth Suddas, drygwas o draw,
Annoethaidd, dan wenieithiaw,
Cusanodd, traddododd Ef
A gweniaith, Fawredd gwiwnef.
Wrth yr arwydd hyrwydd hon,
Greulonwawr hagr elynion
O'r ddeutu dynesu wnant;
Ac yna Ior Gogoniant
Ofynai, pwy geisiai 'r gwŷr?
Yr Iesu, meddai 'r treiswyr.
D'wedodd Nêr coeth gloywddoeth glân,
Hwnnw wyf Fi fy hunan.
Dirym y cwympai 'r dewrion
I'r llawr draw, â braw i'w bron.
Codant, rhyfeddant yn faith;
Fe wnelai ofyn eilwaith
Pwy geisient?—meddent un modd,
Yr Iesu: Yntau frysiodd
Eu hatteb,—Myfi yttyw.
Yna, o'i fodd, Ion yn fyw,
Y swyddogion geirwon gânt
Y Mawredd a gymmerant.
Yr Iesu ro'i ei weision
Yn rhydd o faglau 'r awr hon.
Llanwyd Pedr â digllonedd;
Torrai glust gwas taer â'i gledd,
Am feiddiaw rhoi dwylaw dig
Ar ei anwyl Ior unig.
Y mwynfad Geidwad gwed'yn
Geryddodd, waharddodd hyn:
O'i wir gariad rhagorol
Ei hadfer wnai Nêr yn ôl.
Drwg wŷr a didrugaredd,
Carcharent, rhwyment Ior Hedd.
Ei hoff weision a ffoisant
I gyd o benyd i bant.
Ae 'r swyddogion creulon cras
I lwys enwog lys Annas.
Bûm bob dydd beunydd yn bêr
Yn y deml, mewn mwyn dymmer,
Medd Iesu, 'n addysgu 'n ddoeth
Yr union ffordd i'r annoeth:
Ac yno 'm clywsoch ganwaith
Mewn hoffder a mwynder maith;
A dilys neb ni 'm daliai
Er d'wedyd i'r byd eu bai.
Ond hon yw awr drymfawr drwch
Tew allu y Tywyllwch.
At Annas ddiras pan ddaeth
Y milwyr, caent ganmoliaeth.
Yntau, mewn rhwymau 'r awr hon,
Anfonawdd Fab Naf union
At Gaiaphas, y gwas gau,
A'i rydaer offeiriadau.
Draw 'r eilwaith Pedr wrolodd,
Ar ol Crist yn drist fe drodd.

Cerddodd, dilynodd hyd lys
Y taer offeiriad dyrys.
'Sgrifennyddion, hyfion haid
Aneirif, a'r henuriaid
Oedd yno 'n gwyro barn gu
Gymmwys, i ddwys ladd Iesu.
Pedr, â mawr wylder i'w wedd,
Deuai i wel'd y diwedd.
Tra bu'r gwŷr, bradwyr eu bro,
Addig, yn traws gyhuddo,
Yn gwatwor yr Ior eirian
A'i addysg, oleuddysg lân,
Geneth, porthores geinwawr,
Morwyn wnai ofyn yn awr
I Bedr, gwas i bwy ydoedd?
On'd un o lu Iesu oedd?
D'wedai, fal anghredadyn,
Gwadai yr adwaenai'r Dyn.
Fe ofnodd, ac fe drodd draw
O w'radwydd blin i rodiaw.
Rhoi grymmus gân o'r grommen
Wnai'r ceiliog bywiog ei ben.
Simon, was afresymmol,
O'r neilldu wnai nesu 'n ôl.
Safai, ymdwymnai wrth dân;
Gwaraidd forwynig eirian
A dd'wedodd, Yn ddi wadu,
Hwn, wŷr llon, sydd un o'r llu.
Yn annoeth fe wnai ennyn,
Tyngai na adwaenai'r Dyn.
Brwd yr anfonai'r bradwyr
Am hadlyd, am waedlyd wŷr:
Gau dystion ëon a wnant;
Anudonwyr nid unant;
Yr oeddynt oll am ruddwaed,
Hwy fynnan' weithian ei waed.
Tra bu'r gwâr Iesu grasawl
O flaen gweision duon Diawl,
Mewn awr dyma un arall
O chwerwon feibion y Fall
Cyhoeddus yn cyhuddaw,
Mi 'th welais, mi 'th dremiais draw,
Do 'n yr ardd; tydi 'n wir wyd
O honyn' fal y'th henwyd.
Ammhwyllo 'n union a wnai,
Gofidiodd, ac fe wadai;
Gwridiai, fe regai'r adyn,
Tyngai na adwaenai'r Dyn.
Nerthawl blygeiniawl ganu
Yn glochog wnai'r ceiliog cu;
Hwythau yn glau a glywan'
Ei glauar lef eglur lân.
Glwysaidd droi golwg lesol
Yn dyner wnaeth Nêr yn ôl.
Yr olwg fu 'n chwerw alaeth,
I galon Simon bu 'n saeth:
Taran oruwchnatturiol
I'w galon anffyddlon ffol!
Taran, tu hwnt i eiriau,
Wnai 'n 'scyrrion ei galon gau!

Dan riddfan weithian ae 'n ôl
O neuadd yr annuwiol.
Dygn a fu'r wadedigaeth!
Och'neidio dan wylo wnaeth;
Yno, mewn chwerwder enaid,
Ei ddagrau yn gwau a gaid.
Haid o offeiriaid di ffydd,
Bugeiliaid gau heb g'wilydd,
Ar y pur Nêr poeri a wnant,
Yr Ion tirion watworant,
Ei gu wedd hwy a guddiant,
Ei daro, dan wawdio, wnant.
Pan wawriai, pan dorrai 'r dydd,
Deuai'r flin dorf aflonydd
A'r glân Ior i'w Cynghor caeth
I lenwi eu gelyniaeth.
Eistedd ar eu gorseddau
Mewn brâd gwyllt, mewn bwriad gau,
Yn hanner lloer a wnai'r llu,
Fawr-Nêr, i'w euog farnu.
Barnydd a llywydd y llys,
Taer archoffeiriad dyrys,
D'wedodd yr ynfyd adyn,
Tydi, beth a dd'wedi, Ddyn?
Teilwng gyflawn dystiolaeth,
I'th erbyn, O Ddyn! a ddaeth.
Ei gu Enw a gai anair,
Fe dawodd, ni dd'wedodd air.
Yn Enw yr Ion cyfion cu
Ydwyf yn dy dynghedu
Dd'wedyd i ni yn ddidwyll,
Yn eglur, a thrwy bur bwyll,
Ai anwyl Fab Duw 'r wiwnef
Wyt yn wir? ai Crist o Nef?
Y byw Nêr atteb a wnai
Yn fwyn i'r hyn ofynai:
D'wedaist mai Mab Duw ydwyf,
A dïau yw Mab Duw wyf.
Yng ngallu 'r Tad mawrfad mau
Mi welwch ar gymmylau
Eglurwawr nef yn glaerwyn;
Y byd oll wêl Fab y Dyn.
Yna'r barnwr yn union
Lidiodd, e frydiodd ei fron;
O'r ogylch ei wisg rwygai,
Anfad naws, ynfydu wnai:
Cabledd! cabledd! gwagedd gau
Annoeth a ddaeth o'i enau!
Chwithau, beth meddwch weithion,
Wŷr hael, a haeddai 'r awr hon?
Traethai gau bilerau 'r wlad,
Euog, O enwog ynad!
Euog o farn gadarn gaeth
A mawr waelod marwolaeth!
Yna hwy a'i difenwant,
Ei watwor, iawn Ior, a wnant.
Suddas, ar ol troseddu,
Mewn garw boen, mewn gwewyr bu.
Cafodd, am werthu 'r Cyfion,
Gosp haeddol i'w fradol fron.

# YR WYTHFED RAN.

PAN ddoi'r dydd drwy'r gwledydd glân,
Drwg lywiawdwyr hwy gludan'
Yn fore Ior Nef eurad
I lys gau raglaw y wlad:
Ond i'r llys dilys nid ânt,
Y wledd wrth hynny luddiant.
Drwy lydain gywrain geurydd
Sïon, amrywiol sôn sydd.
Yr Iuddewon creulon croes,
Rhai ynfyd mawr eu hanfoes,
Tyrrent at y Pretoriwm,*
Heb nifer, mewn trawsder trwm.
Pan fyddo'r dyfnfor yn dêg
A'i wyneb heb un waneg,
Os o ryw bwynt gwynt a gân
Yn fywiog, yna'n fuan
Mewn mawr fraw deffraw wna'r dôn;
Yr agwrdd ddirfawr eigion
I gyd a gyfyd yn gerth,
A denfyn ruad anferth;
Myrddiynau o donnau dig
Godant yn derfysgedig:
Felly dy ruthr aruthr, Oh
Salem! ar ddydd mawr Silo!
Ar frys o'i ddisgleirlys glân
Siriol i'r cyntedd seirian
Doi'r ynad mawr dirinwedd
Mewn balchder a gwychder gwedd,
Mewn dimwnd, mewn dïammhur
Rudd emmau, mewn perlau pur.
A'n Câr, fal Oen gwâr gwirion,
Mae'n alaeth ysywaeth son,
Boenydiwyd, wâr Bennadur,
Mewn rhwymau cadwynau dur.
Medd celfydd lywydd y wlad,
Cyhoeddwch y cyhuddiad.
I'w nifer fe wnai ofyn
Pa ddrygwaith diffaith wnai'r Dyn?
Yna'r anfad gâd ar g'oedd,
D'wedent, Pe drwg nad ydoedd,
Hwythau mewn rhwymau'r awr hon,
Cofled, na's rhoent y cyfion.
Os diffaith yw gwaith y Gwr,
Bernwch Ef, ebre'r barnwr.
Y gwr mawr, troi'n awr a wnai,
Ar hyd y cyntedd rhodiai.
D'wedent, Gwyddost nad ydyw,
Nad cyfreithlon weithion yw
Dïaledd yn ein dwylaw,
Ni sydd, ddoeth lywydd, i'th law.
Y gâd annuw gyd-unant,
Cyhuddo, dan wawdio, wnant.

* Prætorium, enw Rhufeinig y brawdlys gwladol.

Cynhyrfant, gŵyr-droant draw
Y wlad i gyd i lidiaw:
Gw'arddodd deyrnged ac urddas
I Gaisar, yr anwar was!
Efe, os coelir ei fin,
Fe yw'r unig wir Frenin!
Er hyn, er pob rhyw anair,
Fe dawodd, ni dd'wedodd air.
Y rhaglaw, hylaw helynt,
Ymchwyddawdd, fe holawdd hynt
Yr Iesu yn gyfrwysol,
Ond heb un atteb yn ôl.
Ei enau mwyn mewn un modd,
Oen gwirion, ni egorodd.
I'r dewrfalch farnwr dirfawr-
Bu'n hynod ryfeddod fawr.
Weithion hwn aeth yn hy'
I'w loywdeg fawr ddadleudy.
Galwyd ein Harglwydd gwiwlan
Ar frys i'r goleulys glân.
Ffyrnig fileinig flaenawr,
Mal hyn gwnai ofyn yn awr,
Ai Ti, mal clywais i son,
A ddaw'n Frenin Iuddewon?
Mwyn Ion, attebai, Mae'n wir
Ydd ydwyf Hwn a dd'wedir:
Ond fy nheyrnas addas I
Mi wn nad o'r byd mo'ni.
Brenin wyt? eb yr ynad:
Iē, a mawr, medd Duw mâd.
A naws tirion ystyriai,
Craffu'n anwylgu a wnai
Ar wedd ei farnwr addig;
Meddai, E dd'wedai'n ddi ddig,
Fe'm ganwyd, anfonwyd Fi
I hyddysg rydd gyhoeddi
Y gwir mewn modd hygaraf,
Er les mi wnes ac mi wnaf.
Pob un sy'n gyttun â'r gwir
Dïau ganddo'm gwrandewir.
Be' yw'r gwir? ebe Ior gau;
Draw i'w hynt fe droi yntau.
Gwelai hwynt mewn disgwyliad,
Gwnai araith gain wrth y gâd:
Holais, gwelais y gwaelod,
Mae'n ddi fai, mae'n ddïau'i fod.
Ond gwnai hyn eu hennyn hwynt;
Didaw'n unair y d'wedynt,
Gwnai ryddhâu o'u deddfau da
Luoedd gwlad Galilea:
Yn hyf yma gwnai hefyd
Ddrygau, a thrwy barthau'r byd.
Pan glybu, pan wybu'n awr
Yn burion o ba orawr

Ddewisol yr oedd Iesu,
Gwnaeth ddanfon y Cyfion cu,
Dofydd, Wr isel difalch,
At Herod oedd bendod balch.
Herod, wrth ganfod y Gwr,
A lawenodd, wael anwr.
I'w lidiog ffel holiadau,
A'i chwerwon fygythion gau,
Attebion rhwyddion ni's rhodd;
Oen Duw yno a dawodd.
Y tetrarch hybarch ar hyn
Yn wynnias a wnai ennyn:
Ni's gwelai 'r hyn ddisgwyliodd,
Yn draws mewn drygnaws e drodd.
Aflonydd lu 'r drwg flaenawr,
Gwawdien' Ion i gyd yn awr.
Danfon wnaeth Herod ynfyd
Brynwr a Barnwr y byd
Mewn' 'scarlad, y mâd Ior mawr,
Iesu gwâr mewn gwisg eurwawr,
Yn ôl at elynol wr;
Fe wenodd y Rhufeinwr.
Eurawg wisg oedd yn arwydd
O freiniol orseddol swydd.
Trigoliawn y lwyslawn wlad,
Gwelent ben pob disgwyliad:
Yna hwy a droent yn hawdd,
Eu ffydd a lwyr ddiffoddawdd.
Fe Pilat, fwyaf piler,
Wrthyn' bawb araeth iawn bêr
A wnai; ond cynhyrfai hon
Laweroedd o hil Aaron.
Drwy ddichellion budron bas
Hwy dro'n' ddynion y ddinas
I ddeisyf cael lladd Iesu;
A rhad roi lleiddiad i'r llu.
Llawen y gwnaethai 'r llywydd
Roi Nêr hael eirian yn rhydd.
Y dynion digrediniaeth,
Naws dig, pan welent na's daeth
Yn ol eu hymchwyddol chwant,
Annoethaidd droi a wnaethant.
Croeshoelier fal cras elyn!
Ymaith â'r fath ddiffaith Ddyn!
Pa achwyn, pa gwyn, pa gâs
I lunio 'r fath alanas?
Ai diriaid ddofn fradwriaeth?
Pa ddrwg anamlwg a wnaeth?
Oferedd oedd llefaru
Yn rhywiog wrth lidiog lu.
Cynnwrf a thwrf a therfysg,
A swn can' myrddiwn i'w mysg,
Croch lefau, hyd seiliau 'r ser,
Caersalem, oedd—Croeshoelier!
Tra bloeddient, tra rhuent rhawg,
D'wedai 'r barnwr godidawg;
Gormod hynod ddihenydd,
Fflangellaf, rhoddaf e'n rhydd.
Pontius Pilatus a'i lu
Taerwyllt wnaent ddiystyru
Nêr anwyl, fwynwr uniawn,
A'i amgylchu yn llu llawn.
Dwysgam, yno dïosgwyd
Ein Iesu glân o'i wisg lwyd.
Cablu a fflangellu 'r gwâr
Ynad a wnai 'r gwŷr anwar.
Dilladent, hwy wisgent Ior
Perffaith wed'yn mewn porphor.
Dewrion Rufeinwyr diras,
Coron o ddrain creulon cras
Rodden' ar ben Ior y byd,
A'i wiwdlws dal wnai 'n waedlyd.
Anwyl Ior, yn ei law Ef,
Mawredd, Gogonedd gwiwnef,
Corsen irwen fu 'n arwydd
O'i freiniol arswydol swydd.
Gwawdio, glin-blygu wed'yn,
Addoli, cyhoeddi hyn;
Llawenydd i'r Llywydd llon!
Ddiwael Frenin Iuddewon!
Yno ei gernodio wnant;
Ar Iesu hwy boerasant.
Cymm'ren' y gorsen, rhoen' gur
Poenedig i'r Pennadur.
Anwylaidd wraig wèn olau
Y llywydd dig'wilydd gau,
Yn brudd, yn y boreuddydd,
Breuddwydiai pan dorrai 'r dydd:
Gwelai Wr cyfion gwiwlwys,
Nefolwawr, dan boenfawr bwys;
Mewn mawrddig, mwy na myrddiwn
Yn gwawdio, 'n cyhuddo Hwn;
A'i gwr yn barnu 'r Gwirion
I'r dorf draws anhynaws hon.
Braw, odfa, fu i'r wraig brydferth,
Gwnai ddeffro mewn cyffro certh.
Y galed weithred nid ai
O'i henaid pan ddihunai.
Ac yr awr'on sôn y sydd
Yn dwyn, fel ar adenydd,
Hanesion geirwon yn gynt
Na rhediad un rhuadwynt;
Fod gwirion Wr cyfion cu
A thirion i'w ferthyru:
Rhai dd'wedent, Gwr hardd ydyw;
Onid Hwn wnaeth feirw 'n fyw?
Mae 'n awr o flaen bloeddfawr blaid
Y dyrys bennaduriaid:
Heb achos mawr na bychan,
Etto ei ddinystrio wnan'.
Gwraig di ffydd frawdydd y fro,
Ae hyn i galon honno.
Anfon yn union a wnai
Hanes i'w gwr, na's gwyrai
Farn iawn; na ro'i 'r Cyfiawn cu,
Fawrwerth Wr, i'w ferthyru.
Hir freuddwydiais o'i herwydd,
Wr mâd, ar dorriad y dydd.
Cla' ydwyf mewn caledi;
E fu 'n dost ar f' enaid i.

Cyffrôdd, argyhoeddodd hyn
Enaid y dybryd annyn.
Felly Pilat f'ai allan,
Wr dig, a'i yspryd ar dân.
Eb y gwr, brawdwr eu bro,
Attoch 'rwy 'n dyfod etto;
A dyfod mae 'r Gwr difai,
Heb bechod mae 'n bod na bai.
Mewn porphor doi 'r Ior eirian
I'r cyntedd, a'i degwedd dan
Y goron ddrain creulon cras
I'w ddwyn at wŷr y ddinas.
D'wedai 'r barnwr godidawg,
Wele 'r Dyn!—ar hyn hwy rhawg
A floeddient na fynnent fod
Iesu ar ddaear isod.
Dirboener! ni's derbyniwn!
Croeshoelia! croeshoelia Hwn!
Na waeddwch mor anoddef:
Chwi, O wŷr,—croeshoeliwch Ef.
Ni enwyd bai 'n ei einioes;
Yn y Dyn dim bai nid oes.
Y dyrys bennaduriaid,
Ennyn ar hyn a wnai 'r haid:
Unen' eu llef yn un llu
Nawswyllt yn erbyn Iesu:
Mae cyfraith oleufaith lân
Gennym o enwog anian;
Wrth hon, ein cyfraith hynod
Nefol, Fe 'n farwol sy i fod.
D'wedodd mai Mab Duw ydyw;
Haeddai Hwn fod heddyw 'n fyw?
Dygodd hyn synnedigaeth,
Bu 'r barnwr mewn cyfiwr caeth.
I'r neilldu nesu a wnai,
Hyf eilwaith fe a holai,
Gan ofyn pa Ddyn oedd Ef
I gu enwog Ior gwiwnef?
Yno, mewn prudd-der enaid,
O'i enau dim geiriau gaid
I'r ynad dewr dirinwedd.
Yn ei lân a'i anwyl wedd
Ei ddaglwyf ydoedd eglur,
Annhraethol angerddol gur.
Dilys yr oedd dan daliad
Cyfiawnder digter ei Dad.
Eb y barnwr, fostiwr, fi!
Ai tybed na 'm hattebi?
Yttwyd (a raid ddweyd itti)
Heb wybod f' awdurdod i?
Minnau, gwybydd, o mynnaf,
Yn awr dy ryddhâu a wnaf.
Rhwyddaidd a hawdd yw rhoddi
I boenau 'r groes d' einioes Di.
Ior etto a ro'i atteb;
Tydi ni elli na neb
Drwy fawrloes ddwyn f' einioes fau,
O ddyn, heb fy modd innau.
Mi ddaethum yn gyflym gu
Oddi uchod i heddychu.
Ydd ydwyd, na 'm traddodwr,
Gyfiawnach, amgenach gwr.
Pilat, wedi pob holiad,
Mawr oedd hwn am ei ryddhâd.
Ae 'n ôl at elynol lu
I ddeisyf rhyddhâu Iesu.
Mawr alar! barn marwolaeth,
Er hyn yn ei erbyn aeth!
Yr Iuddewon, geirwon gâd,
Mynnent gael eu dymuniad:
Anfadwyr, gwnaent ynfydu;
Hyd nef yr aeth llef eu llu:
Tydi, os gadewi 'r Dyn
O'th ddwylaw, wyd fyth elyn
Gwedi i Gaisar gadarn,
Os ti arbedi roi barn!
Hwnnw a'i gwnel ei hunan,
A drodd mewn un modd na man,
Yn frenin, hwn, fawr ynad,
A dorrir, leddir o'r wlad!
Gau luniaw drwg elyniaeth,
Sur naws, i Gaisar wnaeth.
Yr ynad, bob yn ronyn,
Diflannodd, delwodd y dyn:
Gwywo, dan wyro 'n araf,
Wnai hwn, fal blodeuyn haf.
Goflin ydoedd ei gyflwr;
I'w orsedd geinwedd ae 'r gwr.
Eb 'r ynad, wele 'ch Brenin!
Bu 'r offeiriaid, bleiddiaid blin,
A'r lliaws mewn drygnaws dro;
Damniol lu, i'w gondemnio
Cydunant, fel câd Annwn,
Croeshoelia! croeshoelia Hwn!
Sylwch, wŷr, a groeshoeliaf
Eich Brenin?—O, Brenin braf
A fydd!—un brenin feddwn,
Caisar, wr hawddgar, yw hwn!
Yr euog lidiog wladwyr,
Creulon fygythion y gwŷr
A droe 'r ynad eirianwawr
I ddrygau camweddau mawr.
Pilat, o flaen y palas,
Galw am ddwr wnai 'r barnwr bas.
Dan gystudd, yn brudd mewn braw,
Yn ddiles glanhâi 'i ddwylaw.
Gwed'yn ei ddwylaw godai
I nef, a golygu wnai
Ar Iesu,—ar y llu llawn:
Cofiwch, o waed y Cyfiawn
Hwn yr wy 'n wirion o hyd;
Gwirion yr âf i'r gweryd.
Hwy, fradwyr, gan hyfrydu,
Bloeddiodd a llefodd eu llu,
Deled arnom ni 'r dïaledd!
Nyni a'n meibion un wedd!
Rhyddwys farn! fe a'i rhoddawdd
I foddio 'r dorf honno 'n hawdd.
Oh lidiawg greulon wladwyr!
Oh ddybryd! Oh waedlyd wŷr!

I'r Gwirion bu arw gerydd!
Diras Farrabas fu rydd!
Y dda wisg a ddïosgwyd;
Rhoent ar y Gwr llesgar llwyd
Ei hynod wisg ei hunan,
Ac ar unwaith ymaith ân'.
Yr wy 'n glaf, arw iawn glefyd,
Gan ddrygau a beiau 'r byd.
Iesu mâd! b'le symmudaf?
B'le weithion, wir Ion, yr âf?
Pa floedd gan y bobloedd bas?
Chwerwedd cynddaredd ddiras!
Y mawrlu sy 'n gwel'd marwloes
Mab Ior Nef dan ei gref groes!
Yn d' oer gwyn, mewn dir gyni,
Fy Naf, ni's gadawaf Di.
Rhag i loes yr hagr-groes hon
Luddias eu dïaleddion,
Rhoi 'i eres groes ar arall
Wnaeth creulon feibion y Fall.
Nattur, ni welwn etto,
Sydd yn hon, afradlon fro:
Y gwiw wragedd goreugu,
Mae 'r rhai 'n yn wylofain lu.
Gwnan' lefain gan ei lafur,
Wrth weled ei galed gur.
Wrth ganfod eu trallod trwch,
Medd Ior hael, Na wael wylwch:
Erof fi na bo i chwi chwaith
Dynnu ochenaid unwaith.
Am Sïon a'ch meibion maeth,
Wylwch, wylwch o alaeth.
Daethom yn awr, ddirfawr ddydd!
I hynod fryn dibenydd!
Yn ofalus gwnaf wyliaw
Pa ryfedd ddiwedd a ddaw.
Pa olwg!—Oh pwy welaf!
Groeshoelir yn wir fy Naf!
Ai rhwng lladron geirwon gau
I'r entyrch codir yntau?
Trostynt, er maint eu trawster,
Ar Dduw da eiriol wna Nêr:
Oh Dduw Dad! maddeua Di
Gynnwrf eu mawr ddrygioni!
Cyhoeddus yw cyhuddiad
Ion cu i lu pob rhyw wlad:
"IESU O NAZARETH,
BRENIN YR IUDDEWON."
Y torfoedd yn lluoedd llawn,
Addig ysgrifennyddiawn,
Henuriaid hyfion eres,
A'r gau offeiriadau res,
A'r milwyr disynwyr sydd,
Gwelaf, pawb fel eu gilydd,
Hwy wawdiant, cablant Ior cu
Yn ei loes, anwyl Iesu.
Ym mysg y terfysg a'r twrf,
Bradus, drygionus gynnwrf,
E welwyd morwyn wiwloer,
Yn ddistaw, yn wylaw 'n oer,
Gwen liwgar, gan olygu
Weithiau ar y ddaear ddu;
Bryd arall i'r wybr dirion;
Ac weithiau ar friwiau 'i fron.
Wylai wed'yn o alaeth,
I'w gruddiau hallt ddagrau ddaeth.
Ow Mair! hawddgara' morwyn!
Mor dostur ei chur a'i chwyn!
Mae 'n oer ei bron, mun arab,
Ar ol ei rhyfeddol Fab.
Duwies o ferch! mewn dwys fodd
Ei henaid a wahanodd!
Oh Duw mawr! pa'm f' enaid mau,
F' enaid! na wylaf finnau?
On'd tost mor greulawn wyt ti,
Gan weled, ac ni wyli?
Yn hyn ydd wyd annhyner,
Tydi ni wyli am Nêr.
Hiraeth, trymder o'i herwydd,
Rhyfeddod a syndod sydd;
Trymmion ofidiau tramawr
Sy 'n cau ar fy nagrau 'n awr.
Mae ofnau 'nghiliau 'nghalon,
Mae braw dirgelaidd i'm bron,
Ond Oh! na byddo yn bod!
Mai baich fy ngorthrwm bechod
Sydd yn bwys mwy dwys na'r dur
I'w ddwylaw 'n rhoi mawr ddolur,
Yn amlhâu poenau heb baid
I'w anwyl gyfiawn enaid.
Diflanned, todded heddyw
Nef eirian, pob anian byw!
Na ddalio 'r byd yn ddilyth,
Ond bod megis heb fod fyth!
Mae Nêr, oreuber Aberth,
Mae Ior nattur mewn cur certh!
Oh rasol! Oh nefol Nêr!
Ei boenau a ddibenner!
Oh boed i'r awr hagrfawr hon
A'i boenau gael dibennion!
D'wedwch, ba ruddwaed ydyw,
Can's i'm golwg amlwg yw,
Sy 'n lliwio, yn gwridio 'r grog?
Oh! gwaed Iesu, gu D'wysog!
Hyfrydu mae ei fradwyr,
Bloeddio a gwawdio mae 'r gwŷr;
Gwatwar ei eiriau 'n gyttun;
Mwynhâu ei boenau bob un.
Ni feiddiaf ond rhyfeddu;
Oh greulon elynion lu!
Mwy rhyfedd, Ior Hedd, er hyn,
Yttyw dy gariad attyn'.
Fal tad ym mron ymadael
O'r byd i'r gweryd oer gwael,
Ban wêl, yn ei boen olaf,
Ei blant, er clwyfiant, wr claf,
Etto fe dry ef attynt;
Rhydd fendith fâd i'w hâd hwynt;
Ion grasol, ein gwir Iesu,
Mae 'n ei wedd drugaredd gu,

Nefol ragorol gariad
Ar y grog, odidog Dad!
Dirioned i rai annuw,
I feibion dynion yw Duw!
 Ion anwyl, mae ar ben einioes;
Clywaf ei lef mewn claf loes:—
Oh fwyn Dad! Oh f' enaid i!
Oh Duw! pa'm y'm gadewi!
Llefodd y mâd Bennadur,—
Mae syched yn galed gur!
Un o'r milwyr, gwawdwyr gau,
Ro'i winegr sur i'w enau.
Pan brofodd, Fe a drodd draw
Ei hoywber wyneb heibiaw;
Pan drodd, dolefodd Duw lwyd
Y gair hoff iawn,—Gorphennwyd!
Yn rhwydd i'th law 'r wy 'n rhoddi
Oh Dad bywyd f' yspryd i!—
Deryw!—ei fwyn wedd dirion
Ogwyddodd i'w freufodd fron.
 Darfu!—fe ddaeth ei derfyn!
Dirfawr haid, darfu ar hyn
Gelyniaeth o galonnau
Anraslon wŷr geirwon gau.
 I'r ddyrys oer ddaearen
Naf a ddaeth o'r Nefoedd wèn;
Gwiw roddion ro'i 'r Gwr addas
O hedd, o rinwedd, o ras:
Llid a gofid a gafawdd
Am roddi i ni ei nawdd.
Ior Nef! am fawr iawn ofal,
Ai hyn fu 'r terfyn a'r tâl?
Oh Duw! f' Arglwydd! a dawaf
Un awr am gariad fy Naf,
O'i fodd oddefodd ofid,
Blinder, a llymder y llid,
Ing mor ddwys, angau mor ddu,
Fy Mrenin, wrth fy mhrynu!
Briwedig mewn braw ydwyf,
Am Iesu hiraethu 'r wyf.
Muner, dywaid, os mynni,
Ust fôr!—ond ni's tawaf fi.
Ow immi fod mor ammhur!
Gwae fi roi i Geli fawr gur!
Gwae goffa rhwygo gwaywffon,
Waith echrys, i ystlys Ion!
O'i fonwes, anwyl Fwynwr,
Gwedi y daeth gwaed a dwr.
 Fe o Arimathëa,
Wr dethol dedwyddol da,
Joseph wnai gladdu Iesu
Mewn beddrod hardd, mewn gardd gu.
Fu dydd, neu fydd, ryfeddach?
Rhoi 'r Mawredd yn y bedd bach!
Ofnus anhwylus helynt!
Aeth ymaith bob gobaith gynt!
Gorwedd y mae dan garreg
Mab mawr Duw, a Mab Mair dêg!
Ior mâd, Cariad cywiraf,
Wrth ei fedd gorwedd a gaf.

Naf anwyl! ni wiw funud,
Ni wiw galw ar y marw mud.
 Yr Iuddewon geirwon gau,
Gelynion o galonnau,
Rhydaer fleiddiaid rhuadwy,
Gwynfydant, llawenhânt hwy.
Gau lawenydd gelynion
Sy 'n brydio, sy 'n briwo 'm bron.
Oer ddyrys yw 'r ddaearen,
Dyma 'r byd i mi ar ben.
Oh y Byw-Nêr! ba ennyd
Y gwneir barn gan wŷr y byd!
Y gwir a barn gywir gu
Bellach a wnaethant ballu.
Dyfn seiliau 'r mynyddau 'n awr,
A'u trymmion lwythau tramawr,
Yn llwyr oll o'u lle yr ân';
Y liwdeg ddaear lydan,
Torrodd drwy gylch natturiaeth,
A'r môr mawr o'i orawr aeth!
Holl nattur,—Oh 'r Gloywbur glân!
Galara y Gloyw eirian!
Dyma 'r fan, dyma 'i oer fedd,
Y gweryd lle mae 'n gorwedd.
 O blith llu goleugu glân
Anfarwol y Nef eirian,
Mi, O frawd, ddaethum o fry,
O'r geinwen wybren obry.
Dylai fod arnad alar
Ar ol dy ragorol Gâr,
T'wysog enwog y wiwnef,
Dirion Ior daear a Nef.
Ond d' ofidion dyfnion di,
Oh ddyn! ni wnan' ddaioni;
Synnied pethau presennol
Yr wyd, heb ganfod ar ôl,
Heb weled lawned o les
Yw gras Ior a'i groes eres,
Na 'r mâd ganlyniad o lwydd
Didawl, a'r diben dedwydd.
Buan aeth Gair y bywyd
Yn anghof, dros gof i gyd.
Ni fŷn Duw Nêr, mwynder maith,
I neb fyn'd i anobaith.
Marwolaeth Mab Mair wiwlan,
Dofydd, Naf Lywydd Nef lân,
I anwyl lu Goleuni
Rhyfeddod hynod yw hi.
Ni chlywir gan wych lîaws
Y Nef, cariadlon eu naws,
Gu gân drwy fro 'r Gogoniant,
Fiwsig plethedig na thant.
Distawrwydd mud ystyriawl
Y sydd drwy geurydd y Gwawl.
Nef-luoedd, dorfoedd dirfawr,
Tristâu â'u telynau i lawr.
Ag wele! dyma 'r gwylwyr
Yn arfogion, eirwon wŷr,
Yn neshâu; ninnau 'n union
Awn draw o'r ardd wiw hardd hon.

Arweiniaf di draw ronyn;
Cyfod i ddyfod, O ddyn!
Egoraf olwg eres
I ti 'n awr o lwyddfawr les.
Eirian fab glân Goleuni!
Nerthaist ac adfywiaist fi.
Di oedi, parod ydwyf,
Parod i ddyfod ydd wyf.
Helaeth fendithion hylaw
I ti, ddyn, etto a ddaw.
Buost ffyddlon i'm Ion mau,
Wyd ethol gan Dduw dithau.
Derfydd dy brudd-der dirfawr;
Cei ganfod rhyfeddod fawr.
Gwrando eiriau 'r gywreindeg
Odiaeth brophwydoliaeth dêg:
I'r Ddraig Hâd y wraig a rydd
Hynod ddirfawr ddihenydd;
Cyflawnwyd cu fawl union
I Fab Duw byw, heddyw hon.
Mawrion wyrthiau mor nerthawl,
Gwyrthiau dros gaerau y Gwawl,
Na welaist, ddyn anwylaf,
I ti eu mynegi wnaf.
Dan las balmwŷdden lwyswawr
Nyni orphwyswn un awr.
Haeddai 'r eres hanes hon
Ddistawrwydd addas tirion.
Gwel yn awr, Goleuni oedd,
Di wâd mai Mab Duw ydoedd.
Rhwygodd llen y deml wên wawr
Ar ei derfyn, Ior dirfawr.
Y creigiau drwy barthau 'r byd,
Yn ei gur, wnaen' egoryd.
Haelionus haul y wiwnef
Lewygodd, fe dduodd ef
Wel'd T'wysog ardderchog ddawn
Yn dioddef dros ddyn diddawn.
Mawr derfysg! y môr dirfawr,
A daear fud 'duoer fawr,
Dïau 'r rhai 'n, wrth farw Duw 'r Hedd,
A grynent mewn gwirionedd:
Crynodd caerau y wiwnef,
A'r ser yn uchder y nef.
Pan godwyd Ef ar gref grog,
Wareiddiaf Ior mawreddog,
Fal ergyd saeth daeth i'r Diawl
Wynnias gur anesgorawl.
Ar edyn dychryn, mewn dig
Uffernawl, ffodd y Ffyrnig;
Traws giliodd tros y geulan
I'w Lyn du 'n olwyn o dân.
Yr oedd o'i fewn riddfannau
Cythreulig drwy'r ffyrnig Ffau:
Y diawliaid oedd mewn dolur,
I'w gruddiau 'r oedd dagrau dur.
Uwch ben eu ffurfafen fawr
Ddiderfyn, yr oedd dirfawr
Gylch, ac o'i hamgylch o hyd
Yr oedd ef yn cyrhaeddyd;
O dewdwr hynod ydoedd,
A chant o adamant oedd.
Yn ei lafur, dolur du,
Yn ei loes, anwyl Iesu,
Y nerthawl agwrddawl gylch
A rwygodd drwy ei ogylch,
A holltodd, taflodd i'r tân,
I'r gwaelod o'r fawr geulan.
Pob darn mor gadarn, mor gerth,
Unfaint â mynydd anferth,
Ag Idris* fawr ei godre
Dan gwmmwl nifwl y ne',
Neu gymmaint â'i harddfaint hi
Yr awyrawl Eryri.†
Gan fawr nerth eu rhyferthwy,
Eu trymder a'u hamlder hwy,
Y mynor (îs dyfnfor dig
Uffernawl o dân ffyrnig)
Tew iawn oedd yn toi Annwn,
Gwahanodd a holltodd hwn:
Afrifol aruthrol rawd,
Torrasant i'r tir isawd.
Crynodd, e dybiodd y Diawl
I'w noddfa ddofn anneddfawl
Draws chwalu dros ei cholyn,
A llwyr ddistrywio y Llyn.
Yn y drom ymdrin dramawr,
Pan wnaed brâd yr Ion mâd mawr,
Y ffyrnig dorf uffernawl,
Cyfeillion duon y Diawl,
I lawr â hwynt laweroedd
Atcas, i'r eirias lle'r oedd
Chwyrn udawl ddychryniadau
Trwy galon y Gwyllon gau.
Gan dwrf ac egni dirfawr
Darnau 'r adamantau mawr,
Y gythreulig ffyrnig Ffau,
Gwaelod ing a gwlad angau,
Llydain ddyfnderoedd llidiawg,
Crynent a rhuent y rhawg.
Y Llyn tân brwmstan a braw,
Trystiodd y Trolyn trostaw.
Holl ri' y meini mynawr,
Hwythau 'r adamantau mawr,
Eu gwely yw y gwaelod,
Ac yno fyth y can' fod;
Arwyddion (mewn mawr oddaith)
Nerthawl trag'wyddawl o'r gwaith.
Ac erbyn disgyn o'r dorf
Fileinig ddiawlig ddilorf,
Dirfawr oedd rhifoedd eu rhawd,
Ryw fodd, wele ryfeddawd!
Y Diawl, a'i erchyll deulu,
Drwy 'r Ffwrn lawn, dra 'ffernol lu,
A droes, ar ol ei drawsedd,
Yn Sarph genfigennus wedd,
A'i hollwedd yn dân hyllwyllt
Gan ddychryn a gwenwyn gwyllt.

* Cader Idris. † Y Wyddfa.

Yr un sut, rhai 'n â Satan
Yn droiau, 'n dorchau o dân.
Y dewrion bennaduriaid
O faint yn gymmaint a gaid
A mawrion seirph y moroedd;
Mawrion hwynt; mwy er hyn oedd
Y rydaer Ddraig ruadwy,
Satan ei hunan, na hwy:
Arswydus, eirias ydoedd
Eu gwawr, a chythreulig oedd
Hyll derfysg y llu dirfawr
Yn chwythu drwy 'r Fagddu fawr.
Naws dŵl, fal rhwng nos a dydd,
Y gwelent wedd eu gilydd:
Du ofid i lu Diafol!
Arswydent, neidient yn ôl.
Ni bu yn y Fagddu fawr
Y fath gynnwrf, dwrf dirfawr;
Trosti 'r oedd eu si a'u swn;
Dolennent hyd wâl Annwn.
Wele! yn ei farwolaeth
Distryw ar Ddistryw a ddaeth!
Mal hyn ym môr Llychlyn, llu
Agwrdd sy 'n erchyll ygu;
Cadau o hagr seirph cedyrn
Mewn tymhestloedd chwerwfloedd chwyrn
Sy 'n ymwylltio, 'n rhuthro rhawg
Ym mrynniau 'r môr ewynawg:
Trwy ei waelod, y Trolyn
Gogleddig, croch-ddig y cryn.
  Di welaist gwymp y diawliaid,
Echryslon a hyllion haid.
Talu 'n helaeth a wnaeth Nêr;
Ni fu Ior Nef farw 'n ofer.
Gwelwyd rhyw debygoliaeth
Yn y gwr, a'i wlad yn gaeth,
Chwerw ing, yng ngharchar angau,
O'i elynion geirwon gau
Ei hunan wnaeth o honynt
Fawr laddfa yn Gaza gynt.
Am gael y byd hyfryd hwn
Yr oedd byddinoedd Annwn;
Er holl allu 'r Ellyllon,
Croch lu, yr Iesu, wir Ion,
Yn dêg, rhag damnedigaeth,
Rhyddhâu eneidiau a wnaeth.
  Ym monwes Nêr, dyner Dad,
Mae 'n ôl ragorol gariad
Nefol, i'w raddol roddi,
Hynod, anwybod i ni.
Golau nid pob dirgelion
I fwyn lu y Nef wèn lon.
  O y Gwiwlwys!—O Geli!
I'r enaid mau d' eiriau di,
O lân Gennad y loyw-Nef!
Y sydd fal newydd o Nef!
D'weda, 'r Disclair clodadwy?
Ni wn o fyrddiwn neu fwy
Beth gyntaf ofynaf it';
Fwynwr, pa'm ymofynit
Am bethau uwch doniau dyn?
Rhyfyg yw 'r unrhyw ofyn.
Gwelaist y fuddugoliaeth
Fawrgref, ac Ion Nef a'i gwnaeth.
Drwy 'r nos prudd-der deyrnasa;
Pan wawrio 'r dydd dedwydd da,
Fe ddaw i'r byd, hyfryd hwyl,
Lawenydd nefol anwyl.
I'r nen glaerwen ddisgleiriol
Fi 'n awr ddychwelaf yn ôl.
  Dos, eres gynnes Gennad,
Dos i nen y nef wèn fâd!
Gwaraidd gwnaethost egori
Dirgelion mawrion i mi!
Llawn yw y fron fwynlon fau
O ddedwydd ryfeddodau.
Gorphennodd o'i fodd yn fwyn,
Y deddfawl Geidwad addfwyn,
Roi 'n rhyddion y gweision gau,
Gorphennodd gur a phoenau;
Dilys, pob prophwydoliaeth
Gorphennu yn Iesu wnaeth.
Teirawr y bu 'r Ior tirion,
Teirawr, drwy 'r boen hagrfawr hon!
Cyflawni wnai 'r cu Flaenawr
Y gyfraith ryfeddfaith fawr.
Hell deyrnas wynnias Annwn,
Distrywio honno wnai Hwn.
Rhyddhâu o'u beiau y byd
Wnai y Gwr sy 'n y gweryd,
Rho'i Iawn i'w Dad yr un dydd,
A'i gladdu mewn goleuddydd!
O uchder a dyfnderau
Ffyrdd doethion mawrion Duw mau!
Eu dyfnder a'u huchder hwy
Ydynt anolrheinadwy!
Is y ser dewisa' swydd
Eu 'styried mewn distawrwydd.
Weithion yn llon llawena,
Nawdd Duw ddaeth â newydd da.
Dihunawdd ein Duw hynod;
Y mae 'n fyw, mi wn ei fod.
Deimlaist grynfa 'r ddaear ddu
Ar ddattod oll o'r ddeutu?
Duw hynod! Fe 'n dihunaw,
Dwfn-grynodd hi drwyddi draw.
Rhwyddaidd y bore heddyw
Daeth Ior Hedd o'i fedd yn fyw!
  Eirian fab glân Goleuni!—
  O ddyn! na 'mofyn â mi;
Y meirw, y byw, mawr a bach,
Rhoddant it' hanes rhwyddach:
O ddyn! hwy ni 'mddiddanaf,
I nen yr wybren yr âf.
Gwiw lwyddol blant Goleuddydd
Yno 'n llu 'n gwersyllu sydd,
Gannoedd o nerthoedd gwiwnef,
I gyd-ddyrchafu âg Ef.
Dïalwyd ar dy Elyn,
A bellach bydd iach, O ddyn!

O yr hanes gynnes gain!
Ac O'r Cerub gwâr cywrain!
Fy Arglwydd dedwydd! os daeth
O oer wely 'i farwolaeth,
I'r duwiolion, wŷr dilyth,
Glân lawenydd a fydd fyth!
Y rywiog gu Farïa,
Ym more 'r trydydd dydd da,
Ar dorriad y wawr dirion,
I'r ardd yr ae 'r wraig hardd hon,
Ac eraill; aent o gariad
I wel'd bedd y Mawredd mâd.
Cadwynau 'r angau a'i rym
A dorrwyd, rwymau dirym.
Un o fwyn lu 'r Nef wèn lon,
Cyn gweled haul cain gwiwlon,
Ddisgynnodd, fe dreiglodd draw,
Wir-Naf, y maen oddiarnaw.
Eistedd, mal ar orsedd wych,
Ar hwnnw wnai 'n frenhinwych.
Ei liwgar lân olygawn
Ef a gaid yn fywiog iawn.
Diddym ae 'r gwyliedyddion
O gur, o fraw, ger ei fron.
Y ffyddlawn wraig hoffeiddlwys,
Marïa Magdala lwys,
Gwelai 'r hyn na ddisgwyliodd;
Mewn dirfawr fraw draw hi drodd.
Aeth hon yn union yn ôl
At weision Duw dewisol:—
Dygasant, modd digysur,
Ymaith ein Ior perffaith pur:
Dïammau dygwyd ymaith;
Mewn bedd ni cha orwedd chwaith.
Ni's gwn ba fan ís gwiwnef,
Fy SANT! y dodasant Ef.
Y trueiniaid tirionwawr,
Hwythau, mewn ofnau 'n awr,
A redent, ddeuwr odiaeth,
At fedd Ior, mewn cyngor caeth.
Cyn d'od y rhai 'n, wŷr cain cu,
Y gwragedd glân goreugu
Welasant olwg lwyswedd,
Angylion gwynnion eu gwedd:
Ai 'morol ym mhlith meirwon
Yma wnewch am y mwyn Ion?
Y Trag'wyddol, nefol Nawdd,
A fadws adgyfodawdd.
Ei Fawredd gwnewch lefaru
I'w ofnus alarus lu.
D'wedwch i Bedr nad ydyw
Mwy 'n ei fedd, can's y mae 'n fyw:
Ag etto maent hwy 'n gyttun:
Ag Ef mae Duw Nef yn un.
Mirain wragedd, ni 'meiriant,
Mewn ofnau maith ymaith ânt.
Y cu ddiscyblion cywir,
Pan ddaethant, gwelsant y gwir.
Yn ôl dychwelen' eilwaith
Mewn syndod, rhyfeddod faith.
Dyfod yr awr hynod hon
Wnai 'r gwylwyr enwir galon.
Y meirw, o'u beddau marwol,
Yn awr a ddeuant yn ôl.
Synnu wnai 'r ddinas ennyd:—
Ae 'n dwrf, yn gynnwrf i gyd.
Gau offeiriadau ydynt
Mewn ofnus anhwylus hynt.
Aros wnai Mair ddiwair dda,
Wraig addwyn rywiogeiddia',
O ddeutu ei fedd etto;
Gogwyddawdd, edrychawdd dro
I annedd ei Naf union
Dan wylaw, a braw i'w bron.
I'w golygon goleugu
Hynod ryfeddod a fu:
Ceinwawr angylion cannaid
Yno yn gwylio a gaid.
Golygai 'r engyl gloywgoeth
Yn awr yn wyneb Gwawr goeth:
Ba alar? am bwy wyli
A'th olygawn yn llawn lli'?
Dygasant, modd digysur,
Ymaith fy Iôr perffaith pur.
Ni's gwn ba fan ís gwiwnef,
Fy SANT! y dodasant Ef.
Pan dd'wedodd, hi a drodd draw;
Gwelodd, ond heb ddisgwyliaw,
Naf y ddaear a'r Nefoedd;
Ni wybu mai Iesu oedd.
Ba alar? am bwy wyli
Heb baid? claf enaid, clyw Fi.
A wyddost, dywed, addef,
P' le dygaist, p' le dodaist Ef?
O dod Ef, da yw dy waith,
Immi, cymmeraf ymaith!
Mair!—ar yr un gair a gaid,
Dibunodd Duw ei henaid;
Fy Nuw! fy Mrenin! fy Naf!
Ar ddeulin yr addolaf.
Dos i ffwrdd, na chyffwrdd chwaith,
F' anwyl, â Myfi unwaith:
Nid âf, meddai Nâf, yn ôl
I gaerau 'r Nef ragorol,
Cyn etto, wraig gain, itti,
Y' ngwawl dydd fy ngweled I.
Dos, wraig hyglod hynod hael,
Dywed i'm brodyr diwael
Yr âf at y Tad mâd mau,
Duw ethol, a'u Tad hwythau.
Nerthir hwynt â'r cynnorthwy,
Dos, ac nag ymaros mwy.
Y mwynion ddiscyblion cu
Gwâr odiaeth, ni's gwnaent gredu,
Gormod yw 'r hynod hanes,
Rhy ddedwydd yw 'r llwydd a'r lles.
Y gu Wawr hael, geiriau hon
Ydynt fel gwag freuddwydion.
Ni feiddiant grêd anfuddiol
Rhag cystudd i rudd ar ôl.

Yn awr tyrrai'r henuriaid
I'w dadleulys, (brys heb raid)
Gwallgofai, rhwygai 'r awr hon
Galonnau y gelynion.
Gwadu 'r eres hanes hyn,
Da gwyddent nad gwiw iddyn'.
Yr oedd achos rhyw ddichell,
Un wael o eisiau un well.
Heb wylied, gwnaeth plant Belial
Anfad esgusodiad sal.
Pwy gred fath hocced â hon?
On'd tostur iawn eu tystion!
I'w tramgwydd,—rhai mewn trymgwsg!
Carcharorion caethion cwsg!
Bid uniawn, neu boed anwir,
Haws coelio rhai 'n effro 'n wir.
Iesu ni âd ei weision
Dan drymder o brudd-der bron.
O'u prudd loes parodd i'w lu
Yr awrhon lon lawenu.
Hael Ddofydd! y dydd y daeth
O oer wely 'i farwolaeth,
Dedwydd Arglwydd, nid oedai,
Ymddangos cyn nos a wnai,
Gu Lywiawdwr goleudeg,
I ddau, ac wed'yn i ddeg.
D'wedai 'r un digred ydoedd
Heb wel'd Ion gwiwlon ar g'oedd
Na chredai, na choeliai chwaith,
Oni wêl ef Ion eilwaith;
Teimlaw â'i ddwylaw ddolur
Ol yr hoelion digllon dur,
A dinag roi 'i law 'n dyner
Yn ddilys yn ystlys Nêr.
Dofydd, yr wythfed dydd têg,
Attyn' wed'yn yn wiwdeg
A ddaeth; amlwg oedd weithion
I'w rhif i gyd yr awr hon.
Tomas, na boed it' ammau
Y fâd adgyfodiad fau.
Ai hwy gennyt ammheuir?
Cei deimlaw fy nwylaw 'n wir.
Gwel, dod dy law mewn golau
Yn ddilys yn f'ystlys fau.
Gwelodd, ni 'mheuodd mo hyn;
D'wedodd, fal gwir gredadyn.
Agwrddawl Fab y Gwir-Dduw!
Fy Arglwydd dedwydd a'm Duw!
Clybuwyd, gwelwyd ar g'oedd
Gan ugeiniau, gan gannoedd!
Cyfeillion, gelynion lu,
Weithion cyd-dystiolaethu
A wnant, ac unant i gyd,
I'r Gwr ddyrchâif o'r gweryd.
Didwyll weithion y d'wedir
Amlygu ein Iesu 'n wir!
Er astrus aruthr rwystrau,
Er dybryd wŷr gwaedlyd gau,
Er Satan (eres yttyw)
Daeth Ior Hedd o'i fedd yn fyw!
I'r Gelyn mae mawr g'wilydd!
A'r duwiol yn siriol sydd!
I'w dinystr cryned Annwn!
I'r byd dydd hyfryd yw hwn!
Enwog organ y wiwnef,
Telynau a nablau Nef,
Angylion gwynnion yn gôr
Drwy 'r lydan eirian oror,
A'u haml leisiau melysiawn,
Rhoent fawl gorfoleddawl iawn!
Y nefolwawr Ior mawr mâd
Fu wedi 'i adgyfodiad
Ddyddiau ddeugain i ddioddef
I'w lu da ei weled Ef.
Rhoi addysg a wnai 'n rhwyddaidd
I fywhâu bronnau ei braidd.
Agor eu deall egwan
A wnaeth Nêr yn lwysber lân.
D'wedodd, Fe 'm hawdurdodwyd
Oddiar lu 'r holl ddaear lwyd,
I luoedd y Nef lawen
Myfi fydd beunydd yn Ben.
Cewch yn wir, cyn hir, yn hael,
Yr addewid fawr ddiwael,
Cewch y rhodd oleufodd lân
Yn Salem, ddinas wiwlan:
Gweddus y'ch cynnysgaeddir
O ddoniau 'r Nef gan Dduw 'n wir.
Tystion i ffyddlon goffâu
Fy ing a'm chwerwaf angau
A fyddwch; i'm ryfeddawl
Ddyrchafu i wlad gu 'r Gwawl.
I bob torf, drwy bob terfyn,
Pregethwch, cyhoeddwch hyn.
Gwaredir pawb a gredant;
Rhai ammhur garw gur gânt.
E d'wysodd y mâd Iesu
I'r mynydd Olew-wŷdd 'i lu:
Addawodd Ef, o Nef, nawdd
I'w weision a ddewisawdd.
Bendithion a radlon rodd,
A'n Iesu gwŷn esgynnodd.
Claerwyn gwmmwl discleiriawl,
Sef meibion gwynnion y Gwawl,
Mal cerbyd, oleubryd lu,
Wnai 'i ddwyn e 'n fwyn i fynu.
Dorau 'r wèn-gu diriongaer!
Y nefol drag'wyddol gaer!
Chwi ddorau y caerau certh!
I'r Prïodfab, Ior prydferth,
Nef a llawr, i'r Ior mawr mau
Egorwch nefol gaerau!
I ba Ior yr egorwn?
Pa Arglwydd hylwydd yw Hwn?
I lân Ior yr oleunef,
Ior a wnaeth ddaear a Nef!
I'r Geirwir ddaeth o'r gweryd,
Ac a brynodd, o'i fodd, fyd!
I ogoniant Nef geinwawr!
A daw i mewn y Duw mawr!

Ysplennydd geurydd i gyd
I'n Ion gwâr wnaen' egoryd:
A dorau 'r caerau cwrel
Wnaent fwsig clymmedig mêl.
Aeth yn awr Ior clodfawr clau,
Goreuddoeth, uwch pob graddau,
I'w orsedd oleuwedd lân
Yn Bennaeth ar bob anian:
Gorsedd ddiduedd ei Dad,
A chyfiawn yw 'r dyrchafiad.
Miloedd y Nef a'i molant,
Celfydd gerdd newydd a wnant:
Halleluia! hael Lywydd!
Ti 'n Brynwr, Ti 'n Farnwr fydd!
Ior agwrdd! Ti fawryger!
Pwy na 'th fawl, O nefawl Nêr!
Darfu fy nhrymder dirfawr!
Fy Nuw, esmwythaist fi 'n awr!
Llawen adeg! llon ydwyf!
O f' Arglwydd, mor ddedwydd wyf!
Llon wy 'n awr, llawen yw 'nydd,
A llon a fo 'm darllenydd!
Mae 'nghalon weithion yn iach,
Mi ganaf gerdd amgenach:
Yr haul pan êl o'r hoywlwys
Dwyrain, yn oleugain lwys,
I fôr Atlas wyrddlas wawr,
I'w ddisgynfa ddwys geinfawr,
Y gygus ferwawg eigion
Derfysga, rhua 'r awr hon:
Y tonnau 'n fyrddiynau 'dd ânt,
Un pryd hwy gyd-ymgodant:
Hyfryda 'r deifr rhuadwy,
Gawrfloeddiant, llawenhânt hwy.
Ond huan eirian ei wedd,
Ef eilwaith, mewn gorfoledd,
I lawen ail oleuaw
Yn gain i'r dwyrain y daw.
Er dibris mawr a dybryd
Derfysgoedd holl bobloedd byd,
Gwir ydyw y Gwaredydd
Ar lon fryn Sïon y sydd.
Ni bydd ond goleuddydd glân
Yn Salem, ddinas wiwlan;
Yn gwawrio 'r tirion geurydd
Haul tyner cyfiawnder fydd.

---

# Y NAWFED RAN.

DILES, medd rhyw fydolion
Dybryd, yw cerdd o hyd hon:
Diddawn ydyw 'r brydyddiaeth,
Yn ofer ei amser aeth.
Felly, cofiwch, gyfeillion,
Diras hen Suddas wnai son.
Y wraig eirwir hygaraf,
Mewn mwyn fodd enneiniodd Naf,
Arogl glân yr eirian rodd
Haelionus y tŷ lanwodd.
Suddas ydoedd was addig,
Druan o ddyn, a droe 'n ddig:
Ond y cyfion Ion a wnaeth
Gu son am ei gwasanaeth:
Ei ras a'i hedd roes iddi,
Canmolodd a hoffodd hi.
Cân gynnes y fynwes fau
I lwys Ion eiliais innau,
Ag arogl o wâr gariad
Boed iddi orlenwi 'r wlad.
Gwiwber gennyf y gobaith
Y derbyn Duw gwŷn y gwaith.
Chwi arwyr disynwyr sydd
Drwy fraw 'n caethgludaw gwledydd,
Drwy lid cas gwynnias ar g'oedd
Tra 'n ysu y teyrnasoedd,
Er ynnill iw'ch fawr enwau
Gwarthus gan fyd gwawdus gau,
D'wedwch, Pa wynfyd ydyw
Pa fudd, pa les eres yw
Mwyniant balchder am ennyd?
Cysgodion gweigion i gyd!
Ystyriwch, rhyfeddwch fâd
A gwir anfeidrol gariad
Celi, ein Duw ni, da Nawdd;
A llawn allu ennillawdd
Hwn drag'wyddawl frenhiniaeth!
A'i rhoddi i ni a wnaeth!
E ddaw it' fawl diddiwedd,
Iesu hael, am deyrnas Hedd.
Y geirwir oll a'th garant,
A'th fawrhâu 'n un enau wnant.
Ymaith, gyndyn ddyn, na ddos,
Yn diriawn gwrandaw, aros,
O herwydd i'r dihirwas
Mae mawrion roddion o ras.
Y dinerth a'r cyndynaf
Fywiogir, nerthir gan Naf.
Celi, mewn ymdrech calon,
Duw fry a nertha dy fron.
Nag ammhau Dduw yn gymmorth
Presennol a bywiol borth.
Mawrion ddysgedigion da,
Dedwyddaf o hâd Adda,
(O dêl fy ngwaith i'ch dwylaw,
Ryw ddydd, os mŷn Ior, e ddaw)

Cenhedloedd cain eu hodlau,
Beirdd celfydd am gelwydd gau,
Eu melys waith ganmolir,
Er ei fod heb gysgod gwir.
Gweniaith a gwag ogoniant
Yn fynych gennych a gânt.
Siommwyr enaid rhesymmol,
Siommiant yw pob ffuant ffol:
Ni wna ffuant, siommiant syn,
Yr enaid well o ronyn.
Yr unig bêr awenydd
O ffynnon Sïon y sydd:
Ei doniau fywhâ 'r dinerth;
I mi, yn Nuw, y mae nerth.
A gynheuau' dân dynawl,
Medd Duw gwŷn, hyn fydd eu hawl;
Dïammau wrtho 'mdwymant,
Mewn chwerwedd gorwedd a gânt.
Boed i bagan ei gân gau,
A mwyn fawl Ion i minnau.

Mae 'n Brenin, mwynbur Ynad,
Mae 'n awr, Eiriolwr mawr mâd,
Oen diddig a fu 'n dioddef,
Mae 'n awr o flaen allawr Nef;
Mae 'n eiriol am nefol nawdd
I'w weision a ddewisawdd.
Wrth ganfod ei gerth Gynfab
Mae 'r Ion yn foddlon i'w Fab.
Bydd Nêr gyd â'i dyner Dad
Hyd fore 'r mawr adferiad:
A dilys y daw eilwaith
I lawr o'r Nef wenfawr faith,
Yn Ynad, Ceidwad cadarn,
Mewn rhyfedd fawredd Fe farn.

Daeth y dydd! e rydd yr Ion
Ei ddoniau hael i ddynion.
Mwyn Ior! beunydd mae 'n eirwir,
Mi ganaf i Naf yn wir.
Ys teulu 'r apostolion
Fawrygant, foliannant Ion,
A melys lef tra molant
Ei borth a'i gymmorth a gânt.
O'i liwgar Nef oleugerth,
Swn, megis hynt corwynt certh,
A ddaeth, ac a wnaeth yn awr
Lenwi 'r deml oleu loowawr.
Gwelwyd yn y dydd golau
Gu roddion mawrion Ior mau,
Wŷr diddan, ar y deuddeg,
Mal glân dafodau tân têg.
Gan Ysbryd hyfryd Duw Hedd
Rhannwyd iddynt bob rhinwedd.
Ac eraill o bob gorawr
Is nen nef sy 'n syn yn awr:
Dynion heb wybod uniaith
Yn bur yn traethu pob iaith!
Nerthol a mawrion wyrthiau
Y Duwdod, a'i loyw glod glau,
Hyddysg maent i'w cyhoeddi
Yn berffaith yn ein hiaith ni!

Ni wiw gwrthddadlu o neb,
Gras Ion wnai 'n ddim groesineb.
Troe miloedd yn gyhoedd gu,
Dda weision, at Dduw Iesu.
Pregethu i bob llu llawn,
Iachâu clwyfau pob cleifiawn.
Rhoi 'r Ysbryd goleubryd glân
Wnai 'r deuddeg yn wŷr diddan.
E fagai hyn gynfigen,
Garwa' llid, yn y gwŷr llên.
Ofer ydoedd fwriadu
Troi gweision cyfion Ior cu.
Ior ei addysg ro'i iddyn',
Rhesymmau uwch doniau dyn.
Dewiswyd a gredasant,
A bywyd i gyd a gânt.
Y nawswyllt a'r gwrthnysig
Gânt derfyn mewn dychryn dig.

Pan ro'i Nêr lawnder o lwydd
I Salem, ei ras hylwydd,
Dirmygai, erlidiai 'r wlad
Yr Arglwydd a'i rwydd roddiad.
Duw Iesu wrthodasant;
Eu llysu a'u gwerthu gânt.
I'w gwlad, wedi t'w'nniad dydd,
Dunos ddaeth ar adenydd.
Certh yw y wiwferth nefoedd,
Cledd gwaedlyd neu danllyd oedd.
Torfoedd disgleirbryd dirfawr
Welid yn nen nef wên fawr.
Amlwg i'w golwg yn gwau
Yw 'r terfysg a'r trwst arfau.
Amlwg i'w golwg yw gwawl
Dinasoedd yn dân ysawl.
Crynai 'r ddaear liwgar lawn,
Siglai 'r ddinas euog-lawn.
Rhufain nerthawl, freiniawl fro,
Eryrod* hynod honno
Ehedent, amgylchent gaer
Olyglwys Salem loywglaer.
Drwy 'r ddinas ddi ras yr oedd
Terfysg mawrion gatorfoedd.
Gwae weled y trigolion
Mor waedlyd o hyd yn hon!
Croeshoelio a rhwygo 'r rhai 'n
Yn y rhyfel wnai Rhufain.
Gwelwyd hwy 'n lladd eu gilydd,
Rhyw ryfel dirgel bob dydd.
Tyrru, tabyrddu mewn bâr,
Yr oedd byddinoedd anwar.
Y Duw byw oedd heddyw 'n hel
A rhifo nerth y rhyfel.
Newyn ei wg drwg a drodd,
A'u heinioes a ddiboenodd;
Drwy 'r ddinas addas iddaw
Cerddodd a throdd yma a thraw:
Hyll reolwr, lle 'r elai
Ymledu, cynnyddu wnai.

* Gwel tudal. 131.

Yn welw gul anelwig aeth,
Rho'i filoedd i farwolaeth.
Hwy borthent âg aberthau
Yn ddi fudd eu goludd gau.
Mammau, Och eiriau chwerwon!
Echrydus, arswydus son!
Aberthai, rhostiai y rhai 'n
Eu tyner blant eu hunain!
I'w waedlyd safn ddïadlam,
Er hyn, fe a'u mŷn bob mam.
Pan glywodd, ni fedrodd fo,
Eu gelyn, lai nag wylo:
Pwysodd hyn ar Fespasian,*
Yr oedd gloes i'w ruddiau glân.
  Trwst arfau, twrf muriau mawr,
Gawr torfoedd mewn gryd dirfawr,
Fflammau yn gwau o dân gwyllt
Drwy 'r ddinas eirias orwyllt!
Braw mawr drwy wybr a moroedd!
Trwy nattur braw eglur oedd!
Isel y nef dan Iesu
Ymgrymmodd, ymdôdd mewn du.
Terwynnion fyllt taranau
Gwynnias o gwmpas yn gwau!
Trwy 'r oror rho'i 'r Ior eirian
Yr awyr du ar arw dân!
Iuddewon di faddeuant,
Gwallgofi 'n aneiri' wnant.
Hafal ydoedd oll hefyd
I ddydd Barn, i ddiwedd byd!
  Oh weled hardd deml wiwlan
Iehofa 'n difa gan dân!
Llosgodd, anrheithiodd y rhai 'n
Honno â'u dwylo 'u hunain.
Morïah yn mawr ruaw,
Gwyllt-fflammio 'r oedd drwyddo draw!
Drwy y loywdeg dre' lydan
Pob mâd adeilad ar dân!
Ni welid o hon olwg
Gan dorchau cymmylau mwg!
Y caerau, tyrrau tirion,
Yn hwy ni welir yn hon!
Dilëwyd o wawl awyr,
Distrywiwyd, llosgwyd hi 'n llwyr!
Dïaledd ddaeth! Oh 'u dolef!
Can's trwy gynnorthwy y Nef
Gan Ditus gu o'u llu llâs
Myrddiynoedd o'u mawr ddinas.
Caid digawn o'u gwaed tewgoch
I liwio 'r gwyrddfor yn goch.
Am wrthod y Cymmod cu,
Y grasol a'r gwir Iesu,
Y ddewr genedl ddrygionus
Wasgarwyd, losgwyd fel ûs;
Hwy gludwyd i bob gwledydd;
Hwy 'n wawd ac yn syndawd sydd.
  Salem, ei drygnaws elyn
A'i llosgodd; hi haeddodd hyn;
Ond Sïon hyfrydlon fry,
Faith burwen, fyth a bery.
  Wele anwyl lawenydd!
Nifer ser y nef fawr sydd
Yn dyfod i'r cymmod cu
Grasusawl, dan groes Iesu.
Nid ffraethder a doethder dyn
A hudai 'r byd anhydyn
I droi ymaith o'u gwaith gau;
Nerthol a mawrion wyrthiau
Yr Ion a droent ar unwaith
Bob gwlad a galwad ac iaith.
Drwy 'r dwyrain gywrain i gyd,
Hafaidd orllewin hefyd,
A thrwy 'r gogledd hagrwedd hyll,
A'r dëau, oror dywyll,
Mal huan gwynlan, aeth gwawl
Y lwys efengyl lesawl:
Erchyllion gysgodion gânt,
Ddieifl nawswyllt, ddiflannasant:
Gwawr wyneb y gwirionedd
Yrrodd dwyll byrbwyll i'r bedd.
  Paul, yn gyflym, mewn grym gras,
A daenodd drwy bob dinas
Yr hanes a'r gyffes gu
Ddewisol am Dduw Iesu.
Od elid â'r gwr dilys
At farnydd a llywydd llys,
Rhesymmau golau a gaid,
Trywanai trwy ei enaid.
Cu eurddawn wr, lle cerddodd,
Y Diawl uffernawl a ffodd.
  Ymherodron, eirwon wŷr,
Gweision Diawl a'i negeswyr,
Drwy frâd tost, drwy fwriad dig,
Cras lid i'r Croeshoeliedig,
Erlidient bob rhyw wledydd
A'u hegni i ddiffoddi 'r Ffydd.
Er mor anfad brâd eu bron,
Llwynogod y Llyn eigion,
Gair ein Ior, gywira' Nawdd,
Goleuddoeth a gu lwyddawdd.
Aeth ffyddlon weision Iesu
Weithian yn fawr lydan lu.
Ni wyrai torf aneirif
Rhag llawn beryglawn heb rif.
Nid ofn dwr na dyfnderoedd,
Na blys aur neu blasau oedd
Ddigon i'w troi 'n ddïogel
O lwydd gwresogrwydd eu zel,
Diddig oeddynt yn dioddef,
Llosgent os ennillent Nef.
  Ar ol deg erledigaeth,
Gair Iesu cynnyddu wnaeth.
Merthyron cyfion fil cânt,
Gair da Iesu gredasant.
Efe a rodd ei fywyd
Ar groes dros bob oes o'r byd.
I'w weision ni ddanghosawdd
Yr un Ior y cyfryw nawdd,

* Titus Vespasian, y Llywydd Rhufeinig.

Neb fath ffyddlondeb i'w lu
Dewisol, â'n mâd Iesu.
Gwelid ac adwaenid Ion
Yn ei lwys anwyl weision:
Yn ddifai hwy oddefynt
Yn rhwydd dros eu Harglwydd hwynt.
O lid ac erlid garwlym
Gweis Diafol, aruthrol rym,
Aeth y saint, rhagorfraint gu,
Dda weision, at Dduw Iesu,
I lân Hedd, i lawenhâu,
Yn filoedd i'r Nef olau.
Ond Oh mor groes yw 'n hoes ni
(Dinerth ym mhob daioni)
I'r oesoedd ag ydoedd gynt!
Am aur hwy nid ymyrrynt.
Am aur swm y mae 'r oes hon,
Diwala yw 'r bydolion.
Wrth weiniaid mae 'n danbaid iawn,
A thêg wrth gyfoethogiawn.
Heb oedi, clywch, bob adyn,
Ystyriwch, a chofiwch hyn;
O gyfoeth y tardd gofid,
A chwerwder a llawer llid.
Rhag gofid a llid llydan
Mae tlodi 'n cysgodi 'r gwan.
Oh weled annuwiolion
A diras haid yr oes hon!
Lledrad, twyll ac anlladrwydd,
Cablu, tyngu, rhegu 'n rhwydd;
Godineb gwedi ennyn
Dros y tir; y mae 'n drist hyn.
Gorthrymder, balchder sy 'n bod,
Deubeth croes i gydwybod:
Mae 'n ofid, mwy yw nifer
Drygau 'r byd surllyd na 'r ser.
Bugeiliaid y defaid ŷnt
Anhwylus iawn eu helynt:
Y mae (Oh gwae, gwae mai gwir!
Golau gan bawb y gwelir)
Meddwdod, cybydd-dod a bâr
Yn llenwi eu llu anwar.
Oh Arglwydd Dduw y duwiau!
Casêi 'r diffaith â'u gwaith gau;
Bwrw dy lid, mae 'n bryd, i lawr
Yn fflammau, 'n dyrfau dirfawr;
Difa o blith y defaid
Y geifr hyn, wâg ofer haid.
Y sawl sydd beunydd yn bod
Dan eu baich o dŷn bechod,
A hwy 'n flinderog o hyd
Gan ofnau beiau bywyd,
Oh Dad addwyn dod iddynt
Ryddhâd a pherffaith rwydd hynt.
Clywch, weiniaid, bob enaid byw,
Iach addysg gwrandêwch heddyw;
Os y Mab, os Iesu mwyn
Ry' ryddid hawddgar addwyn,
Ar unwaith fe ddaw 'r enwir
Yn rhyddion weision yn wir.

Pa fâd alwad i'w dilyn
I'w ddyddiau sydd orau i ddyn?
Y gwladyddion mwynion mau
Redant yn offeiriadau;
Dynion, yn gyffredinawl
Heb iddyn' fymryn o fawl.
Hil Aaron, wr cyfion cu,
Er eu swydd, wnaent droseddu.
Gwelwn mai am y golud
Annigonol marwol mud,
Ac nid am gu eneidiau
(Fal esgobion, gweision gau,
Sy 'n gwerthu 'r Iesu a'i ras
I dyrru 'r mammon diras:
Am hyn, heb derfyn, heb dawl,
Gwae iddynt yn drag'wyddawl)
Yr oedd y goruwch raddau,
Pwy 'n y byd i gyd mwy gau?
Gwrando, a Duw 'th lwyddo, langc,
Cofia, y gwr cu ifangc,
Yn ddïammau gorau gwaith,
Gwybydd, yw troi gwag obaith
Heibio, prysuro i'th swydd,
A'i dewis yn ol d' awydd,
Yn ol gair bywiol di baid
Duw anwyl yn dy enaid.
Os ti a gyrhaeddi Hedd,
Wr mwyn, cymmer amynedd;
Diodde' odfa dydd adfyd
A chalon fodlon i'th fyd.
Oh bydd, tra bo'r dydd yn dal,
Yn gyfion, yn llawn gofal;
Y nos, bob awr, sy 'n nesu,
A fawdd y dydd i fedd du.
Yn awr mi ddeuaf yn nes
I fanwl chwilio 'th fonwes:
Gwir hanes a gei ronyn
O anfad dueddiad dyn.
Y galon anffyddlon ffol
A'i dyrys flys aflesol,
Heb Dduw gwŷn, heb dda gynnydd,
Oriog, ansefydlog fydd:
O dwrf llawenydd dirfawr
I lid mae 'n newid mewn awr.
Yn bennaf yn hon beunydd
Rhyw gau ddeisyfiadau sydd:
Ac weithiau gwag ofnau gânt,
Heb lonydd, hwy a'i blinant.
Y Naf a wnaeth y nefoedd
O'r gymmysgfa gynta' ag oedd,
Fe 'n hawdd a'n lluniawdd o'r llwch,
Fe 'n hawdd eill anfon heddwch.
Gwilia lygredd dy galon,
Da fydd i ti holi hon.
Boed byth dy gydwybod bur,
Ac Iesu it' yn gysur.
Cydwybod hynod ei hiaith,
Ar ol dirol fradwrwaith,
A wnaeth euog fradog fron
Iscariot yn yscyrrion.

Drwy goelio ei dri gelyn
I bechod dyfod mae dyn;
Ac o bechod, garwnod gau,
I benyd a blin boenau.
Os addef ei droseddiad
Yn flin dost o flaen ei Dad,
Llwyr goeliaf, er llu 'r Gelyn, [ddyn.
Duw 'n rhwydd a'i gwna'n ddedwydd
Bu Mair Magd'len wên waneg,
Diawles ar lun duwies dêg,
Dan boen erchyll, dan hyll haid,
Caeth reolaeth cythreuliaid;
Yn dêg hael Oen Duw Celi,
Glanhâodd, rhyddhâodd hi;
A hon a'i carodd o hyd
Yn odfa ei ddwfn adfyd.
Geill dyn, wrth borthi gwall dŵl,
Foddi pob dawn o'i feddwl;
Er hyn cydwybod fŷn fod,
Ddwys enwog dduwies hynod.
Oh yr annuw dirinwedd!
Chwardded wrth fyned i'w fedd!
Och wŷr-da! mae blin chwerwdawd
Wrth chwerthin mewn gwin a gwawd:
Can's honno 'n ei sardio sydd,
Yn ei flino 'n aflonydd:
Distaw, didaw mae 'n d'wedyd
I'r drygddyn fal hyn o hyd,
I'w fouwes oddifewnol,
Mae 'r dydd annedwydd yn ôl.
A roddo 'i fryd ar ruddaur,
Ar faswedd, gwagedd ac aur,
Cofied, mor siccred â saeth,
Ei dâl a fydd hudoliaeth.
Heb Dduw Ion, heb hedd unawr,
Pa les a mael yw plas mawr?
Mae 'r enwog galluog llawn,
Gwrolwych, yn byw 'n greulawn,
Ar ei dir yr hydera,
Aur coeth a'i gwna 'n wr doeth da;
Mae 'r gwan-wr (O mor gynnes!)
Dan law Ion, da iawn ei les,
A'r gwâr-ddyn ofno 'r Gwir-Dduw
Dan odiaeth gadwraeth Duw.
Yr annuwiol bydol bas
A dyrrant yn llu diras;
Deuwch, lladdwn y duwiol,
Na 'dawn un o'u hâd yn ôl.
Anferth amcanion ynfyd!
Rhyfygus gwarthus i gyd!
Dinystr ddaw i'w bryd anhardd,
Nêr, o'r Uchelder, a chwardd:
Dengys leoedd dïangol,
Ni âd Naf weiniaid yn ôl.
Sophyddion yr oes hon sydd
Yn mynych flino 'u 'mennydd;
Rhyfygu diraddu 'r Ion,
Dawnus Waredwr dynion:
Yr Yspryd goleubryd glân,
Ei Dduwdod heddyw wadan'.
Ai gwŷn am wâg ogoniant
Sy 'n rheibio, sy'n dwyn co' cânt?
Ai 'r Fagddu sy'n dallu dyn
A'i geudeb yn goeg adyn?
Gwae fo fyfyrio am fawl
Ehedwyllt y byd hudawl.
Cofient hyn o bwngc hefyd,
Mae hyn i'w herbyn o hyd,
Rhesymment, 'mofynent fyth,
Delwent rhag y Gair dilyth;
Drwy 'r ysgrythur eglur yw,
Y Duwdod, Yspryd ydyw;
Yr un yw Duw 'r gwirionedd
Ac Yspryd hyfryd yr Hedd:
Un Awdwr dinewidiad,
Yr un Duw yw 'r Oen a'i Dad.
Da i fâd fod Ceidwad cadarn,
A da iawn fod Ion a farn.
Er hyn y mae rhai annuw
Y sy 'n dweyd nad oes un Duw.
Denwyr i anghrediniaeth!
Pa lygredd, pa wagedd waeth?
Och! a gollasoch chwi'n llwyr
(Ymswynwch!) eich pum synwyr?
Pwy wnaeth y byd hyfryd hwn?
A'r nerthawl wawl a welwn?
Y lloer a'r ser gloywber glân,
Lu eres, a'r haul eirian?
I ddyn pwy a rodd enaid?
On'd hyn gan Dduw gwŷn a gaid?
Defod rhai awdwyr difoes
Hefyd yw d'wedyd nad oes
(Oh ddyrys ryfedd araith!)
Na chorph nag enaid ychwaith,
Na môr maith, na dae'r laith las,
Na hoyw loer, na haul eirias.
Ba'nd eres y mawrles maith
A geir yn eu rhagorwaith!
Dedwydd wŷr mawr clodadwy!
A gwŷn eu byd hefyd hwy,
Wych awdwyr, sy 'n eich adwaen!
Os caf, mi blygaf o'ch blaen.
Haeddawl ddysgawdwyr hyddysg!
Wedi 'ch dydd y derfydd dysg!
O! meddwch chwi, gwegi i gyd
I wanfardd diddysg ynfyd
Roi barn ar y cyfryw beth,
Ei fawrboen fydd oferbeth.
Mae esgobion mawrion mâd,
(Mawr oedd eu camgymmeriad!)
Sophyddion ffriwlon a ffraeth,
(Dynion heb ddim crediniaeth)
A'u llyfrau 'n eglurhâu hyn,
(Eu dwndwr ni chred undyn)
Feddyli maluri i lawr
Yr adeilad i'r dulawr?
Gwaith heb raid i gaeth brydydd
Uniaith, oferwaith a fydd.
Rhyfedd son! dynion â dysg
Ac ammhwyll mawr yn gymmysg!

Ewch i gyd ar hyd yr ha',
Oferwyr, i fwyara.
Fu erioed fwy o w'radwydd?
Gwyddir hyn gan blentyn blwydd,
Na weled ef lân wawl dydd
A goelia'r anferth gelwydd.
Dewiniaid o hâd Annwn,
Ar ol eu camsyniol swn,
Hwy a lesol daflasan'
Eu llyfrau'n dyrrau ar dân:
Ewyllysgar, O llosgwch,
Fal hwythau, eich llyfrau'n llwch!
Yr hen gyrph, dowch ar un gair,
Neidiwch, codwch o'ch cadair,
Rhowch dro; pwy etto a ŵyr,
Wedi swn, na's daw synwyr?
Wele dŵr o lu diras!
Ysgwyd pen a gwneud gwên gas.
Yng nghrog bo'r fath benglogau!
Goddaith fo'u gwageddwaith gau.
Try'r ddinerth nattur ddynol
I bob trwch ddiffeithwch ffol;
Treisia'r byd i gael trysawr
A gwin a medd ac enw mawr.
Llawn yw'r fron a'r galon gau,
Ni wedir, o ddrwg nwydau.
Rhoes Ion reol dduwiol dda
I ddyn; er hyn meddianna
Gwageddau, pleserau sal,
Eneidiau yr anwadal.
Os gwneir gwrthod cymmod cu
A gras yr hawddgar Iesu,
Rhyw flys dyrys daearawl,
Blys golud mwynglud a mawl,
Blys cnawdol, a'r Diafol dig,
Uffernawl hen Sarph ffyrnig,
O'i rinwedd bob yn ronyn,
Sy'n denu, 'n bradychu dyn:
I'w ddinystr sawdd i Annwn
Mewn maswedd, serthedd a swn.
Gwel, ynfyd! berygl anferth,
Ymaith tro mewn cyffro certh;
A gwel ryw debygoliaeth,
Fasweddwr! o'th cyflwr caeth:
Môr-ddynion amryw ddinas
Fo'n hwylio'r gogleddfor glas,
Dig ofid a dygyfor
Rhwng creigiau, rhwng muriau'r môr,
Pan glywant, arswydant swn
Y llyn fal safn hyll Annwn.
Os atto hwylio wnan' hwy,
Berw y ffrwd braff ruadwy
A'u tynn, ar edyn yr ânt
I'r hyll fôr a'r llifeiriant:
Yn yr anferth ryferthwy
Rhuthrant ac ehedant hwy
I lidiawg fawr waelodion
Iselder dyfnder y dòn.
Unfodd â pob rhai ynfyd
I sugnedd gwagedd i gyd:
Mynych, Oh rhy fynych fydd!
Hynny a wna'u dihenydd!
Gwae fi'n awr ddigio fy Naf;
Etto mae'th gariad attaf.
O ganol mawr ddrygioni
Gwaredaist, cyfodaist fi.
O ran dy fawr dirionwch
I'm rhyddhâu o'm troiau trwch,
Meddyliwn yma'n ddilyth,
Erod, na wnawn bechod byth:
Ond anwadal yw'r galon,
Gwyniau hyll sy'n gwanu hon.
Ac wedi pob gwegi gwael,
Mawr ofid ac ymrafael,
Ar ol pob afreolaeth,
Pob ffoledd, pob camwedd caeth,
Ochenaid—dim ychwaneg
Ni fedd dyn i'r Nefoedd dêg.
Ni ŵyr un o'r rhai annuw
Mo ddoethion ffyrdd dyfnion Duw:
I'r isel rhydd yr Iesu
Ei ddirgelion cyfion cu.
O râd! O gariad Duw gwŷn!
Anwyl gariad a ennyn
Trwy waelod daear helaeth,
Trwy hon a'r eigion yr aeth:
Ni werthir hwn am fwnai,
Ni phrynir â thir a thai:
Caredigrwydd mawrlwydd mâd,
A delir â gwir gariad.
Dy gariad, râd Waredydd
Nefol, annherfynol fydd.
Boed i arall baderu
Ar angylion, loywlon lu;
Goreu i mi, mewn gwirair,
Ddweyd fy nghwyn wrth Fab mwyn Mair.
Oh am ei nawdd mwyneiddiaf!
Rhoi'm hyder ar Nêr a wnaf.
Heddyw mae'n rhoi gwahoddiad
At orsedd ei ryfedd râd.
Gwledd o gariad a heddwch,
Gwledd cymmod o'n trallod trwch,
A gwledd o drugaredd gu,
Ddewisol, yw gwledd Iesu.
Yn ei wledd anwyl addas
Hael Ddofydd a rydd ei ras;
Duw anwyl gryfhâ'r dinerth,
Gwna'r Iesu gynnyddu nerth.
Oh'r ddigred galed galon!
All geiriau feddalhâu hon?
Ei ddwylaw,—pan feddyliwyf,—
A'i draed,—mewn syndod yr wyf.
Ior anwyl, Rhoddwr einioes,
Naf glân, yn griddfan ar groes!—
Rhyfedd! dros bob rhyfeddod!
Wrth fanwl feddwi ei fod.
Tros bwy o'r rhai traws bu Ef
Mor ddiddig yn mawr ddioddef?
Oh Nêr! addfwyn wareiddfab!
Oh drosof fi, diras fab!

Ac erof e fu'n gorwedd
(Mae'n syndod!) is bargod bedd!
Ba rodd burlwys bereiddiaf
Am hyn i Dduw gwŷn a gaf?
Pa fendith? O pa fwynder
A dalaf i'm Naf, i'm Nêr?
Wylaf am Naf y Nefoedd,
Weled garedicced oedd;
Dïau mi a wnaf dywallt
Am Geli yr heli hallt.
Ei chwerwaf garwaf gerydd,
Ei gur trwm a'i gariad rhydd,
A'i ing,—os ânt yn anghof,
Trawsa' gwaith! nid â tros gof
Angerddawl gan y Gwir-Dduw;
Na wna'n Elyn, O ddyn, Dduw!
Tra b'om ar y ddaear ddu,
Nêr hynod, y mae'n rhannu
Hyfrydlon fendithion da
Dïammhur i'r byd yma.
Golwg hardd ydyw gweled
Afon i'r eigion a red,
Blodau o bob lliwiau llon,
Gerddi a dolau gwyrddion.
Pan fo'r ser lawer o lu
Ar unwaith yn serennu,
O hardded yw gweled gwawr
Y loywfwyn nef oleufawr!
Er blodau a lliwiau llon
Gerddi a dolau gwyrddion,
Mwy tirion a gwiwlon gwedd
Yr enaid lle bo rhinwedd.
Er hardded yw gweled gwawr
Y loywfwyn nef oleufawr,
Câr didwyll y credadyn,
Ior gwâr hardd, ragora ar hyn.
Tirion i'r dealltwriaeth,
Helaethder o fwynber faeth,
Yw cymmaru mor gu gain,
Mor gaerog ac mor gywrain,
Cyttuna'r byd, breuddwyd brau,
A'r nefol bythol bethau.
Adda'n Eden, ddyn odiaeth,
Dan drymgwsg, mewn rhwym cwsg caeth,
Yn ddilys ei ystlys ef,
Wr glân, gan Ior goleunef
Egorwyd, a gwraig eirian
A luniwyd, roddwyd i'w ran.
Yr Hwn a fu'n rhoi'i einioes,
Addaf o Nef, ar gref groes;
Yn wridog yno'r ydoedd,
Yn rhwymau'r angau yr oedd:
Gwanwyd, y Nêr mwynber mau,
Ei santaidd ystlys yntau:
Dyna'r ffynnon fywlon faeth
O dirion iachawdwriaeth:
Yr Eglwys, Wraig rywioglon,
A geiff râd lanhâd yn hon.
Yn ddïau'r hen Iuddewon,
A'u diras hâd yr oes hon,
Yn wir mae'r rhai'n yn arwydd
O'r gofid, o'r llid, neu'r llwydd
A ddaw i lân ddilynwyr
Iesu gwŷn, ddewisa' gwŷr.
I'w cu nerthawg Gynnorthwy
Anwyl iawn gynt oeddynt hwy.
Dïau anwyl yw'r dynion
Yn awr a gredant yn Ion.
O'u tir têg y torrwyd hwy,
Drwy'r gwledydd yu dreigladwy;
Llanwyd hwynt â dallineb
Ysywaeth! yn waeth na neb;
Ac eilwaith cânt gu olwg,
I'r wir ffydd Dofydd a'u dwg.
Crefyddwyr, proffeswyr ffydd
O'r galon, i'w mawr g'wilydd
Droseddant, a ddigiant Dduw
Unwedd â'r digred annuw.
Ond etto lle gwreiddio gras,
Cu foddion fônt cyfaddas
Yn anwyl wnan' ei ennyn,
Ryw dro, i geisio Duw gwŷn:
Hwy'n dêg, yn garedigol,
Dderbynir yn wir yn ôl.
Aml sylwyd fod teml Selef
Ddedwydd yn arwydd o Nef:
Hi luniwyd mewn haelioni
Heb un adail o'i hail hi.
Y meini mawr dymunawl,
Y rhai'n, oedd mor gain â'r gwawl,
A naddwyd draw cyn iddynt
Fod yn berffaith i'w gwaith gynt,
A luniwyd yno'n lanwaith
Barod i'w gosod i'w gwaith.
Puredig feini 'sprydawl
Glân Eglwys geinlwys y Gwawl,
Hwy yn y byd hadlyd hwn,
Mewn amryw ffyrdd, fyrdd fyrddiwn,
I'w lawen Deml oleuaf
Gymhwysir yn wir gan Naf.
Gloyw Adail! ym mhob gwledydd
Dyfnderau ei seiliau sydd,
A'i Phen yn yr hoff wiwnef
Glaerwych, yn entrych y Nef.
Ei phoenau pan orphennir,
Yr Eglwys wenlwys yn wir
I lonfawr nefol Wynfyd
Yn wir a godir i gyd:
Cywrain fydd y cywirwaith!
Duw Nef hyfryda'n ei waith!

Chwef. 21. 1918

o

# Y DDEGFED RAN.

F' Awenydd, clyw fi unwaith,
Brysia, diwedda dy waith;
Diwedda 'th hyfryd addysg
Yn llawn o ddawn ac o ddysg.
Siriol d'w'nned yn seirian
Dy nefawl brydyddawl dân.
Doniau sydd gyffredinawl
Drwy 'r holl fyd i gyd fel gwawl,
O ras sydd, er oes Adda,
I'r annoeth a'r dwfnddoeth da,
I'r ffyddlawn iawn ei einioes,
I bob gwlad, galwad ac oes;
Hynod mai Duw ei hunan
A'u plannodd, rhoddodd i'w rhan;
Yn rhwydd lon y rhydd o'i law
Fwyn addysg i'w defnyddiaw.
Try nattur o'i ammhur hynt
I'w hylwydd nefol helynt.
Ior hael, Fe sy 'n rheoli
Cynneddfau 'n heneidiau ni.
Un yw hon; pawb i'w lon wlad
A geir yn dwyn mawr gariad.
Affricaniaid, weiniaid wŷr
Gwaelion, dan dost fygylwyr,
Gwynant am eu gwlad ganwaith
Dros ddyfroedd y moroedd maith.
Dïau pan ymadawant,
Llawenhâu yn angau wnant:
Cânt fyn'd weithion, waelion wŷr,
O rwymau eu gorthrymwyr;
Myned, O mor ddymunol!
I glyd nawdd eu gwlad yn ôl!
Y Groegiaid, fal goreugwyr,
Gwrol iawn ragorawl wŷr,
Hy' weision, hwy ddanghosynt
I'w gwlad eu mawr gariad gynt.
Rhïeidd-lu 'mhell o'u rhydd-wlad,
Y' nghanol gelynol wlad,
Hwy gaen' hygar gynhygiawn,
Amryw waith, o wobr mawr iawn.
Ond hwy a attebant hyn;
Eich golud boed i'ch ga'lyn;
Oferedd yw llefaru
Am gyfoeth ac aur coeth cu.*
O'ch crog oludog wledydd
Awn i'n mâd oreuwlad rydd.
Synnai 'r gelyn dros ennyd,
Synnent, gwallgofent i gyd.
Rhyfeddod fawr fu iddynt
Eu hatteb dihareb hwynt.
Persia, holl Asia 'n un llu,
Am y gweilch wnaent amgylchu:
Yn addig archen' iddynt,
Heb naccâu, eu harfau hwynt.
D'wedai 'r Groegiaid clodadwy,
Pa eiriau!—eu harfau hwy!
Yn awr troent eu banerau
Yn erbyn eu gelyn gau:†
Llu arfog rhestrog o'r rhai 'n
Dorrent nerthoedd y dwyrain:
Y rhai 'n drwy lydain wledydd
Ryfelent, deithient bob dydd,
Nes dyfod i loywglod lân
Hynod wlad Roeg ei hunan.
Gwelent hi cyn disgwyliaw
O drum y mynyddau draw:
O 'r burlan eirian oror!
O 'r mawr maith! y môr! y môr! ‡
Hwythau 'r hen dadau dedwydd,
Drwy gyfion berffeithlon ffydd,
Addas wèn wlad oedd iddynt
Uwch y ser, eu hoffder hwynt:
Adeilad heb ofn diluw,
Sef teyrnas a dinas Duw.
Crist'nogion mwynion, un modd
Hefyd mae gwlad ddeheufodd
I'r rhai 'n, y Nef gywrain gu,
Ddewisol, brynodd Iesu.
Didaw am eu gwlad ydynt;
Gweiniaid a dieithriaid ynt.

* Yn Hanes Groeg, cawn i Xerxes, Artaxerxes, Philip, ac Alexander, wneud pob ymgais yn eu gallu i demtio amryw o'i chadfridogion enwocaf, megys Leonidas, Epaminondas, Phocion, ac eraill, trwy gynnyg iddynt symiau anferth o aur yn wobr, i fradychu eu gwlad i'w dwylaw hwy; ond dychwelid eu gwobrwyon yn ol gyda'r dirmyg a'r digllonedd mwyaf, er y buasai yn dda i amrai o honynt wrthynt, yn enwedig y dewraf a'r tlotaf o honynt oll, Epaminondas, yr hwn, pan ddaeth y llwyth auraidd oddiwrth y brenin Artaxerxes at ei ddrws i'w gymmell iddo, oedd yn methu myned allan am fod yr *unig* wisg oedd ganddo yn y byd yn dygwydd bod ar y pryd gan yr olchwraig yn cael ei golchi.

† Pan ddaeth Xerxes â phum miliwn o'r Persiaid yn erbyn Groeg, gyda'r amcan o'i darostwng dan ei lywodraeth ei hun, cynhygiodd orsedd Groeg i Leonidas, brenin dewr Sparta, un o'r taleithiau Groegaidd, os peidiai a'i wrthwynebu. "Byddai yn annhraethol fwy dewisol gennyf farw dros fy ngwlad," attebai y gwron Spartaidd, "na chael y llywodraeth arni ar lwybr anghyfiawn." Anfonai Xerxes atto eilwaith i orchymmyn iddo roddi ei arfau i fyny. "Deued a chymmered hwynt," attebai Leonidas. Aeth allan yn ddioed yn erbyn Xerxes. Cyfarfydd y ddwy fyddin yn Mwlch cul Thermopylæ. Yma wele 300 Groegwr yn ymladd â phum miliwn o'r Persiaid! ac yn eu trechu!! Gorfodant y Persiaid i encilio o'u blaen gyda galanastra mawr, a chywilydd mwy, am dri diwrnod olynol, hyd nes y bradychwyd hwy gan un o genedl arall oedd gyda hwynt i ddwylaw eu gelynion yn ddiarwybod iddynt; ond ymladdasant nes eu torri oll ond un yn ddarnau gan fyddin y Persiaid.

‡ Cyfeirir yma at yr enciliad hynod a effeithiodd y cadfridog Groegaidd enwog Xenophon â'i ddeg mil o filwyr o Persia, lle yr aethent i gynnorthwyo Cyrus i orchfygu ei frawd Artaxerxes, trwy beryglon dirfawr ac aneirif oddiwrth ymosodiadau cenhedloedd gelynol, diffyg ymborth ac arian, afonydd llydain, anialdiroedd meithion, a mynyddoedd uchel a chreigiog ar eu ffordd, yn ol i'w gwlad eu hunain—taith dros 1800 o filldiroedd mewn 215 o ddyddiau!—y gwrolwaith milwrol mwyaf gorchestol, fel y tybir, ar gofrestrau hanesyddiaeth.

Tra bônt ar y ddaear ddu,
Yn fynych gwnan' riddfannu,
Och'neidio ac wylo 'n gaeth,
O eu dedwydd wlad odiaeth!
Yn ol myn'd trwy 'r anialwch,
Helbulon, pob troion trwch,
Ar ol i waredol ras
Eu dwyn at byrth eu Dinas,
Weithion hwy lon lawenir,
Wele y Nef olau 'n wir!
Nid dinerth freuddwyd dynol,
Nid siommiant, nid ffuant ffol,
Gwir yw hwn, gwir ei hunan!
Gwirionedd rhyfedd bob rhan!
Y weithred cyn sicced sydd
(F' enaid) â bod afonydd,
A dadwrdd tonnau didor
Fyrddiynau 'n ymylau 'r môr;
Cyn siccred ac y medir
Gwenith gwŷn y dyffryn dir,
I fywyd i gyd ar g'oedd
Daw 'r meirw o dir a moroedd.
Mor siccr a bod rhod yr haul
Eirian yn t'w'nnu 'n araul,
Gwaredydd, Barnydd y byd,
Wych Haul, a wna ddychwelyd.
Da y gwn fod y byd gau
Yn dŵr o bob blinderau:
I mi blinder yw 'mywyd,
Marw o beth i mi yw 'r byd.
Pe cawn, rhag ffrawdd, dan nawdd Nêr,
Adenydd c'lommen dyner,
Ehedwn o'r byd hudol,
Yn fuan o'i ffwdan ffol,
I anial le awn o'i lid,
O'i ddyfais a'i ddu ofid:
Yno ni'm blinai 'r anwar,
Cawn orphwys o bwys eu bâr.
Oh! am ysgol, nefol nawdd,
Yn ail i'r un a welawdd
Israel ar ei drafael draw,
Wr dethol, wrth hir deithiaw!
Ef, îs entrych y nefoedd,
Y gwas gwâr, yn ei gwsg oedd;
Gwir ydyw, i'r gwr odiaeth
Cyffro wrth ddeffro a ddaeth.
Fy Nuw mâd mor ofnadwy!
Fy Nêr Ion, ba fan yr wyf?
Dyma borth, dyma, eb ef,
Lanwaith ffordd yr oleunef;
Coeliaf dyma Lys Celi,
Dduw Naf, ac ni's gwyddwn i.
Santeiddiwr, Didolwr dyn
O ddwylaw ei ddu Elyn,
I'r enaid, bybyr anian,
Fe rydd adenydd o dân.
Yn iach bob afiach ofal,
Yn iach i bob sothach sâl;
O hudol fyd ehedaf,
Oddiar y ddaear ydd âf,
Oddiar fron dirion a da
Enwog fynydd Aonia,*
Goruwch wybrennawl geurydd,
Goruwch gwawl odiaethawl dydd,
I lân nefawl Oleuni,
Y Trag'wyddol, ar d' ol Di.
Dy borth, dy gymmorth, Duw gwŷn,
Ior Nef, yr wy 'n ei ofyn;
Dy gu eiriau, dy gariad,
A'm tywys i'th Lys a'th wlad.
Pa le 'r wyf? pa lawer iawn
O filoedd o Nefoliawn
A welaf? clywaf eu clod
A'u dedwydd fawl i'r Duwdod!
O gaerau hardd ac eirian!
O nerthawl ragorawl gân!
Seilfawr ehang breswylfod!
Dyma fan da i mi fod!
Gan Wawl digreedigawl da
Y rhyfedd fawr Iehofa,
Cariadus cu Waredydd,
Fe 'n siriol bresennol sydd!
Y rhai 'n, ein brodyr hynaf,
Rônt fawl certh, â'u nerth, i'w Naf.
Ei foliannu ni flinant,
Rhoi mawl beunyddiawl a wnant.
O fyw-lwysgu felysgerdd!
Mawr lu 'n cyd-ganu 'r un gerdd!
O'r lydan eirian orawr!
O gôr llawen Nef wên fawr!
Pêr yw geiriau, pur gywrain
Yw mawl annhraethawl y rhai 'n!
Clywaf a gwelaf hwy 'n gwau,
O lonned sain telynau!
A mawl unawl mi lenwaf
Amgylchoedd Nefoedd fy Naf.
Ninnau dan gaerau y Gwawl,
Hil Adda 'n orfoleddawl,
Iaith felys, sydd i'th foli,
Ein Noddwr a'n Tŵr wyt Ti!
Ti 'n unig wyt iawn Ynad!
Y Duw byw, Ti yw ein Tad!
Dy weision ŷm, Duw Iesu,
Bydd inni 'n Borth, cymmorth cu!
Diwrnod fu galed arnom,
Dirfawr fraw, a'r frwydr draw 'n drom,
Gwelaist, tyneraist, O Naf!
Ti noddaist blant hen Addaf!
O gariad tros bob geiriau!
Yn erbyn y Gelyn gau
Disgynnaist, cymm'raist ein cur,
Do, ein dyled a'n dolur.
Ti fwyn delaist ofyniad
Cyfiawnder digter dy Dad!
Y nef gu mewn du amdôdd,
Daear gron draw a grynodd,

* Mynydd Helicon, yn Aonia neu Bœotia, un o'r taleithiau Groegaidd. Yr oedd yn gysegredig i'r *Muses*, gan y rhai yr oedd teml orwych ar ei ben ef.

Do, agwrdd gaer Cre'digaeth!
A'r ffyrnig Ffau 'n ddarnau 'dd aeth!
Darfu it', Arglwydd dirfawr,
Orchfygu y Fagddu fawr.
O gariad tros bob geiriau!
Pwy 'n iawn all ffyddlawn goffâu?
Beunydd cei 'n rhwydd, Arglwydd Ion,
Haeddiannawl fawl gan ddynion.
Duw Yspryd yr hyfryd Hedd,
Arweiniwr i'r gwirionedd,
Dwg dithau 'n heneidiau ni
I'th lân berffaith Oleuni!
Oh dwg d' etholedigion
I weled hedd y wlad hon!
Ti, 'r Drindod oleuglod lân!
Doniawl fendigaid Anian!
Un Duw yn dri Pherson da!
Ti fydd beunydd yn benna'!
Pob anian, mae pawb ynnod
O bob rhyw 'n byw ac yn bod!
Iehofa, perffeithia 'n ffydd!
Yn ddidawl gwna ni'n ddedwydd!
I gynnwys, Ior gogoned,
Uchder, helaethder o led
Y dirfawr Lys diderfyn,
Rhy ddall ydyw deall dyn;
Rhy eglur, rhy loywbur lân
Yw'r olau wlad oreulan:
Disgynnaf, fy Naf nefol,
O'r Nef i'r ddaear yn ôl.
Rhyfedd yw'r drugaredd gu,
F' enaid, sy i'th ddal i fynu,
Na thorrwyd, na farnwyd fi,
Gwael annyn, o'r goleuni.
F' enaid sydd yn griddfannu
Rhag dy ofn, Uffern ddofn ddu.
Duw anwyl rhag myn'd yno
Yn blaid i f' enaid a fo.
Mae angau â'i saethau sŷn
Annelawg yn fy nilyn.
Meddwl yn fanwl, f' enaid,
Cyfrif i'w roddi fydd raid.
Tra 'r wyd fyw, heddyw, 'r awr hon,
O ddifrif hola 'th ddwyfron;
Ac addef i'r Trag'wyddol
Bob myrdd o'th ynfyd ffyrdd ffol.
Fe ddaw 'r Farn; Oh 'r Cadarn cu!
Grasol, fy hawddgar Iesu!
Fy Mrenin, fy mawr Ynad,
Bydd im', Nêr, yn dyner Dad.
Areithiwr, pregethwr* gynt
(Hynod bob un o honynt)
Ddarluniai 'r gadarn Farn fydd,
A'i fawrnerth euog farnydd†
Arswydai, newidiai 'i wedd,
Grynai rhag y gwirionedd.
Tra odiaeth bortreiadu,
Pe medrwn, y dwthwn du,

* Paul. † Ffelix.

Diwedd-byd a thwrf dydd-Barn,
Hefelydd a fydd y Farn,
Yn ddïau tydithau, 'r dyn,
Ofnit, grynit bob gronyn.
Ai nid golwg ofnadwy?
Pa syndod ryfeddod fwy?
Y loywdeg Frawdle lydan
Oddiar,—a daear ar dân!
Byddin o waelod beddau;
Torf Uffern, y Gethern gau;
Eirian lu glân Goleuni
Yn amlwg yn d' olwg di!
A'r Ynad, Ceidwad cadarn,
Ar eglur orsedd bur Barn!
Hyn, yn Nuw gwŷn, a ganaf;
Yn awr dy gymmorth, O Naf!
Yn awr, a'r Farn fawr a fydd,
Dy radau, Duw Waredydd!
Rhyw hynod ddiwrnod a ddaw,
O'n gŵydd wedi'i ddwfn guddiaw;
Rhyw awr fawr o arw fraw fydd,
Egorir nefawl geurydd.
Pa ddydd daw Barnydd y byd,
Yr Iôn a ŵyr yr ennyd:
Mae 'r hanes mawr o hynny
Tan gloiau 'r cofrestrau fry.
Dilys, pan ddêl dydd dolef,
Mal mellten egyr nen nef:
Daw nifer y wlad nefawl,
Fyrddiynau, o gaerau 'r Gwawl.
Gorseddau, bydd rhestrau 'r rhai 'n
Megis gwenglaer gaer gywrain,
Seirian ac anfesurawl,
I Feibion gwynnion y Gwawl.
Duo wna 'r haul yn dywyll,
Ei wawl rhagorawl a gyll:
Disgleiriach gwynnach nag ef
Ganwaith yw Nerthoedd gwiwnef.
Y lloer glir fydd yn llwyr gla',
Yn waed hi ymnewidia.
Y glaerwen dorf eglurwawr
Dywynna, belydra i lawr.
Yn awr gwelir banerau
Cochion a gwynnion yn gwau,
Yn hedeg rhwng gloywdeg lu
Gwâr weision y gwir Iesu.
Draw e wêl daearoliawn,
Y Nefoedd â'u lluoedd llawn:
Delwi a wnai 'r duwioliawn,
A galw ar fawr Enw 'r Ion.
Annuwiolion a welant,
Gwallgofi 'n aneiri' wnant.
O'i orsedd oleuwedd lân
Cerub a gwyd, cu eirian;
Fe gyfyd draw ei law lwys
I'r olau nef oreulwys;
I deilwng fawr Enw dilyth
Yr Hwn sydd ac a fydd fyth,
Y Nefolwawr penfelyn
A dynga, a gyhoedda hyn:

Fe aeth amser hoywber heibiaw!
Anfarwoldeb, Trag'wyddoldeb ddaw
O barch fe ostwng ei ben
I Lywydd y Nef lawen.
O draw taraw wna terwyn
Dyrfau er cadarnhâu hyn.
 Un ethawl o'r pennaethiaid
Gyferbyn, mewn gwŷn, a gaid;
Ac yn ei law geinliw ef
Enwog udcorn y wiwnef.
O'i orsedd ryfedd yr â,
Y Gwridog a gu rodia;
Try ei wyneb tirionwawr,
Siriol, o'i ledol i lawr.
Gwynnion luoedd Gogoniant,
'I olygu 'n anwylgu wnant.
E saif, gan ddewis hefyd
Man o'r wybren uwch ben byd;
Yna fe daena fal dydd
Ei dyner hardd adenydd:
Ac o'i ddeutu 'r Gloywbur glân
A fesura 'r Nef seirian,
Lon uchelion y Chwil-lys,
Y dirfawr oleuwawr Lys:
Yn isel e wêl eilwaith
Deyrnasoedd a moroedd maith.
Fe gyfyd draw, â'i law lân,
Yn araf, y corn eirian;
I'w erbyn, y Claerwyn clau,
Fe esyd ei wefusau;
A'i gain felysber ganu
Yn seinfawr wna'r Cantawr cu:
Mor glir, mor gywir y gân!
O'r clai y meirw a'i clywan';
Mor gywir, mor glir, e glyw
Hen Addaf, pob un heddyw,
Pob gwaelodion, pob gwledydd,
Bendithia y rhai da 'r dydd.
O flasus gân felysol!
Rhydd nef lon adlef yn ôl!
Ei ddolef gwyd feddylion
A mawr fraw 'mhob ammhur fron.
 Wele 'n awr, O anwyl Naf!
Wrth weled y wyrth olaf,
Angylion, oleulon lu,
Fyddant yn mawr ryfeddu;
Carcharau y croch weryd
Rwygir, egorir i gyd:
O dir a môr daw 'r meirwon,
Daw pob cnawd ddydd Brawd ger bron:
Codant i gwrdd Duw cadarn
O fôr a llawr i'r fawr Farn!
O'u cwsg hir gelwir i'r Gwawl
Niferoedd anniféiriawl.
Rhoddir pob oesau 'n rhyddion
Ynddi hi 'r Jubili lon.
Ion wna addien newyddu,
Ar d'rawiad llygad, y llu.
Yn union, yr un ennyd,
Codir hwy gippir i gyd
I fynu i'r nef wenwawr,
I nen y ffurfafen fawr,
O gyrraedd terfysg eirias,
Pan lysg hon, daear gron gras.
 Wrth ganfod gollyngdod llawn
Yr eres garcharoriawn
Eirian feibion glân gloywnef
Yn un llu unan' eu llef:
Gawr y gorfoleddfawr lu
Hynod a wna wahanu
Nef hyfryd i gyd;—eu gawr
A gyrraedd hyd gau orawr
Annwn;—i'r dieifl ar unwaith
Rhydd ddyfyn drwy 'r Marwlyn maith.
Ac ar hyn, mewn dychryn du,
Bellach ni's gallant ballu,
Holl ddreigiau 'r dyfnderau dig,
Codant o'u Ffau drangcedig:
Dychryn terwyn wna 'n taraw
Pan welom y dorf drom draw.
I Lys Duw lwys y deuwn;
Uchelder, ehangder hwn
Fydd mwy maith ganwaith nag yw
Ein tud, er cymmaint ydyw.
Siriol fydd y Llys eirian
Mewn gwyrddlas goleulas glân.
Hoywliw cain, mal gwawl haul cu
Dwyreiniawl ar dêr wenu,
Goreudeg fydd yn gwridaw
Ei dirion odreuon draw.
Gwelir o'r cŵr bwy gilydd
Enfysau 'n fwau;—e fydd
Arwydd Ior, fu 'n mawr oddef
Angau, ar fannerau 'r Nef.
O 'r Frawdle fawr hyfrydlawn!
Rhyfeddu wna 'r tri llu llawn!
Rhwng hoywgu ddisgleirlu glân
Anfarwol y Nef eirian
A llu 'r Ffwrn bygddu mae 'n bod
Helaeth wahaniaeth hynod.
 Ped iawn i'r fath ddau lawn lu
Mawrion gael eu cymmaru
A sal bethau disylwedd,
Gwelwon a gwaelion eu gwedd,
Fel odiaeth loer nef liwdeg,
Newydd, o flaen tywydd têg,
Ar lun ei rhod hynod hi
Daw glân lu gwlad Goleuni:
Mal lloer cyn duoer dywydd
Llu 'r Gelyn gyferbyn fydd;
 Bydd myrddiwn o'r gwaedgwn gau,
Câd Annwn, mewn cadwynâu:
Marwol eu gwedd mewn mawrwarth,
Gan lid a gofid a gwarth.
Torf ddiawlig y ffyrnig Ffau
Udant gan ddychryniadau.
Y' nghanol y ferthol fan
Y cefir y byd cyfan,
Myrddiynoedd pob mawr ddinas,
Y ffyddlon a'r beilchion bas;

Teyrnasoedd ac oesoedd gânt
Ryfeddol gyfarfyddant.
Gwelant y' ngwedd eu gilydd
Y fawr wahaniaeth a fydd.
Hagr wyneb wna 'r gwr annoeth;
Disglair fydd y diwair doeth.
I fynu gwna 'r cyfiawnion
Olygu yn lwysgu lon:
Gwiw fodd! daw ar gof iddynt
Yn berffaith eu gobaith gynt;
Cofiant eu diffuant ffydd,
A'u cariad dan bob cerydd.
Ei ddedwydd addewidion,
Yn ei ddydd, gyflawnodd Ion!
Gorfoledd gref a welant,
A gwynfyd i gyd a gânt:
I'm monwes mi ddymunwn
Flaen-brofiad o'r teimlad hwn.
Gwae 'r enwir mewn gwirionedd
I Farn gyfodi o fedd!
Gofidus adgyfodiad!
Crynant, ystyriant eu 'stâd!
Gan fraw ni's golygan' fry;
Yn ebrwydd gwelan' obry
Y lidiog ddaear lydan
Yn ffaglu, yn tafiu tân,
Mawr-chwyrn ffrydiau mwy erchyll
Nag Etna,* na Hecla* hyll!
Pob moelydd, pob dolydd da
Yn anferth un ennynfa!
Yr eigion cynddeiriogwyllt
A'i donnau'n gwau yn dân gwyllt;
Dirfawr derfyn daearfyd!
Llosgir, e burir y byd!
Gan folltau tyrfau 'r terfysg,
Yr awyr yn llwyr y llysg.
Rhuo, ymwrio wna 'r môr
Digofus, a dygyfor;
Berwi wna 'r mawrion beiriau
Yn nyfnlyn ei gerwyn gau;
Swniant gan wir wres ennyd
Y' nghanol berwfol y byd:
Hwy rwygant ddaear ogylch,
Hwy chwalant ei chant o'i chylch:
Dan fflammio, dan ruo 'r â
Yr Andes† i fôr India.‡
Try 'n awr y tir yn eirias,
Try 'n borphor y gloywfor glas!
O f' Arglwydd dedwydd a da!
Dirfawr!—uwch ben y dyrfa
Daw 'r Barnydd, y Llywydd llon!
Wych olwg! o'r uchelion!
Ar orsedd Barn gadarn gu
Addaswych, e ddaw Iesu!
Gorsedd loyw-wedd oleuwawr
Yn glaerwen ffurfafen fawr!
Mellt cochion gwyltion yn gwau!
O'r trwn rhua 'r taranau!
O'i flaen, mawr Naf y loywnef,
Ffy 'r ddaear, ennynna 'r nef!
O'u rhodau 'r ser ehedant,
A dirfawr iawn dwrf yr ânt!
Rhyfedd!—ni ellir hefyd
Ddyfalu'r lle y bu 'r byd!
Seraphiaid, Cerubiaid res,
Y siriol lïaws eres
Addolan', oleulan lu,
Yn isel o flaen Iesu:
Eu coronau cywreinion
A rwydd-ddïosgant i'r Ion.
E gryn tyrfa 'r gwŷr annuw
Wel'd Mab Mair yn ddisglair Dduw:
Y Diawl a'i erchyll deulu
A gryn gan y dychryn du:
Gorphwyllant pan welant Wawl
Ei degwch digreedigawl.
Tramawr daranau trymmion
Rônt heibio 'u rhuo 'r awr hon:
Distawrwydd ebrwydd obry
A ddaw o fraw 'r Barnydd fry:
Ior mawr! yn awr yn ei ŵydd
Teirawr parhâ 'r distawrwydd!
O'i eursail ddisglair orsedd
E dry Naf ei dirion wedd
I lawr ar aneiri' lu,
Cain Bur-Nêr, cyn eu barnu:
Ion a wêl ar un olwg
O draw y rhai da a'r drwg.
Fe edrych ar anfeidrawl
Fyrddiynau hardd gaerau 'r Gwawl;—
Ar uffernawl dorf ffyrnig
Croch Ddreigiau 'r Dyfnderau dig:
Fal cyn creu na dyn na dydd,
Na brynniau, na 'r wybrennydd;
Fal cyn creu Llyn digllonedd,
Na'r Gwynfyd, gwlad hyfryd hedd,
Bydd gosteg drwy 'r gloywdeg Lys;
Ystyriol ust a erys.
Fe welir y Nefoliawn,
A'r dorf dywyll erchyll iawn,
Mâd ac an-fâd yn fudion
Gan ddisgleirdeb wyneb Ion.
Fy Mhrynwr, fy Marnwr mâd!
Ofnadwy gyfnewidiad!
Hwnnw gwnawd ei ddibenydd,
Unig Ddyrchafedig fydd!
Erlidwyr, a gwawdwyr gânt
Ei ddeiliaid,—beth feddyliant?
Ei Dduwdod heddyw wedir?
Ai Dyn yw?—ïe a Duw 'n wir!
Y cyfion hwy a'i cofiant,
Llawenu yn Iesu wnant.

* Dau fynydd tanllyd—y cyntaf, y mwyaf yn Ewrop, yn Sicily, un o ynysoedd Môr y Canoldir; a'r diweddaf yn ynys Iceland, yn Môr Werydd.

† Y mynydd uchaf yn America, sef dros bum mil ar hugain o droedfeddi o uchder; a'r mwyaf ei faintioli yn y byd, sef dros bedair mil o filldiroedd o hyd. Y mae yn y mynydd hwn amryw losg-fryniau.

‡ The Indian Ocean.

Llon i gyfion 'y gofwy,
Mab Duw gwŷn a'u hedwyn hwy.
Daw heddyw, wŷr da, iddynt
Ryddhâd am gu gariad gynt.
  Gwae'r enwir! hwy a grynant,
Tragywydd gerydd a gânt!
Herod, Pilat ddibirawl,
Caiaphas, Suddas, a'r sawl
A'i barnodd, a'i gwawdiodd, gânt
Heddyw eu cyfiawn haeddiant.
Welsoch, adwaenoch chwi'r Dyn?
Y Duw mawr o gnawd morwyn?
Gwawdiasoch unig D'wysog
Daear a Nef ar gref grog!
Nêr, o'i lawn wir haelioni,
Rodd amser i'ch adfer chwi.
Yr iawn eglur wirionedd
Ni fynech gael, na'i hael hedd.
Gwae greulon galon y gwŷr,
Terwyn farn geiff gwatworwyr:
Rhegwyr annhrugarogiawn,
I'w meddiant bu llwyddiant llawn.
Y newynog ni wenawdd
Wrth dderbyn, rhag newyn, nawdd:
Er Iesu, dillad'n llon
Ni wnaethant ei blant noethion.
Wrth weinion geirwon fu'r gwŷr,
A chwerwon wrth garcharwyr.
Cydwybod, syndod a'u sawdd,
Yn barod hon a'u bwriawdd.
  Y daioni diweniaith
I'w weision tirion drwy'u taith
Yn wir a gofir i gyd,—
Cofir,—a phob drwg hefyd:
Y Barnydd a'u rhydd bob rhan,
Dduw hynaws, iddo'i hunan.
  Teulu yr apostolion,
Hwy'n gyntaf, gyfiawnaf Ion,
Geilw ei weisiawn clod-lawn clau,
Iaith hynaws, wrth eu henwau.
Hyfryd hwy gyd-ymgodant
At eu Duw, at eu Tad ânt.
  Da weision! medd Duw Iesu,
Trwy bob gwlad eich cariad cu
Dywynnodd mewn byd enwir,
Gan gadarnhâu golau'r gwir:
Gwelwch, bawb fal eu gilydd,
Mewn golau, effeithiau ffydd.
  Plygu ger bron Iesu wnant;
O'i flaen distaw-foliannant.
  Ac wele! (Oh ba galon
Yn rhydd o ofnau'r awr hon!)
Ior gwâr, ganddo'r egorir
Y llyfrau â'r geiriau gwir:
E wna gywrain egoryd
Llyfrau cydwybodau'r byd.
  O f' Awen, gorphen a gwau
Y didawl fyfyrdodau!
Rhag rhyfyg na chynnyg chwaith
Gyrraedd y mawr ragorwaith;
Gormodedd i'm grym ydyw,
Rhy uchel i Angel yw.
Duw'm Tŵr! fy Marnwr mawrnerth!
Rhyfedd fydd yn nydd ei nerth!
  A welaist, a deimlaist di
Ryw ehediad mawrhydi
Yn awr yn hyn o eiriau
Y wefus anfedrus fau?
Hynodawl Farn ofnadwy!
Bydd ganwaith, bydd fyrddwaith fwy!
Os soddais pan genais gynt
I Siloh mewn fis helynt,
Pa fodd gwnaf son am Ion mau,
Têr Ynad, rhwng taranau?
  Pan wnel yr Ion cyfion cu
Ddidoliad o'r ddau deulu,
Fe gyfyd mewn hyfryd hedd,
Wâr Iesu, o'i wiw orsedd:
At un rhawd f' estyn yn rhwydd
Ei ddeheulaw, Dduw hylwydd:
Wrth blaid y defaid dofion,
Fe ddywaid, fendigaid Ion;
Da fuddiol ddewisol wŷr!
Nefol hyfrydol frodyr!
Manwl holais bob monwes,
A ffyddlawn cyfiawn eu ce's.
Teilwng fu'ch cariad dilyth
O hedd a gorfoledd fyth:
Deuwch, weision mwynion mau,
Deuwch i wledd y duwiau.
Meddiennwch, mewn modd anwyl,
Dduwiol wŷr, drag'wyddawl ŵyl.
O'r llawenydd sydd i'r saint!
Mor hyfryd eu mawr wiwfraint!
I Ganaan y Gogoniant,
I Sïon yr Ion yr ânt;
Ac eres fydd y gorhoen,
Ei Wraig pan brïoda'r Oen.
Croywber leisiau'r Cerubiaid
Yn plethu cân gu a gaid:
Gwynnion luoedd Gogoniant,
Celfydd gerdd newydd a wnant.
A hon yw'r gân gysson gu;—
Da D'wysog ydwyd, Iesu!
Brenin a mawr bur Ynad,
Graslon fal dy dirion Dad!
Dy farnau yn glau, Ion glân,
Eglurwyd mewn Gwawl eirian!
Cyfiawn, trugarog hefyd
Yw'th Farn, mae'n gadarn i gyd!
  Mal myrdd y môr, côr cywraint
Disgleiriol siriol y saint,
O rif aneirif, a wnant
Gain felys gân o foliant
I'w Brawd aeth drwy bob gwawd gynt,
Wir-Dduw, o'i gariad erddynt;
Prudd yn eu cystudd y caid
Ei lawn-dynerol enaid.
Ei arfaeth a ddaeth â'i ddydd,
O lawned ei lawenydd!

Gorfoleddu wna 'r llu llawn
Yn Iesu—Fe 'n ei weisiawn.
Ei gain ddisglair Ogoniant
Ymleda, amgylcha 'n gânt,
A leinw Gaersalem lonwawr
Mal golau gymmylau mawr.
O'i Lys fry e wrendy 'r Ion
Felysawl fawl ei weision;
Eilian' lwysgan felysgerdd,
A hon ydyw 'r gysson gerdd;—
Teilwng ddyrchafiad dilyth
I'r Hwn sydd, ac a fydd fyth!
I Brynwr a Rhoddwr hedd
Gwir fawl fo mewn gorfoledd!
A'th anwyl aberth unwaith,
O bob gwlad, galwad, ac iaith,
Yn ddeiliaid santeiddiolaf,
Tydi a'n prynaist ni, Naf!
Gweddus it', Dduw tragwyddawl,
Anrhydedd, mawredd a mawl!
Nerthoedd y Nefoedd yn awr
Gyd-ganant â'r gâd geinwawr;
Santeiddlon weision Iesu,
Molant Ior yn un côr cu;
Halleluia! hael Lywydd!
Trag'wyddawl ei fawl a fydd!
Yr Arglwydd Ion cyfion cu,
Teyrn oesawl, sy 'n teyrnasu!
Tyrfau rônt ruad dirfawr,
Mellt a wnant ymwylltio 'n awr;
Seithwaith y gwnant ymsaethu
Tros Satan a'i lydan lu
Truenus; a'r taranau
Trymmion a gwylltion sy 'n gwau.
Gosteg, dwfn osteg yn awr
A gyrraedd drwy bob gorawr.
Try 'r cofus têr Ior cyfion
Attynt hwy ar aswy 'r Ion.
A'r geifr a'r mud ofer gwn
I fonwes hagr dorf Annwn.
Digofaint Duw a gyfyd
I'w wedd gain santaidd i gyd:
O'i flaen cynn tân aflonydd,
Angerddol ryfeddol fydd.
Dirfawr wae'r ddiffaith dyrfa!
O'i deutu ennynnu wna!
Rhag yr Oen, rhag yr Ynad,
Rhag ofn gwedd y Mawredd mâd,
Damniaid, diawliaid du olwg,
Oll o draw cryn y llu drwg:
O na lethid dan lwythfawr
Greigiau a mynyddau 'n awr!
Gwae Satan! Oh am dân dig
Y brwd Garchar berwedig!
Codi wnai 'r Ynad cadarn
Yn awr i draethu 'r fawr Farn:—
Ymaith â chwi, rai ammhur,
I haeddawl drag'wyddawl gur,
Gyda Satan i'w Dân dig,
I gyd, rai melldigedig.
Ar y gair, mewn mawr gorwynt,
Tanllyd gylch o'u hamgylch hwynt,
Cippir, hwy deflir i dân
Ffwrn lidiog Uffern lydan;
O gu wyneb Gogoniant
Mal bolltau taranau 'r ânt,
Dorf anferth, mewn anghyssongerth swn,
Bendramwnwgl i boen drom Annwn!
Uffern, pe gallai Aphwys,
Ffoi 'n awr rhag fath boenfawr bwys.
Teflir brenin dewrflin dig
Dychryniadau chwyrnedig,
Chwerwaf ac olaf Gelyn,
I lawr i'r tro-lyngc-fawr Lyn:
Hwnnw, wedi ddihenydd,
Marwol ac anfarwol fydd:
Ac Annwn ferwawg wynnias,
Gyda thwrf, mewn cynnwrf cas,
A'u derbyn; gwed'yn hi gau,
A tharan, ei cherth ddorau.
Rhwymawg fydd y rhai ammhur
Mewn didawl drag'wyddawl gur.
Du benyd! hwy a boenant!
Gofidio dan udo wnant!
Angylion gwynnion i gyd,
Rhifoedd eu brodyr hefyd,
Hwy lwyddawl orfoleddant,
Rhoi mawl yn unawl a wnant:
Gwiwfawl a rônt i gyfion
Farnau, a hael radau 'r Ion.
I'r Nef gu yr â Naf gwŷn!
Ei dda dyrfa ddiderfyn
A gyd-ymgyfyd âg Ef
I lawenydd y loywnef.
Yna rhydd Dofydd i'w Dad
Y wenfawr deyrnas iawnfad,
Ac yna bydd Ion gwiwnef
Oll yn oll yn llywio Nef.
Yn Dduw a Dyn, yn Nawdd da,
Ein Iesu mawr deyrnasa,
Ior enwog, yn eirianwawr
Frenin ar fyddin Nef fawr:
Llawn fydd ei Lys, harddlys hi,
O fydoedd heb rifedi.
Canant fawl melysawl Ion
Mal dyfroedd moroedd mawrion,
Am roddion hael mor addas,
Am nefol waredol ras.
O'r hyfryd oleubryd lu!
I'w plith y b'wyf yn plethu!
Caniad newydd, dedwydd dôn
Aneirif delynorion
A leinw y wlad lawenaf
A mawl gogoneddawl Naf!
Odiaeth ac annhraethadwy,
Diddiwedd fydd eu hedd hwy!

# CYWYDD Y DARAN,

(YR HWN A GYFANSODDAIS YN FY IEUENGCTYD, I BROFI NERTH FY AWENYDD CYN DECHRAU AR GYWYDD Y DRINDOD.)

---

Y FELLTEN hoywaf wylltdaith,
Ni 's gŵyr dyn derfyn dy daith;
Ac ar d' ôl gwir yw y daw
Crochlef (a llif y crychwlaw)
Y daran o'i du oror
Mal berwawg derfysgawg fôr.
Wybrendwrf, braw drwy 'r bryndir,
A dychryn drwy 'r dyffryn dir:
Dyfnfawr ddig ruad anferth,
A thrwm goruwch pob cwm certh.
Rhyfedd! mwy y rhuthr hefyd
Na thrystau cerbydau 'r byd.
Yn drathrwm, dan frwd ruthraw
O'r entrych, y gwlych y gwlaw
Frynniau a dolau 'r dulawr,
O foliau 'r cymmylau mawr.
Rhed nentydd pob mynydd maith,
Mawr yrfa! i'r môr hirfaith,
A phob afon aflonydd
Gwreichioni a berwi bydd.
Rhuadwyllt yw eu rhediad,
Dyrys lif aeth dros y wlad.
Trwy elltydd o goedydd gwynt,
Trwy 'r moroedd tery 'r mawrwynt.
Terwyn follt pob taran fawr
Ennynna drwy 'r ddu nennawr;
Llidiog yw 'r awyr llydan
O niwl du 'n olau o dân!
Ni cherddir y doldir dwys,
Nag ael uchelfryn gwiwlwys,
Gan genllysg, derfysg dirfawr,
Gan wlaw a mellt, gan li' mawr,
Gan ofn dŵr, gan nef yn dân
Nid ellir myned allan.
Geirwon dyrfau 'mhob goror
Y sydd o fynydd i fôr,
Yn debyg (gallwn dybied)
Ped ae 'n ddarnau creigiau Crêd.
Gwrdd yttynt! ac o'r ddeutu
Daeargryn a dychryn du.

Dywaid, f' Awen am duwies,
O'r Nef gu 'n t'w'nnu fel tês,
Pa redwyllt, pa ruadwy
Dwrf wybren? a'r Perchen, pwy?

Duw-Geidwad bendigedig,
Rheolwr y dyfndwr dig;
Duw a bair,—ar ei air ânt;—
Ust ewybr!—a distawant.

Nadau dŵr a thân ydynt,
Rhyfel mawr drwy 'r orawr ŷnt,
Eirias o dân a'i wres dig
Fal ffwrn o ufel ffyrnig;
Y dwr o'i amgylch a dôdd,
A'i fyddin boeth a foddodd.

Da, dirfawr, a diderfyn,
A pherffaith yw gwaith Duw gwŷn;
Nerthawg a gwyrthiawg ar g'oedd,
A thradoeth ei weithredoedd.
Yn ddilys, iawn addoli
Y mwyn Ior a ddylem ni.
O'i lân santeiddiawl loywnef
Fendigaid, y dywaid Ef;
Niwl wybren, anniben wyt,
Nofiedydd y nef ydwyt,
Gwasgara i'th gwsg oror,
Dy loches yw mynwes môr.
Niwl wybren â 'n ôl obry,
Yn union, dros y fron fry;
Gloywa nên ffurfafen faith,
Fe welir y nef eilwaith;
Drwy 'r wybrennydd dydd a da'n
Ei lwyrwych wely arian:
Yr haul o'i belydr y rhydd
Loywder i bob rhyw wledydd;
Disgleirdeb ei wyneb ef
A lawena 'r oleunef;
Ei dês wna'n gariadusol
Bob bryn, bob dyffryn a dôl;
Gwên nattur a gawn etto
Yn ôl i'n hyfrydol fro;
A mwynaidd lais emynnu
Wna 'r adar yn gerddgar gu.

# MAWL I'R CREAWDWR.

TRA BU'R PENNAETHIAID MEWN GWLAD AC EGLWYS YN YMRYSON AM GYFOETH A GWAG OGONIANT, FE GANODD Y PRYDYDD FAWL I'W GREAWDWR.

---

Tra bu'r cyfrwys eglwyswyr,
Y mawrion enwogion wŷr,
Filoedd yn ymrafaeliaw
Am dir, am fir, ac am faw;
Tra 'r oedd brenhinoedd hynod
A min cledd yn mynnu clod,
A'u gwydlawn luoedd gwaedlyd
Yn llosgi, 'n dibobli 'r byd;
I Arglwydd yr arglwyddi,
Cu iawn swydd, y cenais i;
Cenais, er mwyn cu Wynedd,
O fron hael, i Frenin Hedd.

Os cain neu gywrain y gwaith,*
Os eirian ddewis araith,
Hynny 'n wir, drwy gywir gais,
Was ufudd, a ddeisyfais.
Os gwael a beius y gwaith,
Os gwan aneirian araith,
Ei well fe ni all f' Awen
Addien bur ei ddwyn i ben.

Rhai welaf yn rheoli
Golud a nerth ein gwlad ni,
Troisant i'w gwlad yn fradwyr,
I'w gwlad di gariad yw 'r gwŷr.
Oh ddynion di ddaioni!
Llwyr groes yw eu moes i mi:
Minnau, o burder monwes,
Yn rhad gwnawn i'm gwlad gu les.
Mi, o wiw râd y mawr Ion,
Y gwaelaf o'r trigolion,
O'm brwd gariad i'm bro-dir,
Ac o fâd gariad i'r gwir,
Er adfyd, treuliais brydferth
Flodau fy nyddiau a'm nerth.

* Cywydd y Drindod.

Awen wâr gymmen, wr gwyl,
Ofynnais gan Naf anwyl:
Ei ras, coeliaf, roes Celi,
Fy Nêr, mewn mwynder i mi.
Y dalent ge's i'm dwylaw,
Duw lwys, o haelder dy law,
Roisym, er mwyn yr Iesu,
I'm gwlad, er gwellhâd ei llu:
F' Awenydd, pleser f' einioes,
Drwy gariad, yn rhad mi 'rhoes.

Yn enw 'r Ior, un cyngor cu
Rof unwaith gan derfynu:
Meddyliwn am y dduloes,
Yn drist, roed i Grist ar groes:
Gwir Iesu hael am groes hwn,
Am ei fawredd myfyriwn;
Cofiwn ei fedd a'i wedd wael,
A chofiwn ei ddyrchafael:
Wedi alaeth y dulawr,
Mae 'n Ben ar y Nef wèn fawr.

Gorphwys, f' Awen gywirffydd,
Dawel, hyd na's dêl y dydd,
Y dydd a'n rhydd yn rhyddion
I gu fawrygu yr Ion.
Bydol niwl anwybodaeth
Pygddu, sy i'n hamgylchu 'n gaeth,
A chwelir, a gwelir Gwawl
Gweddus y Duw trag'wyddawl;
Ior Nef, i wirion ufudd,
Orau Brawd yn yr awr brudd:
Ein Brenin in' a brynawdd
Lân dangnef y Nef a'i nawdd.
Er ei fwyn, yr Oen mwyn mâd
Ein cadarn Ior a'n Ceidwad,
Naf Lywydd ro 'r Nef lawen
I chwi, ac i mi,—Amen!

# CYWYDD Y DILUW.

---

Canaf am drugaredd a barn; i ti, Arglwydd, y canaf.
SALM ci. 1.

Di yw ein Tŵr, Duw, a'n Tad;
Mawr yw 'th waith ym môr a thûd;
A oes modd, O IESU mâd,
I neb na fawl na bo 'n fud!

GORONWY OWEN.

## RHAGYMADRODD.

---

### At Ddarllenwyr y Farddoniaeth.

Fe fu cyfansoddiad y Cywydd canlynol yn ddywenydd a diddanwch nid bychan i mi, o amser i amser, pan fyddai gennyf dueddiad at brydyddiaeth. Y mae gennyf hyder y bydd i'w ddarllenyddion ystyriol, y sawl sydd ganddynt flas ar brydyddiaeth, fwynhâu difyrwch gweddus i greaduriaid rhesymmol, wrth adystyried y gwaith. Dyna ddymuniad gwirioneddol eich ewyllysiwr da,

D. IONAWR.

*Gorphenaf*, 1821.

# CYWYDD Y DILUW.

---

## Y RHAN GYNTAF.

F' Awenydd, clyw fi unwaith,
Cyn awr dyfyn i'r hir daith;
Cynnyg blethedig ganiad
I Nêr a'i gyfiawnder fâd,
I rwyddion drugareddau
Duw 'r Hedd, sy 'n rhyfedd barhâu:
Y Diluw dwfn diwaelod
A fu, a'r achos o'i fod,
Boed hyn yn derfyn dy waith
Nerthol, anfarwol fawrwaith.
  Cain, mewn dig ffyrnig, pan ffodd,
A Duw fe ymadawodd;
Ffodd, ymddidolodd mewn dig-
Llonedd, i dir pellennig;
I dir gwyllt, yn wr drwg iawn,
Hagr olwg, ffodd yn greulawn:
Colynnod cydwybod ânt
Yn ei enaid, ennynnant.
Pan gollodd Wawl dwyfawl da
Cu wyneb y Shecinah,
(Parchus gyhoeddus haddef
Lle caid anwyliaid y Nef,
Cydfawl sabbathawl yn bêr
A ganent ger bron Gwiw-Nêr,)
Syrthio 'n awr yn swrth a wnaeth
I ddiawlig ddelw-addoliaeth:
Yr huan llydan a llu
Y liwgar nef oleugu
Addolodd, dan ei ddwylaw,
Mewn ofer bryder a braw:
Mor anghall a dall yw dyn
Yn nwylaw 'r aflan Elyn!
  Hil Cain fu 'n gywrain i gyd,
Hwy feiddient bob celfyddyd:
Difesur fu dyfeisiau
Cywreinion y gweision gau.
Cawri esgyrnawg gwrol,
Creulawn, anffyddlawn a ffol;
Drwg lu heb garu Duw gwŷn,
Heb hedd, heb rinwedd ronyn;
Dedwydd gyfraith y Duwdod
Ni charent, ni fynnent fod
Un Duw sydd gyfiawn a doeth;
Oh drueiniaid rhy annoeth!
Am feirddion gwiwlon, a'u gwaith
Doniawg, os sonid unwaith,
Hyll regai y lloerigiawn
Bob prydydd â'i ddedwydd ddawn:
Ac unwaith os gwnaent ganu,
Gwaith bŷr, difyfyr a fu,
Rhyw anfoes swnfawr ynfyd,
Cabledd a gwagedd i gyd!
  Tylwyth Cain, heb attaliad,
Amlhâodd, lenwodd y wlad;
A llenwynt, fal llu Annwn,
Barthau y byd hyfryd hwn
A gwenwyn pob drygioni,
Fal aflan ddwfn-lydan lif.
Gwênawg fenywiaid gwynnion,
Addurnawg, bradawg eu bron,
Putteiniaid a gaid o Gain,
Ac araith, O mor gywrain!
  A thylwyth Seth, ddilyth sant
Gwiwserch, lïosogasant;
O lwyddawl addolyddiawn
Yr oedd eu lluoedd yn llawn;
Llawn o bêr ddawn barddoniaeth;
Hon o Dduw ei hun a ddaeth;
Yn ddîdawl â'u dawn ddedwydd
Molant y Sant yn eu swydd.
I Geli pêr gerddi gynt
O gynneddf bur a genynt:
Gwir ddiboen gerddi Abel,
Odlau mâd fal diliau mêl,
Ddyferent, o dda fwriad,
Fendithion mwynion a mâd:
Ac er marw y gwr mirain,
Byw mewn bri y cerddi cain.
Puredig eurwaith prydydd,
Mewn iaith dra pherffaith, drwy ffydd,
I'r enaid garai rinwedd
Ydoedd lwys a dedwydd wledd.
O feibion anwylion Naf!
Da oeddynt a dedwyddaf:
Ond siccrwydd am ddedwyddyd
Brau yw hwn, a bŷr ei hyd.
Mae dirgel farwol elyn,
Mawr iawn ei dwyll, ym mron dyn.

Oh eneidiau anwadal!
Hawdd fu eu denu a'u dàl:
Gwelodd meibion doethion Duw
Wych dyner ferched annuw:
Newidiol addurniadau
Têg wragedd llawn gwagedd gau
A ddenodd santaidd ddyniawn
I wagedd a llygredd llawn.
Wrth hir edrych ar wych wedd
Y drygiawg ddigred wragedd,
Maglau a rhwydau fu'r rhai 'n,
Marwol, i'r gwŷrda mirain.
Pob dyn, heb ronyn o wrîd,
A raddol gollodd ryddid.
Oh warthus weithred wrthun!
Y gwŷr yn bybyr bob un
A ddewisodd dduwiesan
Rywiog liw iddo 'n wraig lân.
Gloddest swnfawr a gwledda
Beunydd oedd, ac nid byw 'n dda:
Nablau pêr dannau, a dawns,
Hyddyag oeddynt mewn hoywddawns.
Collodd rhydd grefydd ei grym
I'w dyddiau megis diddim.
Maswedd ddigonedd a gaid;
Oh lawen gynddiluwiaid!
Cenhedlu wnai'r cwn hadlyd,
A'u drygau 'n amlhâu o hyd.
Bleiddiawg fwystfileiddiawg lu
Croch-wynnias yn crechwenu:
Hyll anferth oedd llawenfyd
Lloerigion gwylltion i gyd.
Weithiau 'nghanol siriol sain
Puroriaeth, pêr arwyrain,
Gweniaith i ferched gwynnion,
Putteiniaid â llygaid llon,
Cydwybod wiwglod eglur,
Ddistaw a ffraeth, fu 'n gaeth gur
I feibion Duw, fu boen dost
A'i thradwys araith rydost.
I feibion Seth ddifeth dda
Aflwyddiant fu o wledda
Merched annuwiol mawrchwant,
Daeth melldith i'w plith a'u plant.
O'r diserch briodasau,
Rhwng cyflon ag estron gau,
E ddaeth cenhedlaeth hadlyd
Aneiri' i boeni y byd.
Llawnion oedd y gweision gau
O frydiawg ddrwg fwriadau.
Gorthrymder, balchder oedd ben-
Rheolwyr dan yr heulwen;
Absen a chynnen a châs,
Twr o wegi 'mhob trigias;
Mawr gyffro 'n adseinio swn
Mileinig, mal o Annwn.
Ffodd mwynber gyfiawnder fâd,
A'i cheraint, hedd a chariad,
I nodded eu cain Haddef,
I wlad anwylfad y Nef;

Ag edlym ryfel gwaedlyd,
Mewn arfau, drwy barthau 'r byd
A gerddodd yn agwrddwawr,
Yn anferth o gydnerth gawr;
Bloeddiodd, ymwylltiodd am waed,
Taer oedd am dywallt rhuddwaed:
Taniodd, cynhyrfodd cyn hir
Hagr wynnias gawri enwir:
Cawri anferth cêg-hiriawn,
Gorphwyllog, bygythiog iawn,
A filain chwyrn ryfelant,
Troi 'r byd yn waedlyd a wnant.
Daeth, ysywaeth, oes haiarn,
Drwy 'r holl fyd, yn dra hell farn.
Cyrph meirwon geirwon gawri
Yn ddarnau, restrau heb ri',
Diluw o waed a welir,
(Byd tost!) hyd wyneb y tir.
Cai llofruddion geirwon gau
Eu dewis megis duwiau.
Galwent, molent gawr milain,
Rhyfelgar gymmar i Gain.
Ar g'oedd, drwy 'r oesoedd ar ôl,
Am eirwon gampau marwol.
Ysgeler, hwy ddisgwyliant
Mai mawl trag'wyddawl a gânt.
Heirdd ddinasoedd oedd iddynt
Ar ddyffrynoedd gannoedd gynt,
A muriau cedyrn mawrwerth
Rhag creulon alon llawn nerth.
Dewrion arwyr daearawl,
Yn rhwymau cadwynau 'r Diawl,
Eu hiaith a'u gwaith oedd ddrwg iawn,
Yn ail i'r annwnoliawn:
Cablant (tra berwant mewn bâr)
Y Duw wnaeth nef a daear.
Yr holl fyd i gyd oedd gaeth
Yn dilyn pob hudoliaeth;
Ond Enoc, enaid union,
Gwr oedd ef a garodd Ion,
A foddiodd Dduw 'n ufuddawl,
I gyd ei fywyd oedd fawl:
Dan nawdd Ior, rhybuddio 'r byd
Yn ddidawl bu, gan dd'wedyd,
Wele! mae dydd o wylaw,
Mae dydd y Llywydd ger llaw!
Annuwiolion a welir
Yn udaw, yn wylaw 'n wir.
F' Arglwydd, mewn sicrwydd, â'i saint,
Yn gyfiawn mewn digofaint
A ddaw i farnu 'r ddaear
Yn ol ei hanferthol fâr.
Gerwin dy fai! gwrando, fyd!
Y Byw-Nêr ddenfyn benyd
Rhuadwyllt, heb hir oedi,
Tra dwys, i'th ddistrywio di!
Pennaethiaid tanbaid y tir,
Ennynnawg gedyrn enwir,
A rymmusawl ffrommasant
I ddifa y sywdda sant.

Dirywiogryw, pob drygradd
Ddisgwyliant lwyddiant o'i ladd.
Ei gyfaill Duw a gofiodd,
Bu iddo 'n Dad mâd bob modd.
Gwâr Enoc, y gwr union,
Gan gu oreulu yr Ion
Cyfodwyd a dygwyd ef
Ar olwynion i'r loywnef,
Oddiar wybrennydd eirian,
Mewn cerbyd eurbryd o dân.
  Hagr gedyrn gawri gwaedwyllt,
Cawri mewn drygioni gwyllt,
Ni thröant, er athrawiaeth,
O'u llygredd, o'u camwedd caeth.
Waethwaeth ae y byd weithiau,
Llygrodd ym mhob modd a man.
Er galwad cariad cywrain,
Di fudd pob rhybudd i'r rhai 'n.
I rwymo mewn gwaligo 'n gaith
Y dreigiau am eu drygwaith,
E ddirywiodd yr Awen
Nefol-bêr o'i harfer hen;
Mewn cnawdol fasweddol swn
Ennynnodd hon yn Annwn:
Ynfydion fu 'r beirddion bas
Yn nyddu mawl anaddas;
Nid mawl i'r gorseddawl Sant,
O gu enaid, a ganant,
Ond mawl am anferthawl fâr
I gau dduwiau y ddaear;
I degwedd ynfydogion
Butteiniaid â llygaid llon:
Llawn oedd eu gwleddoedd o glod,
Ofer swn, i fursennod.
Yn gydlef ca'dd cwn gwaedlyd
Lwyr barch am ddiluwio 'r byd.
Gwae gano wag ogoniant
I alon surion y Sant.
Y ddaear fawr yn ddïau
Sydd lawn o drigoliawn gau;
Y trigolion trwy 'u gilydd,
Cableddau 'n eu safnau sydd;
Cablant, ni chrybwyllant bêr
Enw Duw Nef ond yn ofer:
Addewidion Ion, a'i nawdd
Cain helaeth a'u cynhaliawdd,
Ni chredent, ni chofient chwaith
Na'i fyw eiriau, na'i fawrwaith.
Rhybuddion, bygythion gànt,
Dwysion, a lwyr wawdiasant;
Dyhoffent bob peth diffaith,
Meddyliau, geiriau, a gwaith:
Yn ddïau hwythau, cyn hir,
A fythawl lwyr ddifethir.
  Y Rhên sydd Holl-bresennawl,
Etto 'n ymguddio mewn Gwawl,
A welodd annuwiolion
Y ddaear anhygar hon
Ar unwaith, a'u gwaith i gyd
A ganfu 'n fawrddrwg ynfyd:
Cynnwys pob drwg amcanion
O hyd, bob pryd, 'r oedd pob bron.
Ior Nef edifaru wnaeth
Greu dynion digrediniaeth;
Ei gâs a gyffröasant,
Pob byw i ddistryw ydd ânt.
  Duw 'r wiwnef, Awdwr einioes,
Pur hawdd yw i'r Pôr a'i rhoes
Rannu addysg i'r enaid;
Cadarn ffydd a rydd wrth raid.
Noa, o'r byd annuwiol
Neillduawdd, rodiawdd ar ôl
Y gwir Dduw, ac yr oedd ef
Yn anwyl gan y wiwnef:
Noa, mewn addfwyna' fodd,
A deilwng ymddidolodd
Oddiwrth yrr yngwrth ddi'ras
I fuddiol le cyfaddas
I loywbur dalu aberth
(Cysgod o'r Iawn cyflawn certh)
Ac o'i fron ufuddion fawl
I'w Noddwr yn flynyddawl:
Goreuon y gwrrywiaid
Yn aberth gwiwferth a gaid.
Ar ol y cwymp, hagrgwymp hen,
Ofnadwy fu yn Eden,
Addawyd Hâd yn ddïau,
Rhag llid, i'w rhywiog wellhâu.
Yn Nuw fe gredodd Noa
Cyflawnid 'r addewid dda.
Wrth fyfyriaw 'n ddistaw ddwys
Mewn galar, wr mwyn gwiwlwys,
Ei lawn rybuddiaw 'n ddi baid
Wnai 'r Ion yn ei wâr enaid,
Fod barn ar fyd ynfyd iawn
O'r gygus ferwawg eigiawn
Yn nesu 'i amgylchu 'n gaeth
Yr heulawg ddaear helaeth
A'i gwydlawn dorfoedd gwaedlyd,
I soddi a boddi 'r byd.
  Hir bu No' 'n myfyrio 'n fâd
Y pwysig dost hyspysiad,
A gwaraidd bu 'r gwr geirwir
Mewn ympryd hefyd yn hir:
Y cu fwynwr cyfiawnaf
Hir weddïawdd am nawdd Naf.
Rhag gofid i'r gwr cyfion,
I'w gysuraw rhag braw bron,
Anfonodd yr Ion fwynwawr
Angel o'r Nef uchel fawr:
Ardderchog swyddog y Sant
O ganol gwlad Gogoniant
Yn wâr i'r ddaear a ddaeth
A'i dirion gennadwriaeth;
Ei lun a'i wedd oedd lân iawn,
A'i liwgar dêg olygawn
I'r olwg yn areulhardd,
Mal gwron hoywlon a hardd:
Fe a wrawl lafarodd
Mewn hygar gyfeillgar fodd;

Wir deilwng wr duwiolaf,
Nac ofna, Noa, mae Naf,
Y caredig Greawdwr,
Etto 'n Dad, ac i ti 'n Dŵr.
O herwydd mawr ddihirwch
Ynfydion â'u troion trwch,
Dan ruthro a rhuo 'r hyllt
Yr eigion cynddeiriogwyllt
Ei garchar dwfn ac erchyll,
A rhed y traflyngcfor hyll
Dros y ddaear fyddar faith
A'i dreigiau am ei drygwaith.
Mae 'r byd yn hadlyd ei hwyl;
Ti 'n unig wyt yn anwyl;
Tydi Noa dda ddiwyd
Waredir, er boddi 'r byd.
 Gwiw Gennad Ion gogonedd,
A serchog drugarog wedd,
A roes bortreiad o'r arch,
Er gobaith i'r gwr gwiwbarch,
Yn addas iddo 'n nodded,
Ei dull hardd, ei hyd a'i lled,
Ei rhyfedd uchder hefyd,
A'i maint yn gywraint i gyd.
Ior pur, Fe ragddarparawdd
Hon hefyd yn wiwglyd nawdd
Carnolion gwylltion a gwâr,
Caredig gôr o adar,
A phob rhyw oedd i fyw 'n fâd
Yn had-lu ail-genhedliad,
Ddeuant i'r arch yn ddiwyd
At No', i ymguddio i gyd.
Rhagluniaeth Ior goleunef!
Cwbl-berffaith ei eurwaith Ef!
 Eb Cennad anwylfad Naf,
A geiriau pêr hygaraf;
Gwrando, Noa, fwynaf wr,
Groywdeg eiriau 'th Greawdwr:
Fe a rydd y dirfawr Ion
Haelionus i'w elynion
Gan' mlynedd (rhyfedd barhâd
Ei ragorawl wir gariad!)
Ac ugain, cyn gwae agwrdd
O'r eigiawn digllawn ei dwrdd;
Cyn iddo orchuddio 'n chwyrn
Y byd i gyd â'i gedyrn.
Wele! rhoddais it' wiwlwys
Addysg eglur o bur bwys;
Y dedwydd wir-gredadyn,
Cofia dithau gwblhâu hyn:
Cofia, i'r arch, wr cyfion,
Casgl luniaeth helaeth i hon.
Yna 'r eres Negesydd,
Angel Duw, y' ngolau dydd,
O'r werdd oror ddaearol
Aeth ef i wèn Nef yn ôl.
 Noa anwyl yn union,
Yn ddistaw, ac mewn braw bron,
Dduwiol was, syrthiodd i lawr
Ar ei wyneb eirianwawr:
I'w enaid ef yno daeth
Yn ddiluw ddyfnddu alaeth;
Ei ddwyfron gyfion dan gur,
A'i wlybion ddagrau 'n loywbur
I'w ruddiau 'n ffrydiau 'r oeddynt
O herwydd anhylwydd hynt
Ynfydion beilchion y byd,
A'u rhyfedd ddistryw hefyd.
Yr Ion yn ei wâr enaid
Llafaru y bu 'n ddi baid
I'w annog at fyd enwir
I gu bregethu y gwir.
Cariad perffeithfad, pur ffydd,
Nefawl hyder yn Nofydd,
A'i llesawl gymmellasant,
Drwy wledydd a gelltydd gànt,
I daenu, pregethu 'r gwir
Hyd wyneb y byd enwir,
I'w droi, rhag distryw hydr iawn,
O'i farwol ddrwg arferiawn.
I ddinasoedd garwfloedd gau,
Chwerwon dywyll garcharau
Caethweision deillion y Diawl
Yn wynnias dorf ennynnawl,
Aeth Noa, fwynaf enaid,
I roi prudd rybudd wrth raid
I lengau caethlu anghall,
I'w rhyddhâu o faglau 'r Fall.
Wrth ddewrffraeth lywodraethwyr,
Anghyfion, enwogion wŷr,
Mewn dïofnus fedrus fodd,
Haeddawl farn Duw gyhoeddodd:
Ei wyneb hardd a'i enaid
Yn brudd gan gystudd a gaid:—
Oh fonedd anghyfiawnion,
A diras hâd yr oes hon!
Coeliwch, mae digter Celi
Yn ennyn i'ch erbyn chwi:
Tra ewybr i'ch distrywiaw
Dïattal ddïal a ddaw:
Hell-farn ddaw ar yr holl-fyd
Beius, drygionus i gyd.
Gwiw lân Dad y Goleuni,
Dduw mawr, ddatguddiodd i mi
Ddiwedd lluoedd y ddaear,
Pob cnawd am bechawd a bâr;
Tra rhyfedd ddistryw hefyd,
Cyn hir y boddir y byd!
Mewn geiriau cadarnhâu hyn
Yn wiwdeg wnaeth Ion wed'yn:
Mirain a doeth ladmerydd,
Angel Duw, y' ngolau dydd,
Mor hoywdeg mewn mawrhydi,
Draethodd yn hyf wrthyf fi;
O herwydd mawr ddihirwch
Ynfydion â'u troion trwch,
Dan ruthro a rhuo 'r hyllt
Yr eigion cynddeiriogwyllt
Ei garchar dwfn ac erchyll,
A rhed y traflyngcfor hyll

Dros y ddaear fyddar faith
A'i dreigiau am eu drygwaith.—
Galw ydd wyf yr Arglwydd Ion,
Goreunawdd, mai 'r gwir union
Ydd ydwyf yn ei dd'wedyd,
Gwir llwyr, Duw a'i gŵyr, i gyd.
Chwi bennaethiaid tanbaid dig,
Lywiawdwyr ucheledig,
Fagwyd yn bendefigiawn
Mewn gwagedd a llygredd llawn,
Gadêwch ymaith bob gwaith gau;
Newidiwch* eich eneidiau;
Na oedwch; mae ofnadwy
A haeddol farn farwol, fwy
Na geiriau, mal chwyrn gorwynt,
Yn neshâu 'n rhuthrau ar hynt:
Yr oes hon, digllon farn Duw
Ddaw'n ddylaith, ddaw'n ddwfn Ddiluw.

Mewn mawrion gwiwlon eu gwedd
Dirioned yw da rinwedd!
Da roddion fwynhêwch drwyddi,
Ymwisgwch â'i harddwch hi;
Chwiliwch, canlynwch helynt
A siamplau 'r gwŷr gorau gynt;
Da oeddent yn eu dyddiau,
Diddarfod eu clod, wŷr clau.
Gwr doeth, yn haeddu gair da,
A geiff dros fyth ei goffa
Oedd Seth, anrhydeddus sant,
Ag Enoc lawn gogoniant.
Pa wŷr sydd, pwy yr oes hon
Hefelydd dan nef wiwlon?
Anfeidrawl yw ynfydrwydd
Pob galwad, a'u rhediad rhwydd
I ddinystr llwyr haeddiannawl,
I ddyfnlyn dychryn di dawl.
Mae ffrydiau gwageddau gànt
Yn hyll ferwi 'n llifeiriant;
Mewn galar mae 'r ddaear ddig
A mud yn orthrymmedig;
Gwae hon, blinderawg yw hi
Drwy gynnal pob drygioni.
Mae 'n pechodau 'n llwythau llawn,
Annifeiriol, yn fawriawn;
Mae, er hyn, ein Duw 'n mawrhâu
Gwiw roddion trugareddau;
O farwol ing Fe weryd,
Gan faddau beiau y byd.
Eurawg wŷr o ragoriaeth,
O Dduw 'ch awdurdod a ddaeth;
Cofiwch, rhoddwch yn rhwyddion
Ufudd-dod i awdurdod Ion.
Gweler cyfiawnder gu-lwydd
Mewn mawrfri 'n rheoli 'n rhwydd:
Naf, cyfiawnder mae 'n ofyn,
Arfer cyfiawnder a fŷn;
Cu ydyw gan Dduw cadarn;
Nêr, mewn cyfiawnder, a farn.

* Cyfieithiad llythyrenol o'r gair Gr. *Metanoeite*.

Bydded siamplau 'ch moesau mâd
Yn hylwydd iawn gynhaliad
I wir rinwedd eirianwawr,
Duwies o fynwes Nef fawr.
Wŷr goludog, drwy 'r gwledydd
Eich moesau yn siamplau sydd.
Y mae 'r Ion, y mawr Ynad,
Yn raslawn, yn diriawn Dad,
Yn Dduw hawdd i'w ddyhuddaw,
I'w blant maddeuant a ddaw.
Iach addysg gwrandêwch heddyw,
Dychwelwch a byddwch byw.
Mae 'n brysiaw, e ddaw 'n ddiwyd
Difrifol anfarwol fyd.
Amlhâu gwagedd, trosedd trwch,
Gofidiau, gwaeau fedwch.
Oh heddyw 'n hawdd, dan nawdd Nêr,
O'ch du wagedd eich dyger!
A glân Naf y Goleuni
Cymmoder, a chadwer chwi.

Y mawrion wŷr gwychion gànt
A nawswyllt gyd-synnasant;
Y gwydlawn wŷr yn gydlef
A chwarddant, gwatworant ef;
Bygythiant, galwant y gwr,—
Afrwyddedig freuddwydiwr!

Cydwybod yn dannod oedd
Yn gadarn mai drwg ydoedd
Gweithredoedd y bobloedd bas;
Ennynnent hwythau 'n wynnias
I dywallt eu llid ëon
Ar was caredig yr Ion.
Meddynt, A ddylem oddef
Ei goeg araith ddiffaith ef?
Gloywdeg bennaethiaid gwledydd
I'w distaw arswydaw sydd,
Nid i wrandaw, mewn braw bron,
Ar ddadwrdd gwag-freuddwydion
Am Ddiluw ac am ddïaledd,
Ond am fyd hyfryd a hedd:
Haeddai 'r gwr (pregethwr gau)
Ei foddi 'n llwyr ddifaddau.

Eb cawr o wrolfawr rym,
Ganwaith on'd côf yw gennym
Glywed a gweled rhai gynt,
Gwyddom mai lloerig oeddynt,
Hwy ddwysion gyhoeddasant
Freuddwydion, fygythion gànt:
Eu breuddwydion gweigion gynt,
Ail di-sail adail ydynt:
Gwiwferth barhâu 'n llwyr gyfan
Mae 'r byd pur hyfryd, bob rhan;
Ninnau mewn golau, gwelwn,
Sy 'n parhâu i fwynhâu hwn.

Chwarddent a gawrient i gyd
Yn hyfion,—mwynhâwn hefyd,
Mal y dylem, lu dilyth,
Breuddwydiont a fynnont fyth!

Dyna, o afrwydda' fron,
Anfadiaith yr ynfydion.

Noa lwys, tra anwyl oedd
I Naf daear a nefoedd:
O'u hagr olwg rhy greulawn,
Rhag eu haraith ddiffaith iawn
Oedd lawn o ddu elyniaeth,
No' ffyddlon yn union aeth.
Wr mâd, ei ddwys deimlad oedd
I'w annog at fyrddiynoedd
O anferth gawri ynfyd,
Pob graddau drwy barthau 'r byd,
I ddwyn at dorfoedd enwir
Drymmion newyddion yn wir.
Gwedi cyhoeddi 'r gadarn
Ddinystriol anfeidrol farn,
Yn daer galwodd hwy 'n dirion
I effro wrando gair Ion,
I droi, ac i ffoi drwy ffydd
Rhag y gwaeau tragywydd,
O'u gyrfa a'u drwg arfer,
Gan syrthiaw yn nwylaw Nêr,
Gu Roddwr trugareddau;
Ior Hedd a gâr drugarhâu.
Os gwnewch chwi ddwys ofni 'r SANT,
Fe ddaw i chwi faddeuant,
A thawel gynnorthwyon
I'ch bywhâu, drwy radau 'r Ion.
Trowch chwi, drwy hoff weddi ffydd
Ddifeth, heddyw at Ddofydd,
Fe wrendy, ac Fe dry draw,
Yn hyber, y farn heibiaw.
Os byw 'n hadlyd waedlyd iawn,
Yn agwrdd gyfrannogiawn
A'r mawrion, annhirion haid,
Daearawl bennaduriaid,
A wnewch,—â'r un farn yn wir,
Fythawl, chwi oll ddyfethir.
O'r ffurfafen ysplennydd
Mae'r Ion yn danfon bob dydd
Fendithion llawnion i'r llawr,
O'i gariad, i bob gorawr.
Ar ol y gwael-farwol fyd,
Bŷr, buan, brau yw bywyd,
Cyfyd Ef i'r lwysnef Ion
Ei ddeiliaid ufuddolion
I fwyniant annherfynawl
Heddwch, dedwyddwch di dawl.
On'd buddiol resymmol swydd
Rhoi gwir-glod i'r gwiw Arglwydd;
Ac ufuddhâu deddfau da
Dïammhur y Duw yma?
Os chwi a daer-geisiwch hedd,
Ei gymmod Duw ni's gommedd.
Trowch at Ion, o'ch troion trwch,
I gyrhaeddyd gwir heddwch.
On'd ofer iawn a difael
Mwynhâu gwageddau 'r byd gwael?
Dïau ofer a difudd
Medd teimlad eich profiad prudd.
Gwelwch, distryw a galar
Sy 'n d'od o bechod a bâr:
Rhyfeloedd hagrfloedd o hyd,
Ceryddawl, sy 'n cyrhaeddyd
Drwy 'r holl-fyd ynfyd anferth
Mewn arfawg ennynnawg nerth.
Os pechu, llygru 'ch holl hâd
Trwy soddi i bob troseddiad,
Eich meibion a'ch ŵyrion chwi
Gŵynant am eich drygioni:
O'ch geni gwae chwi ganwaith!
Can' gwae chwi gwedi 'ch drwg waith!
Ddymunech chwi ddamweiniaw
I'ch plant gael llwyddiant rhag llaw?
Boed iwch' ffoi, gan droi 'n drwyadl
O'ch ceimion ffyrdd hyllion hadl.
Dïau, i bob gwrandawydd,
Bendith, neu felldith, a fydd.
Gyda thrugaredd gadarn,
Bendith hynod yw bod barn.
Heddyw, Oh hâd Adda hen!
Oh heddyw! wŷr hoyw addien,
Cofiwch i'r Argiwydd cyfiawn
Greu y ddaear liwgar lawn
Yn heulwedd annedd inni;
Oh drwch waith! ac a drowch chwi,
Drwy ganlyn eich Gelyn gau,
Ymsoddi i bob maswedddau,
Drowch chwi 'r ddaear hygar hon
Dan ddyfroedd moroedd mawrion?
Mwynion wrandêwch am ennyd,
Ystyriwch, na foddwch fyd!
Gawriodd y torfoedd gerwin
Rhag gwrando, gan floeddio 'n flin:
Llawer gwaeth na'r pennaethiaid
Cableddus, anserchus haid,
Fu'r deiliaid tanbaid trwy 'r tir;
A'r un farn rhai 'n a fernir.
Dewrion ynfydion diriaid
Mewn mawr gyffro 'n gawrio gaid,—
Rhwth anferth araith ynfyd!
Breuddwydion gweigion i gyd!
A gredodd y gwŷr odiaeth,
Y mawrion ffriwlon a ffraeth,
Ein heuraid bennaethiaid ni,
Y bydd dyfroedd i'w boddi?
Yn awr, braidd, hwn yw 'r breuddwyd
Ynfyttaf, gwaccaf i gyd.
Drwy gynnwrf Dreigiau Annwn,
Bleiddiaid y byd hadlyd hwn
Ennynnent oll yn anwar
I gyd-lofruddiaw y gwâr
Rieddawg wr,—ei Ddaw gwŷn
A'i gwyliodd rhag pob gelyn;
O hyd cyfiawn oedd hyder
Noa, dan noddfa Duw Nêr.
Gan mor aruthr eu rhuthr hwy
I lidiawg farn ddyladwy,
Wele! Noa a wylodd,
A than wylaw draw fe drodd.
Wedi iddo rybuddio 'r byd,
(Gwae y bloeddfawr gabledd-fyd!)

A mâd wrandawiad nid oedd
I air Naf, Ior y Nefoedd,
Noa anwyl yn union,
O'i rwydd ufudd-dod i'r Ion,
Mewn parch at yr arch yr aeth
I'w seilio 'n rymmus helaeth.
Noa addwyn, flynyddoedd,
Wrth yr arch hir weithio 'r oedd,
Mewn dirmyg pedwarplyg dwys,
A galar, wr tra gwiwlwys:
Ei fawr boen y' nghyfri 'r byd,
Oedd anferth wagedd ynfyd:
Noa ddibarch a'i arch oedd
G'wilyddus y' mhob gwleddoedd;
Yn danllyd gadau unllef
Chwarddent, a gwatworent ef.
Y dydd du dynesu wnaeth,
Ond hwythau gablent waethwaeth;
Pregeth Noa, sywdda sant,
Wttreswyr, watworasant.
Tra bu 'n adeiladu 'r lân
Eurwych loywdeg arch lydan,
Yn drist ei enaid a drodd,
E fynych ddwfn riddfannodd.
Y ddaear liwgar oedd lawn
O ddreigiau cynddeiriogiawn,
A dinystr ar ymdaenu
Yn donnawg dros lidiawg lu;
Parawdd hyn ddychryn llwyr ddwys
I galon y gwr gwiwlwys.
Yn ei dêg weinidogaeth
Parhâu flynyddau a wnaeth;
Teithiodd, pregethodd y gwir
Puredig ym mhob brodir:
Beunydd yr un derbyniad,
Gwae o'r modd! ga'dd y gwr mâd:
Gweddïau, pregethau gânt,
O'i hoff enaid ni ffynnant;
Geiriau na dagrau nid ŷnt,
Llaws addig, les iddynt:
O'u trawsedd hwy ni's troisant,
Eithr oll yn waethwaeth yr ânt:
Y byd i gyd a gadarn
Lygrodd, addfedodd i farn;
Llifeiriant o hyll fariaeth
Dros yr hollfyd ynfyd aeth.
Satan yn barchus yttoedd,
Pechod mewn awdurdod oedd;
Hwy oedd ar y ddaear ddu
Yn tra nawswyllt deyrnasu.
Neshâu 'r oedd y dyddiau dig,
Ofnadwy, terfynedig
I dywallt ar lu daear
Fôr yn farn am fawr iawn fâr.
Yn hoywbur gan No' hybarch
Ca'dd y rymmus weddus arch
Ei gorphen, drwy gywirffydd,
Cyn y llidiawg ddyfrawg ddydd.
Noa, yn noddfa ei Naf,
Ragorol wr hygaraf,
Myfyriodd ef am fawrion
Farnau a da radau 'r Ion.
Er na roes byd croes ddim crêd
I'w eiriau, er cyn wired,
E gredodd y gwr odiaeth
Dêg iawn air y Duw a'i gwnaeth,
Heb uno'n, cai dderbyniad
Graslawn gan ei diriawn Dad.
Noa i'w ddirgelfa gu
Lonydd aeth i foliannu
Y mawr Nêr, ei dyner Dad,
Rhag barn, a'i gadarn Geidwad.
Seirian wr, ar amseroedd
Ei hyfryd ddedwyddyd oedd
Lloches i gyfeillachu
A'i nefawl Dad, Ceidwad cu,
O dwrf y byd a'i derfysg,
I eiriol am ddwyfol ddysg.
Tra bu 'r gwr mwyngu 'n rhoi mawl,
Yn tywallt 'i enaid duwiawl
Ger bron yr Ion, wir Ynad,
Wrth orsedd y Mawredd mâd,
Wele fâd Gennad geinwawr,
Cennad o'r Nef wenfad fawr,
A'i bêr wyneb eiriannaf
Mor burlan â huan haf,
Ar gyfer y gwr gwiwfawl
Yn gu yn gwenu mewn gwawl:
A Noa yn anëofn,
Dêg wr, mewn parchedig ofn,
Ei rudd lwys ŵyrodd i lawr
I fwynfab y Nef wenfawr.
Eb 'r hylaw brif Reolydd,
Oedd lawn mor diriawn â'r dydd;
Tydi Noa lwysdda lon
Gafwyd o flaen Duw 'n gyfion,
Culwydd gei o law Celi,
Darfu, wr gwâr, d' alar di.
Y mae 'r farn dramawr i fod
Arnynt ym mhen saith ddiwrnod:
Rheieidr glywir yn rhuaw,
Tymhestlawg, o lidiawg wlaw;
Y berwawg wlaw, heb aros,
A fydd ddeugain nydd a nos.
Coediawg fynyddoedd cedyrn
Dan foroedd chwerwfloedd a chwyrn
Orchuddir, boddir y byd
A'i hoedlawg ddreigiau hadlyd.
Ti a'th feibion, loywon lu,
A'ch gwragedd iach goreugu,
Annedd i chwi, heb uno'n,
A fydd yr arch hybarch hon.
O'r carnolion rhadlon rhawg,
A'r dinerth gôr adeiniawg,
Tri-phâr o rai gwâr i gyd
Ddeuant i'th noddfa'n ddiwyd;
A gwiwrwydd daw un gwrryw
I'w gu aberthu i'r Duw byw.
Yr unwedd, o'r rhai anwar,
Nerthawg, y daw bywiawg bâr:

Yn rhes i'th noddfa daw rhai 'n
O'u hynaws fodd eu hunain;
Ac yno, dan nawdd Gwiw-Nêr,
Tydi a'u derbynni 'n bêr.
Tra bu fe 'n llefaru 'n fwyn
Groywddoeth wrth y gwr addwyn,
Yn ei olwg anwylaf,
Hardd Gennad anwylfad Naf,
Gwir dadawl gariad ydoedd
A mâd gydymdeimlad oedd;
Llefarai 'n hoywgain hygar,
Fal cyfaill wrth gyfaill gwâr.
A Noa oedd mewn awydd,
Ger bron Mab doethlon y Dydd,
Fwyn ofyn ei enw nefawl,
I dalu iddo fwyngu fawl;
Ond ei gannaid ogoniant,
Ddisgleiriol a siriol Sant,
(Ei loywder mal haul ydoedd)
I'w lygaid rhy danbaid oedd.
  Eb gwiw lân Fab Goleuni,
O ddyn! na 'mofyn â mi;
Na ofna, Noa, mae nawdd
Dilyth Duw a'th ddidolawdd,
Hyfawl drugaredd hefyd,
A'i wyrthiau 'n parhâu o hyd.
Cadarnach a siccrach sail,
Dïodid, yw dy adail
Ganwaith na 'r ddaear faith fawr
A'i sylfaen ddofn iselfawr.
Ar ol boddi 'n haeddol haid
Y dyrys bechaduriaid,
Ffy dyfroedd moroedd marwol,
Drwy nerth, i'r dyfnder yn ôl.
Gwenu wna 'r ddaear geinwych
O'i chwmpas yn werddlas wych.
Tydi, Noa dda ddiwyd,
Tydi ail-bobli y byd:
O hyd amser sy 'n hedeg;
Dos, wr hybarch, i d' arch dêg;
Daw eirian greaduriaid
I'th noddfa yn hoywdda haid,
A gyrr dithau 'n rhestrau 'r rhai 'n
I'w llonydd gellau 'u hunain;
Ufuddion itti fyddant,
Ar air i b' le mynni 'r ânt.
Wr anwyl, dos ar unwaith,
Brysia, diwedda dy waith:
Gu was Ior, ymgysura;
Bydd lawen, daw diben da.
  Hoenus Angel, ar hynny,
Esgynnodd, e frysiodd fry.
  A Noa anwyldda 'n awr
Ar ei wyneb eirianwawr
A syrthiodd, addolodd ef
Ddaionus Dduw y wiwnef.
  Aeth Noa, fwynaf enaid,
I'r arch oreubarch, wrth raid,
A'i dylwyth eu, yn llu llon,
Wyth enaid perffaith union:
Tawel hwy barottôant
'Stafellau, heirdd gellau gânt.
  Wyrennig wr eirianwawr,
Ar gauad yr arch fâd fawr
Y safodd Noa sywfad
Gan gu olygu y wlad.
Heulawg oedd y nef haelwedd,
Arwyddion hinon a hedd.
Yn geinferth Noa ganfu
(A hynod ryfeddod fu!)
Garnolion rhadlon, bob rhyw,
Yn rhwydd ac yn wâr heddyw
Yn dynesu yn llu llawn
I'w anneddle newyddlawn:
Golygai 'r gwâr liwgar lu
Yn fwynion arno i fynu.
  Mal at Addaf, gyntaf gwr,
(Croywdeg drefn y Creawdwr)
Cyfeiriodd, deuodd pob dau
I hynod gael eu henwau,—
O rhyfedd! un wedd yn wâr
Deuant o barthau daear
At Noa, yn loywdda lu,
I gael eu dïogelu:
Noa lon ael, mewn hael hedd,
Agorai ddrws trugaredd;
A myned yn llawn mwyniant
I noddfa Noa a wnant;
Yn rhes i'r llawr isa', 'r rhai 'n
Ae 'n llonwar i'w lle 'u hunain;
Y llew yno yn llonwych
Porai wellt fel y pawr ŷch.
Ehedodd yr hoyw adar,
Fu 'n wylltion, weithion yn wâr,
At noddfa Noa dda 'i naws,
A llawen ca'dd eu llïaws
Reiol le ar yr ail lawr
Yn ei noddfa ddefnyddfawr:
Y pybyr eryr eirian,
Mwyn oedd, fal y g'lommen wan.
Dawnus bortreiad union
O lwys wir Eglwys yr Ion,
Drwy fwy o gynnorthwy Naf,
Y dyddiau da diweddaf:
Gwydlawn orthrymwyr gwaedlyd,
Fyrddiynau drwy barthau 'r byd,
Ior Hedd wna 'u rhyfedd warhâu
Yn addfwyn eu cynneddfau.
  Llwyr dêg, y trydydd llawr da
Oedd neuadd santaidd Noa:
Yno esgynnai 'n unawl
I Dduw mâd weddi a mawl.
Er mwyn pur gysur têg iawn
I'r anwyl fwynwr uniawn,
Y Llywydd hardd a llawen,
A nefawl belydrawl wên,
Gwiwfad Gennad Gogoniant,
Drws noddfa y sywdda sant
Yn hawdd gauodd y Noddwr
I gu ddïogelu 'r gwr.

# YR AIL RAN.

Duw lwys gasglodd ei dlysau
Allan o'r byd gwaedlyd gau:
Hir oedwŷd barn ruadwy,
Rai dedwydd, o'u herwydd hwy.
Dydd ceinwedd drugaredd gu,
Ei dda yrfa lwyr ddarfu;
Teilwng farn anattaliol
Ddaw'n union weithion o'i ôl.
Gwae i ynfydion gan ofidiau!
Bèr yw eu hoes i barhâu;
Drwyddynt i'w llwyr ddadwreiddiaw
Barn gyfion ddigllon a ddaw:
Ni oedir barn ofnadwy
Ar fyd anhyfryd yn hwy.
Naf Awdwr y nef odiaeth,
F' all wneud, f' eill ddadwneud a wnaeth;
Anfeidrawl ollawl Allu!
Dyweded, Bydded,—a bu.
Y Byw-Nêr, uwch pob anian,
O'i orsedd oleuwedd lân,
Draethodd farn gadarn dêg iawn;—
Chwi ddyfroedd moroedd mawriawn,
Duw Awdwr, Fi sy'n d'wedyd,
Dylifwch, boddwch y byd.
Dyfnfawr ydoedd distawrwydd
Llu y Nef oll yn ei ŵydd;
Crynodd rhag ei air croywnerth
Y Nef fawr geinwawr yn gerth.
Afrywiogwyllt fôr eigion
A rwydd wrandawodd yr Ion:
Lluoedd mŷr y gorllewin
Glywsant, grochfloeddiant yn flin,
Gan ddeffro'r deheufor hyll
O'i dawel annedd dywyll.
Mewn cyffro hwy'n swnio sydd,
A galwant ar eu gilydd:
I fynu hwy anfonant
Ddyfroedd o'u hamgylchoedd, gànt
O lyfnion heirdd golofnau
Yn ewybr i'r gylchwybr gau:
Rhyfedd! o'r dyfnder hefyd
Colofnau'n amlhâu o hyd;
Yn chwyrn gedyrn ymgodant,
Aml restr i'r cymmylau'r ânt:
Cymmylau o'r dëau'n dyrch,
Gannoedd, chwyddent ar gynnyrch:
O'r agwrdd ddyfnfawr eigiawn
Mae'r awyr yn llwyr yn llawn.
Hedodd, ymgasglodd pob gwynt,
Dywibiodd i'r deheubwynt,
I gyd-weithredu'n llu llawn
A'r gygus ferwawg eigiawn.
Byddinoedd Ior, o'r môr maith
Taranawg, ânt ar unwaith:
Cymmylau fyrddiynau 'dd ânt,
Yn hoywdeg iawn ehedant
Ar wyllt-wasgar gyda'r gwynt
A'i adenydd chwyrn danynt:
Duon oedd ei edyn ef
Yn llenwi yr holl wiwnef.
Duon gymmylau döant
Yn llwyr yr awyr lle'r ânt.
Hyll dduodd yr holl ddaear!
Chwerw iawn nos! daeth dychryn ar
Ddewrion a beilchion y byd;
Trwyddynt, trostynt daeth tristyd.
Llethodd cymmylau llwythawg
Yr holl ehangder y rhawg.
Hyd lydain wastad wledydd,
Heb haul da, ac heb liw dydd,
Tywalltant, hwy fwriant fôr
Draw i'r llawr drwy'r holl oror.
I eneidiau anhydyn
Yn ebrwydd bu sobrwydd sŷn;
Llwyr alar y lle'r elont!
I ba 'mddiffynfa y ffônt?
Ynfydion ffolion di ffydd,
O lydain wlawog wledydd
Rhedant (ac udant ar g'oedd)
Yn nawswyllt i'w dinasoedd.
Hawdd gwybod nad oedd gobaith
Mewn tyrau na chaerau chwaith:
Caerawg ddinasoedd cywraint,
Nerthawl, anfeidrawl o faint,
Llawnion o drigolion gau,
Taenodd trostynt y tonnau;
Cestyll a chaerau costfawr
A wnai'r llif yn un â'r llawr.
Gan ofn, y ddaear ddofn ddig
Gron ydoedd yn grynedig.
Trwy galon trigolion gau
(Annedwydd iawn eu nadau
Mawrion) tros bob cymmariaeth
Dychryn ar ddychryn a ddaeth.
Y' nghanol masweddol swn,
Gweniaith a miwsig Annwn,
Miloedd mewn gwleddoedd gladdwyd
Dan gryfdwr y llifddwr llwyd.
Rhyfelawg gawri ffloedd,
Arfogiawn bliniawn eu bloedd,
Dan donnau'r cadau cedyrn
Chwalwyd, orchuddiwyd yn chwyrn.
Daear hen, drwy wahanu;
Yn dadmer i'r dyfnder du;
Hi, wrth esgor ar foroedd
Llïosog iawn, yn llesg oedd.
Ffynnonau'r dyfnderau, dig
Waelodion anweledig,
Ferwedig ddeifr rhuadwy,
Cynhyrfwyd, dihunwyd hwy;
O ddu ddyfngroth y ddaear
Y rhuthrant, berwant mewn bâr.

Gan fôr gwyllt gwŷn-ferwawg oedd
Yn torri rhwng y tiroedd,
Ynysoedd ymrannasant,
Trymmion i'r eigion yr ânt:
A'r tonnau 'n fynyddau 'n awr,
Dorfoedd, mewn ymchwydd dirfawr.
Pa barthau, pa gonglau gaid
I daerion bechaduriaid
Rhag digter y dyfnder du
Dïattal sydd o'u deutu?
Ar hyd a lled pob gwledydd
Dychryndod a syndod sydd.
Oh grochgri yr hagr gawri gau!
Tramawr ddinystr myrddiynau!
Y Diluw chwyrn a'u daliodd
Ar hynt, am danynt ymdôdd.
  Od eir i barthau 'r dwyrain,
Neu 'r gogledd;—rhyfedd! drwy'r rhai 'n
Miloedd sydd o gymmylau
Tewion yn hyllion amlhâu:
Du y wybren a dybryd,
Tywyll ac erchyll i gyd!
Golau ronyn ni's gwelant,
Ond cochion fellt gwylltion gânt;
Taranau trwy y wiwnef,
Cefnlli' o ffenestri nef!
Rheieidr fyrddiwn yn rhuaw
Yn ffrydiawg o lidiawg wlaw!
Gan amlder, llawnder a llid
Y gwlaw, yn sŷn e glywid
Ar gyhoedd, drwy gymmoedd gânt,
Arw hyll ferw y llifeiriant.
Afonydd â'u holl-rydd hynt,
A chynnwrf mawr, wreichionynt;
A'r awyr yn adruaw,
A mawr drwst gan y môr draw:
Ymwriaw mae 'r môr mawrwyllt
Mewn bâr yn ei garchar gwyllt,
Drwy ewynawg daranu
O'r llyngclyn diderfyn du.
Rhai ynfydion gwylltion gau
Am nawdd ffônt i'r mynyddau;
Rhedai 'r môr mawr rhuadwy
Ar fyrder i'w huchder hwy.
P' le 'r ânt? p' le safant? p' le sydd
Rhag y gwaeau tragywydd?
Cydwybod, dyst parod pur,
Gwedi bod yn gysgadur,
Yn fud ym mhlith ynfydion,
Mae bywyd o hyd yn hon;
O'i chwsg caeth hi ffraeth ddeffrôdd,
Ac a'u haddig gyhuddodd,
A chospedigaeth waeth oedd
Na dwr y gorddyfnderoedd:
Tros fyth hon weithion ni wna
Dewi, hi fŷn wrandawiad.
Oh annedwydd eneidiau!
Rhy hwyr oedd edifarhâu.
Parod oedd byddinoedd Ion,
Rhoddwyd y byllt yn rhyddion:
Chwyrn derfysg, dychryn dirfawr,
Goleuo mellt drwy 'r gwlaw mawr.
Yn addig dwr a thân oeddynt
Yn elynion gwylltion gynt;
Ond yn awr unwyd eu nerth,
Cawri agwrdd cywirgerth;
Gwelir hwynt, ar y galwad,
Yn feibion dewrion un Dad;
A thradewr gydweithredant
A'u cyflym holl rym lle 'r ânt.
  Ynfydion gwylltion a gau
Udant gan ddychryniadau.
Y rhyfelwyr rhy filain,
Ofer ffrwst rhydrwst y rhai 'n;
Eu 'mddiffyn yn erbyn Nêr
A gafwyd yn wag ofer:
*Oddiallan*—llydan yw llid
Y nefoedd,—*o'u mewn*, ofid.
Ffrydiaw yn gyffröedig
Yr oedd y dyfnderoedd dig:
Soddawdd y dinasyddion
Dan gryfder dyfnder y dôn.
Yn addig yr anoddyn
Holl fawrfaith gadarnwaith dyn
A chwalodd, lyngcodd i lawr
I'w dyrfawg ddyfnfol dirfawr:
I'w gwydlawn feibion gwaedlyd
Daear fu 'n garchar i gyd;
Yr aruthr garcharorion
Lyngcwyd yn fyw heddyw 'n hon.
Pob glân, pob eirian oror,
Pob mynydd is moelydd môr:
Dinystr bloeddfawr ymdaenodd,
A'r crwnfyd ynfyd amdôdd.
  Llwyr gŵyn! bu 'r lli' ar gynnydd,
Dig wae dost, bedwar deg dydd:
Y ddaear ar wasgar oedd,
Dewfraisg, ym mol y dyfroedd.
Mawr ddinystr ammhur ddyniawn
Am gabledd a llygredd llawn!
  Dost arwyl! adystyriwn
Ddinystr y byd hadlyd hwn:
Yr aneiri' gawri gynt,
Diweddar duwiau oeddynt,—
P' le 'n awr mae 'r dirfawr dorfoedd
Rhyfelawg, bleiddiawg eu bloedd?
Y dewrion danbaid arwyr?—
Porthiant i bysg ym mysg mŷr.
Cyflog pechod, siecrnod saeth,
Mawr alar! yw marwolaeth:
Masweddwyr ynddo 'msoddant,
Tragywydd gerydd a gânt.
  Fe ŵyr Naf na fedraf fi
Ystyried, mewn tosturi,
Ddinystr uffernawl ddynion,
Llwyr wae! dan bwysau llaw 'r Ion.
Am adar cerddgar y coed,
Peraidd lïaws heb hiroed,
A'r llon ddâ mudion, y mae
O herwydd achos hirwae;

Am y rhai 'n, druain, mae 'n drwm
Eu gweled mewn caeth gwlwm.
Carnolion gwylltion a gwâr,
O ddeutu y ddu ddaear
A fuant mewn llwyddiant llon,—
Tan foroedd maent yn feirwon!
Nifer adar y nefoedd,
Hylwydd eu hynt gynt ar g'oedd,—
Dinerth trodd eu hadenydd,
Hwy wedi soddi y sydd
Fry o nef,—yn feirwon ar
Fawr wyneb dyfnfor anwar!
Byddar i bob rhybuddion
Rodd Ior Hedd, fu 'r ddaear hon:
Hyd eigion Damnedigaeth
Barn Duw yn Ddiluw a ddaeth:
Distryw dirfawr, bloeddfawr bla!
Diweddiad ar hâd Adda!
I'r Diawl ac i'w arw deulu
Rhyfedd orfoledd a fu.
Satan, mewn llid llydan llwyr,
A ruodd fry 'n yr awyr
Wrth ei weisiawn creulawn croch;—
Chwerwddwys, ddiafliaid, y chwarddoch!
Gwelwch fy muddugoliaeth!
Mae 'r byd in' i gyd yn gaeth!
Yn ddibris, myfi 'n ddybryd
Ddinystriais, boddais y byd!
Dyma eneidiau damnedig,
Fyrddiynoedd o dorfoedd dig,
I'w chwerwon hagr garcharu
Ym meithder y dyfnder du.
Y bawyddion fu 'n boddiaw
Gorthrymwyr neu dreiswyr draw,
Yn hir hwy gospir yn gerth
Danynt, fawyddion dinerth:
Gwaith rhy wael i gythreuliaid
Fflangellu 'r fath hagrddu haid.
Dygwch hwynt i'w helynt hyll,
I'w gwarchae fflammawg erchyll,
I finion chwyrn afonydd
Drygsawr yn swnfawr y sydd
Yn rhydrwm yn rhaiadru
Yn ofn i Annwn ddofn ddu:
Yno cânt ganfod Annwn,
A chlywed synned ei swn.
Hwythau, mewn cadwynau dig
Rhuadwy 'n garcharedig,
I gyd yno a gedwir
Dan feichiau o waeau 'n wir,
Hyd Farn dydd cadarn i'w cau
Yn Annwn gyd â ninnau.
Chwyrn hedoch; gwyddoch mae'm gwaith
Heb ei orphen yn berffaith:
Minnau â'm prif gadau i gyd
Ddeuwn o'ch ôl yn ddiwyd.
Felltennawg dorf wyllt Annwn,
Ehedant, saethant mewn swn
Dirfawr, ac erchyll dorfoedd
Damnedig, fileinig floedd,
I'r maith Anobaith di nawdd;
Gerwin yr ymagorawdd!
Lusiffer, mewn balchder bas,
Ennynnodd etto 'n wynnias:
Gyrraf ruadwy gorwynt
Nerthawg a rhuthrawg ar hynt,
Hell farn, i ferwi 'r holl fôr;
Fe lwngc y dwfn draflyngcfor
I'w gwmman, mewn dig ammharch,
Yr egwan anniddan arch.
Cyfiawnder, mewn digter du,
O'r Gwynfyd claer a ganfu;
Yn ddwys ogonedduswawr
Craffodd, golygodd i lawr;
Rhag purdeb ei hwyneb hi,
Dêg hylwydd ferch Duw Celi,
Ffodd Satan yn hagrdan hyll
A'i daerion ddieifl yn deryll,
Fyrddiynau i'r Dyfnderau dig
A godwrf melltigedig.
Hir dymmor mewn Dyfnfor du
Byddant yn ymdrybaeddu.
A dig yrr y damniaid gau
A glywsant eu cryg-leisiau
Wrth ddisgyn i'r Dyfnlyn du
Gorwynnias, dan hagr grynu!
Arwydd o'r distryw eirias
A ddaw i'r chwern Gethern gâs
Yn nydd cadarn y Farn fawr;
Yno 'r holl enwir hyllwawr
Yn ddiawliaid a damniaid ânt,
Yn Annwn byth ennynnant.
Cyfiawn y farn!—cofiwn fod
Trugaredd burwedd barod
Hefyd yn hyfryd yn hon,
Gwiwfawl drugaredd gyfion.
Ar ddyfrys o Lys Duw lwyd
Yn fwynion y danfonwyd
Angylion gwynnion a gwâr
I dywyll barthau daear
I ddwyn rhai santaidd union
I wlad oreufad yr Ion:
Gwirioniaid, heb lwgr einioes,
Y rhai 'n ânt ym more 'u hoes
I gannaid fyd Gogoniant;
Hedd, drwy drugaredd, a gânt,
Er mawl i'r Rhyfeddawl Fod,
I Ddofydd sydd i ddyfod.
Cyn i bechod cyndyn caeth
Eu swyno i'w wasanaeth,
Cyn gwybod na chanfod chwaith
Ddrygau a chynddeiriogwaith
Cythreulig fyd ffyrnig ffol,
A'i ynfydrwydd anfeidrol,
Hwy, wirioniaid eirianwawr,
Hwy, o blith llu 'r felldith fawr,
Hwy, o ddinystr haeddiannawl
Caethweision deillion y Diawl,
I dêg Fyd a gyfodwyd,
Uwch pob braw, dan law Duw lwyd:

Esgynnodd i Lys gwiwnef
Eneidiau funâu i Nef;
A chadarn lu gwarcheidwawl
O Feibion gwynnion y Gwawl
I'w dwyn i'w hyfryd Annedd,
Fyrddiynau, i fwynhâu hedd.
Yr oedd niferoedd Nef wèn
I'w croesawu 'n llu llawen
I drigfannau 'r seintiau sydd
Lawnion o wir lawenydd;
Helaeth Noddfa uwch heulwawr,
Cynteddau 'r Nef olau fawr:
O ddedwydd ryfeddodau!
Pur hedd sydd yno 'n parhâu:
Hwy yno 'n Llys SILOH 'r SANT,
Wir hoff weision, orphwysant
Hyd fâd gyfodiad i Farn;
Gwed'yn i'r loywnef gadarn,
I ganwaith mwy gogoniant,
I hedd ddi ddiwedd ydd ânt.

# Y DRYDEDD RAN.

F' Awenydd, tro 'th wedd fanol
O'r Nef i'r ddaear yn ôl.
Pa wrthddrych mor drefnwych draw
Dan nefoedd sy 'n dynofiaw
Goruwch bloedd dyfroedd y dôn
Ar ogwydd hyd yr eigion?
Ai llong ddihwyl anwyl yw,
Wych adail, neu arch ydyw?
Oes neb daionus yn ôl
Trwy foddion tra rhyfeddol?
O Noa ragora' gwr!
Credaist air y Creawdwr;
Cedwaist hefyd fyd yn fyw
O ddwystrwm ddyfnfawr ddistryw:
Dedwydd, dan nawdd Duw, ydwyt;
I'r byd, wr mâd, eil-dad wyt.
Ion a gofiodd No' gyfiawn,
Dduwiol wr dedwyddawl iawn:
Galwodd Ion y gogledd wynt
Ar unwaith â'r dwyreinwynt
I hedeg yn genhadawn
At fyddinoedd, lluoedd llawn,
I'w chwalu, a'u dychwelyd
I'w hannedd i berfedd byd,
I rwydd enciliaw 'n raddol
I'w cau anneddau yn ôl.
Nef-genhadon ëon ânt,
Hwy hyddysg chwyrn gyhoeddant,
A mawrfloedd, i dorfoedd dig,
Gadarn air bendigedig
Eu Harglwydd;—yn ebrwydd iawn
Torfoedd y moroedd mawriawn,
Galluoedd byddinoedd Ion,
I'w ehedwyllt genhadon
Y rhoddant barch o'r rhwyddaf,
Yn unawl i'w nefawl Naf.
Gwedi cyflawni 'n gadarn
Yr haeddol fawr-farwol farn,
Yn rhestrau fyrddiynau 'dd ânt,
I'w trigle dwfn y treiglant
Yn ôl, ol-yn-ol, i lawr
Ar hyd daearfyd dirfawr;
Y moroedd ddwfn-furmurant;
Yn ôl yn raddol yr ânt
I ddu ddyfngroth y ddaear
Fawrgron, ac, mal gweision gwâr,
Yno 'n eu cadarn annedd
Gorphwysant, hunant mewn hedd.
O'r dyfrawg berwawg ddwfn bant
Ynysoedd esgynnasant;
Daeth y crwnfyd hyfryd hwn
Yn ôl i'r drefn a welwn.
Rhyfedd oedd adfer hefyd
Daearlawr gylchfawr i gyd
I'w seiliau 'n drefnus hylwydd,
Megis gynt, ar hynt yn rhwydd:
Seiliad yr adeilad oedd
O rym mawr ar y moroedd;
Diwyrni sail gadarnaf,
Dechreuol drefn wyrthiol Naf.
Annifyr wedi nofiaw
A throi bum mis yma a thraw
Trwy ganol anfeidrol fôr
Digofus yn dygyfor,
Ar lyfndeg ben difreg da
Mynydd mawr yn Armenia
Yr arch lwys a orphwysawdd,
Lawn trysor, dan Ior a'i nawdd.
Fe wybu No' a'i feibion
(Moliant a roesant i'r Ion)
Eu bod wedi d'od i dir
Golau, lle 'u diogelir.
Yn diriawn wedi aros,
Drwy ffydd, ddeugain nydd a nos,
I'r moroedd o rym marwol
Dreio 'n lân weithian yn ôl,
Agorodd Noa 'n gywrain
Ffenestr fâd y cauad cain:
I Noa, fwynaf enaid,
Golwg yn llawn gwg a gaid;
Tra thew y nofiodd tarth hyll
A duoer drwy 'r wybr dywyll;
Hyll nifwl drwy 'r holl nefoedd,
Terfysgawg, bygythiawg oedd;
Haul agwrdd ar lewygu
Yn distaw deithiaw mewn du:
Y lloer dyner a'r ser sydd,
Lu gwelwon, fal eu gilydd,
Yn llwyr brudd, dan gudd yn gaeth
Yn wylaw mewn dwfn alaeth.
Un wyneb drwy 'r ddu nennawr
I ddydd a nos oedd yn awr.
Tra 'r oedd y moroedd mawriawn
A'u dyfnfloedd yn lluoedd llawn,
Trwyadl, i gyd yn treio,
Gan ryddhâu brynniau a bro,
Noa fynych anfonawdd
Genhadon hoywon yn hawdd
I chwilio (a dychwelyd)
Pa ffrwythau drwy barthau 'r byd.
Wrth ei hammhur natturiaeth
Y gigfran aflan a aeth
Fythawl i ysglyfaethu,
Mewn gwleddau 'sgerbydau bu.
Y g'lommen ufuddwen fâd,
Cywrain negesydd cariad,
Chwai eilwaith y dychwelawdd
I noddfa Noa, dda nawdd;

Yn hael yn ei gylfin, hi
Gludodd, rhag mawr galedi,
Ddedwydd arwydd o wiwras,
Ddeilen olewŷdden las:
Dedwydd newydd i Noa
Y denfyn Ior dymmor da.
Y mwynwr llawn amynedd,
Dan Dduw 'r duwiau 'n mwynhâu hedd,
Disgwyliodd am dês golau
Yn eurdda hîn i'w ryddhâu:
Am nwyfus drum y nefoedd,
Y gwr cu, hiraethu 'r oedd.
I Noa, oedd lawn awydd
Ymado, a rhodio 'n rhydd,
Calan yn ddiddan a ddaeth
A dedwydd ryddid odiaeth:
Y cauad mâd symmudodd,
Rhan o honaw draw e drodd;
Fe welodd y nef wiwlon,
A'r haul yn uchelder hon;
Gwenu 'r oedd y nef geinwawr
Yn ei phrydferth nerth yn awr;
Daear anwyl dirionwych
O'i gwmpas yn werddlas wych:
Blwyddyn newydd ddedwydd dda,
A newydd fyd i Noa!
Noa, mewn hyfrytta' frys,
Aeth allan wrth ei 'wyllys:
Gwâr deulu 'r gwr duwiolaf,
A ffyddlon weision eu Naf,
Yn llu anwyl llawenwawr,
Ar gauad yr arch fâd fawr
Safasant, gwelsant dêg waith
Yr Ion i gyd ar unwaith:
Pêr foliant roisant i'r Ion
Mawreddawg am ei roddion,
Am adfer o'r dyfnder dig
Y llydan fyd colledig,
A'u cadw hwy 'n fyw o'r codwm,
I ddïangc rhag y trangc trwm.
Hyfryd, ar ol culfyd caeth,
Fu 'r heulawg nef fawr helaeth:
Lonned oedd ael y wiwnef!
Mor hyfryd wynebpryd nef!
Noa, fab anwylaf Nêr,
A gredodd mewn gwir hyder
Yr anfonai 'r Ion fwynwedd
Gennad o Fyd hyfryd Hedd,
O'i gariad, y pryd gorau,
Ar eurwedd hîn i'w ryddhâu.
Caniadau, emynnau mawl
A wnaen' yno yn unawl;
I'r Duwdod cenynt glod glau
Hynodawl o'u heneidiau.
Nen y wybren ysplennydd
Oedd lanach, deccach bob dydd;
Gan lygad goleufad glân,
A rhywiog wres yr huan,
Y ddaear gron, wiwlon wedd,
Dymherwyd o'i hammhuredd,
Yn addas fyd newyddwawr
I'w gu gyfanneddu 'n awr.
Noa wâr fu 'n garcharor
Flwyddyn hirfaith ar faith fôr:
Gwed'yn, mewn gobaith gwiwdeg,
Parhâu y bu ddyddiau ddeg.
O'r dwyrain, yn rhod euraid,
Yr haul cu 'n gwenu a gaid.
Noa o'i ddeutu 'n ewybr
Olygodd nen y wèn wybr:
Ger llaw caerau 'r gorllewin
Fe ganfu bwys hagrddwys hîn:
Mewn dyfnddwl gwmmwl yn gerth
E ganfu enfys geinferth;
I'r dilyth wr a'i deulu,
Wrth ganfod, rhyfeddod fu.
Gwawl nefawl (rhyfeddawl fodd!)
O'r gain dwyrain a dorrodd:
Noa drodd, e welodd wawl
Gwir Degwch digreedigawl;
A Noa, yn anëofn,
Dêg wr, mewn parchedig ofn,
Syrthiawdd, ger ei Nawdd, yn ŵyl,
Ar ei wyneb, wr anwyl.
Yn ewybr galwyd Noa
Allan, yn wr diddan da.
Buan ei hunan yn hawdd
Y gywrain ddor agorawdd.
I'r heulawg ddaear helaeth
Noa lon yn union aeth:
Dilyn yr oedd ei deulu,
O'r arch, eu tad ceinbarch cu.
Ymgrymmodd, addolodd ef
D'wysog enwog y wiwnef.
Hyfwyn Angel Tangnefedd,
A'i ael yn llawn o hael hedd,
Lafarodd, mewn dwysfodd da,
Araith newydd wrth Noa,
Gu was Ior, i'w gysuraw,
Gan hyfryd dd'wedyd,—Ni ddaw
Y fath Ddiluw fyth eilwaith;
Carcharor fydd y môr maith.
Tymmerus fydd tymmorau
Drwy 'r byd i hyfryd barhâu:
Pryd hau a phryd cynhauaf,
Pryd oerni, pryd heini' haf,
Nos a dydd ni's diweddan'
Tra bo 'r ddaear liwgar lân.
Ior sywdeg, e roes wed'yn
Eurdda hardd arwydd o hyn;
Arwydd gwiw lwydd i bob gwlad
Yw 'r enfys, gylch eirianfad.
Geinfawr Arglwydd y Gwynfyd
Sy 'n meddu 'r gallu i gyd,
Y nefoedd â'u lluoedd llon
I'w foddiaw sydd ufuddion,
A'i hael ragluniaeth o hyd
(Rhyfedd!) drwy 'r ddaear hefyd;
Yn ei law, union Lywydd,
Y gwaelaf iselaf sydd;

Yn ewybr rhoes i Noa
Orchymmyn dichlyn a da
I ofalu am fywiolion
Oedd yn yr arch hybarch hon,
Garnolion gwylltion a gwâr,
A heidiau o hoyw adar.
Eu gollwng yn dêg allan
I'r gwyrddlawr, bob mawr a mân,
Yn rhyddion eu rhoi heddyw,
Y glân a'r afian o ryw
I lenwi'r wlad ffrwythlonwawr,
A'r lawen ffurfafen fawr.
I No' anwyl yn uniawn
Fe rodd awdurdod fawr iawn;
Sef awdurdod bod yn ben-
Rheolwr dan yr heulwen.
Yr anfarwol nefol Nawdd
Gwiwdeg, ei ddwylaw godawdd
I nef, ac â'i lwyslef lon
Fe eirioes draethodd fawrion
Fendithion, rhoddion Duw 'r Hedd,
I'r mwynwr mawr amynedd.
Ymgododd, Ior myg, wed'yn
Yn glaerbryd, i gyd mewn gwŷn,
I wyrennig eirianwawr
Drigfannau 'r Nef olau fawr.
Y patriarch hybarch mewn hedd,
A'i deulu 'n llawn duwioledd,
A lwyddawl orfoleddant
Am Ion gysuron y Sant.
Ar air y disglair Ior da,
Yr addwyn, wr gwareiddia'
Gyda pharch i'r arch yr aeth
I hylaw ryddhâu 'n helaeth
Garnolion gwylltion a gwâr,
A heidiau yr hoyw adar
O'u gwyll a'u cyfyng gellau
I dês y dydd clodrydd olau.
Ac wele! 'n ol eu gilydd
Allan i dês llon y dydd
Yn ddofion weithion aethant;
Mor dêg yn gymmariaid ânt:
Y llew, brenin eu lliaws,
A'i gymmar, yn wâr eu naws,
Ar unwaith, bâr eirianwawr,
Ymgrymmant, llyfant y llawr:
At Noa, am noddfa, 'n wâr
E ddeuodd torf y ddaear
I haeddawl dalu heddyw
Ufudd-dod am fod yn fyw.
Yn fud hwy ymsymmudant;
Mwynaidd, arafaidd yr ânt,
Gan synnu o'r ddeutu 'n ddwys
Ar olau 'r awyr wiwlwys:
Pan deimlasant (llwyddiant llawn)
Eu rhoddi 'n wir yn rhyddiawn,
A mawr swydd mor ĕon
Chwareuant, llammant yn llon;
Agwrdd chwarddant yn wiwgerth
Yn llawen iawn â'u holl nerth;
Didawl eu mawl clodadwy,
A pherffaith, yn eu hiaith hwy,
Yr eryr craff yr awrhon
A'r adar lliwgar a llon
Y nef gu wynebu wnant,
Yn hoywdeg yno hedant;
Hwy daenant eu hadenydd
Fry y' ngwres disglair dês dydd;
Torrant, o'u hir ddistawrwydd,
I'w ffraeth buroriaeth bêr rwydd.
Wrth glywed a gweled gwâr
Dewion garnolion daear,
A'r adar pêr-lafar, lu
Anwyl, yn cyd-lawenu,
Gweddus ddeilliaid gwiw iddo,
Gwenodd, llawenychodd No'.
Ar Ararat fawr eres,
I Arglwydd pob llwydd a lles,
Am nefol a nerthol nawdd
Yn lanwaith Noa luniawdd
Hardd allawr ar y llawr llon
Y gwelodd olwg wiwlon,
Dês cannaid y Shecinah;
Hwn oedd wir santaidd dir da.
Detholodd, wr doeth hylon,
Aberth goreuferth i'r Ion,
Un gwrryw cefnog eirian,
O bob creadur gloywbur glân.
Hon oedd hynod ddefod dda
Er yn nyddiau 'r hen Adda;
Ac o dad-i-dad y daeth,
Hoedlawg, drwy bob cenhedlaeth:
Rhyfedd arwydd oreuferth
O'r perffaith Iawn cyfiawn certh,
Rhag garw boen, rhag hir benyd,
Am feiau pob oesau 'r byd.
Rhodd y gwr rhwydd ac eirian
Yr aberth prydferth bob rhan
Yn ufudd mewn trefn wiwfad
Ar allawr y dirfawr Dad.
A Noa, fwynaf enaid,
A'i feibion gwiwlon a gaid
A'u heirdd wragedd rhinweddol
Yn un-llu yn nesu 'n ôl.
Mewn difri' hoff weddi ffydd,
Ei ddwylaw, wir addolydd,
A'i olygon mwynion mâd
A gododd at Dduw Geidwad.
Tra bu 'n aberthu i'w Bôr
Hygaraf ar gu oror
Ysplennydd y mynydd mawr,
Ar weddi 'r gwr gwareiddwawr
O'r nef lân ffammiodd tân têr,
A'r aberth yn oreuber
A fywiog lwyr ddiffodd
Mewn nefawl ryfeddawl fodd.
Ar unwaith, wŷr eirianwawr,
Tra llon, syrthiasant i'r llawr:
Addolant Ion yn ddilyth;
Yn y Sant gobeithiant byth:

Dan ei nawdd cyfodi wnant,
Syw foesawl gydsafasant:
Ymunant i emynnu
Mawl yn orfoleddawl lu;
Mawl am ragorawl gariad
Eu Harglwydd a'u dedwydd Dad
Am fâd warediad o ruthr
Tra ewybr ddistryw aruthr,
O deilwng farn y Diluw,
Dan odiaeth gadwraeth Duw.
  Hyfawl holl ffyrdd Iehofah,
Cyflon a doethion a da:
Rhagluniaeth helaeth o hyd,
Yn dawel iawn a diwyd,
Sy 'n arwain pob synwyrawl,
Rhag ystryw a distryw 'r Diawl,
I gael eu dïogelu
Rhag barn, dan Nawdd cadarn cu.
  O ddedwydd addewidion
A glywsant, i'w llwyddiant llon!
Siccrwydd o fawrlwydd i fod,
Drwy oesoedd daear isod,
Yr hilient yn dra helaeth
Mewn llawnder o fwynber faeth:
Hwy lanwyd o lawenydd,
A gobaith, a pherffaith ffydd.
  Ddarllennydd, gwybydd a gwel,
Ti ddygi farn ddïogel,
Dinystr dirfawr a dynni
O dân tost ar d' enaid ti;
D' enaid, am anghrediniaeth,
Fydd yn dragywydd yn gaeth,
Os ni wrandewi dy Dad,
Glyw 'r wiwnef, yn galw arnad;
Mae 'r galwad mewn parhâd rhydd,
Tadawl yw 'r galwad dedwydd:
Drwy 'i Air, drwy 'i Yspryd, a'i ras,
Adnewydder di 'n addas,
Ac addas yn drag'wyddawl
Fyddi 'ngwlad geinfad y Gwawl.
  Mae gobaith *yma*, gwybydd,
I ti droi a ffoi drwy ffydd;
Mae hedd a thrugaredd gu,
Groywdeg i'w cael drwy gredu;
Mae Aberth mawrwerth a mâd
Rhag barn;—yn gadarn Geidwad
Dofydd fo byth yn d' afael,—
O hyd mae Gwynfyd i'w gael.

# IOSEPH,

## LLYWODRAETHWR YR AIPHT.

---

### Awengerdd.

---

Y mae Ioseph fy mab etto yn fyw.
GEN. xlv. 28.

# IOSEPH,

## LLYWODRAETHWR YR AIPHT.

---

## Y RHAN GYNTAF.

Yn Enw Duw, fwyn Awen dêg,
Hyfryd o hyd yw hedeg,
A chwilio mawrwych helynt
Cenhedloedd ac oesoedd gynt,
Cyfod, cân i eirian wr,
Newyddwawd i'r mawr noddwr,
A hyfawl lywydd hefyd,
Dda bôr, waredodd y byd.
  Teithiais, deuais o'r diwedd
I wlad gu oludawg wedd,
I lwyni o bêr luniaeth,
Nefol ac anfarwol faeth.
Yf win, a bwytta, f' enaid,
O'r ffrwythau gorau a gaid.
  Mae 'r haul claer oddiar gaer gu
Y dwyrain gain yn gwenu;
Nifwl o'i gylch sy 'n noflaw,
A thyner lawnder o wlaw;
Mai gwlaw a ddaw i'r ddaear
A gyfyd yr ŷd o'r âr,
Deigr enaid wnan' dêg rinwedd
I gynnyddu 'n gu ei gwedd.
  Drwy 'r byd, mor hyfryd yw'r hin;
A lliwiau y gorllewin!
Goleugerth yw'r golygiad
Yn egawr i fyd mawr mâd!
O am aden y wèn wawr
I gyrraedd y dêg orawr!
I fynu (gwel, f' Awenydd)
Duwiau ar orseddau sydd!
Pa ganu! pa ogoniant!
Mor gysson yw tôn pob tant!
  Daioni Duw ei hunan,
Ei helaeth Ragluniaeth lân
Yn trefnu 'r byd hyfryd hwn,
Gu Awenydd, a ganwn.
  Ni rydd ynfyd bawlyd bin
Am lwyswawd fel melyswin,
Rhagrithiwr, na chablwr chwaith,
Neu gybydd, ni wiw gobaith:
Y duwiol a wrandawant,
Gwrando, iawn ddefnyddio wnant.
Gwir-ddwys yw pêr gerdd Sïon,
Unol â difrifol fron.
  Abra'm, dan y fawr wybren
Ei enw fydd tra bo 'r nef wèn:
Iddo daw addewid Ion,
Fyw obaith, yn ei feibion,
Yn fil-fil ei hîl amlhânt,
Rhyfeddod hir a fyddant;
Hwy lenwan' Ganaan i gyd,
Eu cu hoywfro dêg hyfryd;
Llenwan' bob eirian oror
Fawr o faint, o fôr i fôr.
Deuddeg mab lliwdeg a llon
Ro'i Nêr i un o'i ŵyrion;
I Israel ddiwael ei ddawn
Odiaethol fu 'r bendithiawn.
Ar ol i'r nefol lân wr
Doethwych fod yn ymdeithiwr
Mewn dïeithr wlad anfad iawn,
Heb lonydd, flwyddau bliniawn;
Yn Syria hir amseroedd
Yn gaeth, wr odiaeth, yr oedd;
Ei Dduw welodd ei ddu-loes,
A mâd warediad a roes.
I'w dêg wlad enedigol
Daeth ef, dan nawdd Nef, yn ôl,
I Ganaan lawn o gynnydd
Fe ddaeth, wr hyfaeth, yn rhydd,
A'i deulu 'n geinlu i gyd,
A chyfoeth mawrwych hefyd.
Gwelodd, hoffodd ei galon
Ei wlad enedigawl lon.
Ei ie'ngaf addfwynaf fab,
O burwch wyneb arab,
Ac enaid, O mor geinwawr!
A ryngodd ei fodd yn fawr.
Hwn, pan yn llangc ifangc oedd,
I'w dad rhyfeddod ydoedd:

Ei dad, o ran cariad cu,
Ran urddas, ran ei harddu,
Rho'i'n siccr i hwnnw siacced
Amryliw, o geinwiw gêd.
Yn ei olwg amlwg oedd
Dawn wiwferth, nôd y Nefoedd;
Cariad at Ddûw Dad a dyn
O groywdda buraf gwreiddyn.
Ddau ddawnus, ymddiddenynt,
Gan aml goffhâu 'r gwyrthiau gynt,
A chenynt fawl gwych hynod
I'r nefawl anfeidrawl Fod.
Hyderodd ei dad arab
Am ddedwydd fawrlwydd i'w fab:
Wr glân, dirgel lawenodd,
Hyfryd ei fyd wrth ei fodd.
Hoff oedd gan Ioseph addwyn
Areiliaw ei lwyddawl ŵyn:
Gwelodd ef wrth fugeilio,
Yn amlwg, lawer drwg dro;
Gwelodd, a thrwm fu galar
Ei galon rinweddlon wâr,
Fawr adwyth bai ei frodyr,
Wegi a drygioni 'r gwŷr.
Barnodd ef, yn buriawn ddoeth,
Er hynny, mai rhy annoeth
I'r ie'ngaf, lleiaf o'u llu,
Roi addysg i'w ceryddu.
D'wedodd i'w dad clodadwy,
Fab diwair, eu hanair hwy:
Iawn i'w dad purfad llawn pwyll
Awdurdodi 'n dra didwyll.
Ei frodyr, yn friwedig,
A ffrommant, a ddaliant ddig,
Ag ynfyd olwg anfwyn,
Heb fedru llafaru 'n fwyn.
Rhyfedd wed'yn freuddwydiawdd,
Fab geirber, dan Nêr a'i nawdd:
Myfyrio 'n effro a wnaeth
Hyd eigion synnedigaeth.
Ydd ydoedd ei freuddwydiawn
O radd gerth fawreddog iawn;
Arwyddion o rïeiddwych
A helaeth lywodraeth wych;
Yr hoyw loer o liw arian,
Yr eurwawr haul gloywfawr glân,
A'r ser yn uchder y nef,
A wnaent ger ei fron yntef,
Diweirfab, mewn parch dirfawr,
Ymgrymmu, loyw lu, i lawr.
Y ryfeddod hynod hon.
A gwylaidd lawen galon,
Adroddodd: frodyr eiddig,
Llidiant a dyblant eu dig.
Yn greulon, a'u bron mewn braw,
Ei frodyr dirfawr frydiaw
A wnaethant yn annoethion
Wrth yr eres hanes hon.
A hyn i'w dilyn heb dawl
Oedd ofid anoddefawl:
Trônt draw (gan lidiaw) ar led
Eu golwg rhag ei weled.
Satan ddu ganfu eu gwŷn
I'w mynwes yn ymennyn:
Satan ei hunan yn hawdd
Eu gwynnias lid feginawdd.
Y Diawl yn nerthawl a wnaeth
Lenwi 'r gwŷr â gelyniaeth.
Wŷr grymmus golygus glân,
Daethant i fangre Dothan.
A'u tad un galwad a gânt,
Ddydd bwygilydd bugeiliant.
Y bywiog fwyn fab ieu'af,
Wir dduwiol naws, ar ddelw Naf,
Gyd â'i dad, anwylfad nawdd,
Yn addwyn gyfanneddawdd.
Eb ei dad gwiwfad â gwên,
Fy lliwus fwyn fab llawen,
Ioseph, fy mab dewisaf,
Yn nydd a nos dan nawdd Naf,
Dos a dychwel, gwel y gwŷr
Hyfrydwedd, sef dy frodyr;
Da 'mab, a gad im' wybod,
Ba wedd mae 'u buchedd yn bod.
Yr addfwyn fab gwareiddfad
I'r daith aeth ar air ei dad.
Heini' chwiliodd yn hynaws,
Gan grwydro hir dro ar draws
Y wlad, a daeth i liwdeg
A llydan fryn Dothan dêg.
Ei frodyr, gwŷr di gariad,
Gwelant hwy galon eu tad.
Hwy dd'wedant, Draw 'r breuddwydiwr!
Rhyfedd mor geinwedd yw 'r gwr!
Haul ydyw o hoyw loywder!
Frithed ei siacced o ser!
Cyflafan i Satan sydd
Yn loyw wynnias lawenydd:
Taer awydd i ddistrywio
Yw ei nattur ammhur o.
Hyll Dwyllwr, danllyd Ellyll
Pan ganfu hwy 'n haccru 'n hyll,
Ennynnodd hwynt yn anwar
A marwol anferthol fâr.
Pan oedd eu brawd, ceinfrawd cu,
A'i wên wiwserch yn nesu,
Meddant, edrychant yn draws
Ar ei wyneb goreunaws,
Mae 'r adeg hon mor odiaeth;
Yma, mewn dirgelfa gaeth,
Lladdwn ef, lluddio a wnawn
Ei ddadwrdd a'i freuddwydiawn:
I bydew dyfndew a du,
Budraidd, taflwn e i bydru.
Cawn weled ryfedded fydd
Wed'yn rwysg y breuddwydydd.
Eu gwridog frawd gwâr odiaeth,
Dan wenu, nesu a wnaeth:
O 'mrodyr! yma 'r ydych
I gyd mewn iechyd yn wych?

Gwelodd eu hardd frawd gwiwlwys
Eu chwerwder a'u digter dwys:
Diweirfab, mewn ofn dirfawr,
Cyffrôdd, rhyfeddodd yn fawr.
A phan ddaeth i rygaeth rwyd,
O'i dda wisg e ddïosgwyd.
Ymbiliodd, ceisiodd, frawd cu,
Tan orian, eu tyneru;
Dywedodd—Eich brawd ydwyf,
Cywir iawn eich caru 'r wyf.
Fy nhad, o'i gariad geirwir,
Fy nhad anwylfad yn wir,
Yn fwyn efe 'm hanfonawdd,
A minnau 'n ufuddhâu 'n hawdd.

O 'th ddeiliaid! fe 'th addolir!
Tydi a deyrnesi 'n wir!
Fi ro 'i ddedwydd freuddwydion
I'r gwynt, ar hynt, yr awr hon;
Gwnaf, cred, mor siccred â'r ser
Ymostwng i ti, 'meister!

Rhuthrodd Simeon greulon groch
Ag erddrym arf, mewn gwrddfroch,
Ar ei frawd tyner ei fron
A gwâr liwgar olygon;
A'r lleill yno 'n gawrio gaid—
Trywaner ef trwy 'i enaid!

Reuben yn addien a aeth,
Hefyd a Juda hyfaeth,
Hwy lesol attaliasant
Greulonder chwerwder eu chwant:
Gwyliwch, ni bydd ddirgelwaed;
Ofnwch, na thywelltwch waed:
A pha iawn amddiffyniad,
Meddwn, attebwn ein tad?
Bwriwn, mae pydew 'n barod,
Ef i hwn fwriwn i fod:
Ni welir mewn anialwch,
Am draha fe drenga 'n drwch.
Hwythau, ar ol geiriau gànt,
At hynny a gyttunant.
I bydew, heb na bwydydd,
Na dwr, na goleuni dydd,
Ei lusgo, dan wawdio, wnant;
Ffyrnig a dieflig dafiant
Eu brawd i'r gwaelawd yn gaeth
I wylo dan farwolaeth.
Wir addwyn frawd, ymroddawdd
I'w rhuthrau hwythau yn hawdd.
Cwynfan oedd ofer, canfu,
Wrth arthod, neu lewod lu.
Yn eu dwylaw 'n ddistaw 'dd aeth,
Un lliwus, fal oen llowaeth.
Gawr filain mewn gorfoledd
Aruthr fu wrth ei oer fedd:
Heddyw cefaist dy haeddiant
Mewn dyfndew bydew, du bant!
Trig yna! breuddwydia 'n ddoeth!
A newyna yn annoeth!

I ffordd ânt ymaith mewn ffawd,
A'u gelyn yn y gwaelawd:
Yn goegion, yn llawn gwagedd,
Chwarddant, ac arlwyant wledd.

Ar fin trangc y mwynlangc mâd
I'r wenfawr Nef eirianfad
A gododd, mewn ffydd gadarn,
Rywiog bur olwg rhag barn:
Ac ef at Dduw Nef, dda Nawdd,
Ei weddi gyfarwyddawdd:
Ior gwiwddoeth, Gwrandawr gweddi,
Gwrandawodd Ef ei gref gri.

Reuben, yn ddïarwybod,
Yn awr heb feddwl fawr fod
Eiriais ac ail fradwriaeth,
Draw i areiliaw yr aeth.
Dychwelyd oedd fryd ei fron,
A gwared ei frawd gwirion,
Rhïeiddfwyn, a'i roi 'n rhwyddfad
Yn ôl i'w odiaethol dad.
Reuben yn llawen oll oedd;
Bwriadu 'n bur yr ydoedd
Yn gyflawn wneud iawn i'w dad
Seiddig am fawr droseddiad,
Am ddirgel ddringo 'i wely,
A dwyn mawr w'radwydd i'w dŷ,
Am adfer ei fwynber fab
Yn dirion i'w dad arab,
Ei dad, am hyn, ond odid,
A lawn faddeuai 'n ddi lid;
Ac ef gai 'n ôl yn gyflawn,
Ei fraint yn ei llwyrfaint llawn.
Hyn oedd gysur mwynbur maith
I Reuben, a mawr obaith.

Ond Oh! yr oedd yno ddig
Lywiawdwr anweledig;
Un diriaid o'r Dyfnderoedd;
Yr un Ellyll erchyll oedd
Yn wynnias gynt ennynnodd
Ym mron Cain, milain fu 'r modd.
Ni âd Satan annedwydd
A hyll i sefyll mo 'i swydd;
A'i ddrwg lwyr ddirgel araith
Gwna Satan ei wyllt-dân waith:
Och! bellach os gwnewch ballu,
Gresynawl! eb y Diawl du,
A'ch gelyn yn eich golwg!
Fe lwydda ei draha drwg!
Llanwodd fron y gweision gau
A gwynnias genfigennau.
Tanbaid ar amnaid yr ânt,
Yn agwrdd ail-ffyrnigant:
Yr eilun! fe reoli!
Gw'radwydd! fe 'n arglwydd i ni!
Rhoddwn e'n awr mewn rhuddwaed!
Lladdwn! tywalltwn ei waed!

Juda, â grudd brudd a bron,
O gariad i'w frawd gwirion,
D'wedai 'n fwyn, Mae 'i dad e 'n fyw;
O'i bur dad ein brawd ydyw:
Pa wedd, ar ol dïaledd dwys,
Y gwelwn ein tad gwiwlwys?

Cwyn lawn fydd y canlyniad;
On'd tost os lladdwn ein tad!
Tra 'mddadlant, hwy welant wŷr,
Tyrfa fel torf o faelwyr,
A thegwedd gyfoethogiawn,
Yn dynesu yn llu llawn.
Eb Juda yna 'n union:
Awr dywyll a hyll yw hon!
Na laddwn, gwerthwn e 'n gaeth,
Na welom ei farwolaeth:
Cawn arian glân am danaw,
Cawn ryddhâu 'n bronnau o'n braw,
Ac anwyl wobr amgenach,
Cawn hynod gydwybod iach.
Y tonnog wŷr gyttunant,
Os arian gwiwlan a gânt.
I'r geulan fry, o'r gwaelawd,
Yn brudd codasan' eu brawd.
Cyflym â mawr rym yr ânt;
Hwy fuddiol gyfarfyddant
Y maelwyr ar gamelod
Chwyrn yn wŷr cedyrn eu côd.
Eu didwyll frawd clodadwy
Am arian gynhygian' hwy.
Y maelwyr, oll am olud,
A'i prynan', fab mwynlan mud:
Am arian nid ymeiriant,
Hyn oedd eu gofyn a gânt:
Ugain darn gânt, â gwên dêg,
Llydain, am eu brawd lliwdeg.
Mawr syndod i'r marsiandwyr
Oedd gweithred galed y gwŷr;
Ei loywgain rudd olygant,
A'i garu dan wenu wnant:
Na boed it' rudd brudd na bron,
Ond tyred, f' enaid tirion.
Haelionus a serchus wŷr,
Medd ei hyfrydwedd frodyr,
Synnech, pe 'dwaenech y dyn
A gawsoch yn dêg wesyn.
Gwr mawr yw! ac Ior mor wych
A fydd, chwi a ryfeddych!
Rheolwr mawr a hylaw!
Llywydd a fydd ddydd a ddaw!
Bywiol oedd Juda o'i blaid,
Wr mwyn, yn drwm ei enaid;
E dd'wedodd, Yn iach, ddidwyll
Frawd ffyddlon, boddlon, da 'i bwyll;
Iach, dawelach, fab dilyth,
Ac yn iach, fy mrawd bach, byth!
Dïau ar ymadawiad
Eu tyner frawd mwynber mâd,
Yn ei wyneb dïweniaith
Cur oedd dros nattur un iaith.
Ei frodyr fuant fradawg;
Cariadol ar eu hol rhawg
Hiraethodd, edrychodd draw;
Trwy alar torrai 'i wylaw.
Ei fradwyr ymhyfrydant,
O hyd eu gwynfyd a gânt.
Hwy 'n llu 'n golygu 'i wisg lân
A chwerw ddiserch chwarddasan'.
Eb Simeon anffyddlon ffêl,
Ag aswy olwg isel,
Ai claddu, mewn celyddiaeth,
Yma mewn rhyw guddfa gaeth,
Y seirian wisg sy orau?
A dweyd i'r tad mwynfad mau
Na welsom, na wyddom ni
Hanes ei fachgen heini'?
Dïodid y daw wed'yn
Fawr aflwydd o herwydd hyn;
Bydd mawrion gŵynion ganwaith;
Swydd wael, rhaid gadael pob gwaith,
A chwilio pob bro, pob bryn,
Ar redeg, am yr adyn.
Braw gerwin! o'i bur gariad,
Ni chymmer ei dyner dad
Mo'r byd am fywyd ei fab,
Ei wŷn ael-fwyn anwylfab.
Pwy 'n gelfydd a rydd, wrth raid,
Yr awrhon gynghor euraid?
Myfi, ebe Lefi lon
Yn wenawg, myfi 'n union:
Lladdwn fynn; cawn wed'yn waed;
Trochwn y wisg mewn trychwaed;
Treiddiawg ôl dannedd trwyddi
Yn erchyll iawn a wnawn ni:
Ni awn, mewn galar, yn ôl
At annedd ein tad doniol,
A'i wiwdlos wisg yn waedlyd,
A ninnau 'n llawn gwaeau 'i gyd:
Mewn tremyn, fe 'i hedwyn hi;
Goleudeg y gwel wedi
Mai bwystfil drwg, amlwg iawn,
Laddodd ei fab goleuddawn.
Wŷr dawnus, nid rhaid unwaith
Na chrwydro, na chwilio chwaith:
Am y marw ni wiw 'morol,
Yn nyddiau neb ni ddaw 'n ôl.
Y mae 'n tad yn wr mwyn têg,
Ei gredo 'n eglur groywdeg
Yw hyn, pob dichlyn wr doeth
Aerydd i'r Ion goreuddoeth
Ufudd-dod a chlod wych lân
O waelod calon wiwlan:
Er gŵyro dan arw gerydd,
Gwr cyfion yn foddlon fydd:
Yn hawdd ni a ddyhuddwn
Ein pur-dad mwynfad, mi wn.
Ei frodyr, dorf ruadwy,
Ymlonnant, cyttunant hwy,
Gan agwrdd ddadwrdd wed'yn,
Ni bu well dichell mewn dyn.
Un yno, Juda 'n unig,
Ystyriodd, dd'wedodd heb ddig;
Yn wir, eb ef yn waraidd,
Yr awrhon i'm brôn mae braidd
Ofnau daw i'r golau 'r gwaith;
E 'n holir am hyn eilwaith.

O'r ddamwain afrwydd yma,
O hyn Duw ro derfyn da.
Ac wele! mewn gwisg alaeth,
Arw boen ddwys, Reuben a ddaeth;
A llefodd mewn hyll ofyd,
Gwae 'mron gan helbulon byd!
Gwae am fy mrawd! gem fy mron,
Dygwyd o'r pydew eigion!
Ei fedd a chwiliais heddyw
Accw; ond accw nid yw:
Minnau i 'nol fy mrawd mwynwawr,
B 'le 'r âf! beth a wnaf yn awr?
Reuben? eb Lefi ryboeth,
Yr wyt ti 'n wr difri' doeth:
Clyw rybudd; celu, Reuben,
Sydd orau, rhag saethau sen.
Ni bydd gair, fab diwair da,
O falais, son am Filha.
Arw gŵyn, Reuben, rhag anair,
A wridiodd, ni dd'wedodd air.
Iâs enawg drwyddo 'sywaeth,
Drwy 'i galon yn union aeth.
Ei frodyr ymhyfrydant,
Dirmygu, dan wenu, wnant.
Wŷr creulawn, y prydnhawn hwyr,
(Duodd yr hyfryd awyr,
Yn drist yr huan a drodd,
Ac addig yr ymguddiodd)
Da harddwisg eu brawd eurddawn
I gyd wnant yn dyllawg iawn.
Y fraith siacced, y gêd gu
Seirianwych yn serennu,
Mewn cochlyn o waed mynn mâd
Ei harddwch ga'dd drwch drochiad.
I wneud Reuben annedwydd
Yn rhannog, rhywiog a rhwydd
Cyfran o'r arian a rônt,
Wŷr enwir, fel yr unont.
Gwiwlon eu buddugoliaeth,
Diwedd eiddigedd a ddaeth,
Bythol, heb wan obeithiaw,
Credant y llwyddant rhag llaw.
Daethant at eu tad weithion,
Dan lawer o brudd-der bron;
Fe ddaeth Simeon â bron brudd,
A Lefi 'n isel ufudd
Ym mlaenaf, ac olaf gwr
Fu anwyl Juda, fwynwr.
Eu tad, yn ol ei fâd fodd,
Ei wyneb hardd a wenodd:
Boed hedd Ion, y meibion mau,
I'ch noddi 'n eich anneddau:
Yn rasol hir yr oesych,
I gyd mewn iechyd yn wych.
Ei blant attebant, Boed hedd
Wên dyner fyth yn d' annedd:
Hir ddyddiau i tithau 'n tad
Mwynaidd ydyw 'n dymuniad.
Wr hael, mewn ofn yr holodd,
Rhyw farwol fraw drwyddaw drodd,
A pha le mae Ioseph lawen?
Ni welaf ei fwynaf wên.
Dadliwiant, attebant hwy;
Yr ydym mewn hagr adwy:
Gwel hon; mae 'n calon mewn cur
Am Ioseph dros bob mesur:
Ai gwisg dy fab arab yw?
Annedwydd, os hon ydyw!
Canfu,—adnabu,—Duw Naf!
Gwae 'r olwg arw a welaf!
Chwerw ofid! Och, wr ifangc,
Lladdwyd, a llarpiwyd y llangc!
Ioseph larpiwyd yn nawswyllt!
Gan fwystfil drwg â gwg wyllt!
Galarnad ei dad odiaeth
Oedd ddifesur mewn cur caeth.
Drylliawdd ei wisg gan drallod,
A'i fron fwyn am i'r farn fod.
Mewn tristwch yn drwch ymdrôdd;
A'i lwynau a sachlennodd;
Gan orwedd ar laswedd lawr,
Cwynodd am ei fab ceinwawr;
Galarodd, wylodd yn ŵyl
Beunydd am ei fab anwyl.
Ei deulu o'i ddeutu ddaeth,
Gan weled ei ddygn alaeth:
Diles ydoedd ei deulu
A'u geiriau call i'r gwr cu:
Ni cheiff bron eich di-lon dad
Gysuron o wag siarad.
Oh lid annisgwyliadwy!
Fy mab ni welaf fi mwy:
Ei derfyn ddaeth, diweirfab,
Af i 'medd ar ol fy mab.
Wrth weled mawrgerth alar
Eu tad glwys am bwys eu bâr,
O herwydd hyn hwy bruddhânt,
Rhy hwyr hwy lwyr alarant.
Rhag garw boen, rhag hagr benyd,
Ant, ymgynghorant y'nghyd.
Eb Lefi, Gwae ni yn awr
Ganfod ein tad mor gŵynfawr;
A hyn i gyd, enwog wr,
Ddu adwyth, am freuddwydiwr!
Ganwyd ef i'n mawr gyni,
I'n tramgwydd annedwydd ni.
Rhoddwyd iddo 'n wir haeddol
I'w ffyrdd, am freuddwyd mor ffol,
Ddirmyg pedwarplyg yn dâl,
E ddeuodd cyfiawn ddïal;
A di gŵyn ydyw gennym,
Can's gwŷr rhyddion weithion ŷm.
Ys unwaith byth ni soniwn,
Byth ni's gwnawn ni henwi hwn.
Rhaid gorchymmyn hyn o hyd
I'n hyfaeth feibion hefyd.
Ein tad, wr difrad air da,
Ei ing hefyd angbofia:
E ffy 'n hanferth drafferth drom,
A hedd etto ddaw attom.

Llawer blwyddyn wed'yn aeth;
Yn hwyr derfydd blin hiraeth:
Er i'w frodyr fwriadu
Cuddio 'u trais, drwy ddyfais ddu,
A llwyr anghofio rhag llaw
Dyner grybwyll am danaw;
Ond calon ei dirion dad
A gofiodd ei fab gwiwfad;
Ei ddelw oedd yno 'n ddilyth,
Yn eigion ei burfron byth.
Ei fab a godwyd yn fawr,
Ni wyddai 'i dad mwyneiddwawr;
Chwerw fe ga'dd ei garcharu,
Heb son i'r cyfion wr cu.
Ei Dduw fyth fu iddo fo,
Duw anwyl fu 'n Dad yno.
Anfonwyd gan Naf union
Ar hyd yr holl ddaear hon
Newyn ar fyd annuwiol,
Am falchder, diffeithder ffol.
Er dïaledd mawr y Diluw,
Er garw dân fry o gaer Duw,
Er hyn i gyd y byd bas,
Yn ddewrwyllt ac yn ddiras,
Anghofiodd, nid ofnodd Dad
A Brenin Nef, bur Ynad.
Dallwyd, gwallgofwyd yn gaeth
Y ddaear â gau dduwiaeth.
Byd oll addolai bob dydd
Yr haul, bennaf rheolydd.
Waethwaeth llygredigaeth dyn
Dorrodd allan yn derwyn:
Diluw dros y byd eilwaith
O ddrygau, camweddau maith,
A lidiog wyllt ymledawdd
Yn donnau, 'n ffrydiau llawn ffrawdd.
Gorthrymmu dirmygu 'r mâd
Yn erwinfawr wnai 'r anfad;
Wrth y mawrion gwylltion gànt
Y gweiniaid genfigennant.
Am lofruddiawn gwydlawn gau
A thorfoedd a nerth arfau,
Ac am Nimrod, ddifrodwr,
Enwoccaf a garwaf gwr,
Yr oedd y bobloedd llawn bâr
Yn unawl swnio 'n anwar:
Gwr ail i Nimrod greulawn
Ni bu (meddai pob llu llawn)
O ddewrlu y ddaearlawr,
Lew myg, er y Diluw mawr,
Taerai gweigion watworwyr
Mai digalon waelion wŷr
Yn unig wnaent swn annoeth
Am grefydd: pob celfydd coeth
A ŵyr mai cyfoeth eirian
Yw 'r unig fawreddig ran:
Wrth wawr ei gufawr gyfoeth
Yn wir adwaenir y doeth.
Dyna 'mddiddanion dinerth
Amryw lu; mor wael o werth!

Gwŷr o wyniau gerwinol,
Gwŷr ffraeth mewn sophyddiaeth ffol:
Nefol, nerthol gynnorthwy
Ddirmygant, watworant hwy.
Duw Un-Tri, Goleuni glân,
Olwynawg ddirgel Anian,
I lawr trodd y dirfawr Dad
Ei gyfion wyneb gwiwfad
I ganfod y Nef geinfawr,
A'r gron ddaear werddlon wawr.
Parod ufudd-dod puraf
A roddir yn wir i Naf,
Gan fydoedd ar g'oedd i gyd,
Eu dewis waith tra diwyd.
Yr huan yn wynlan was
Sydd iddo mewn swydd addas,
I hafaidd wenu 'n hoywfad,
Ffrwythloni, neu losgi 'r wlad.
Am anghof a gwallgof gwyllt
Yr hudol fyd rhuadwyllt,
Rhywiog wyneb yr huan
Drwyddo 'n dêg á drodd yn dân:
Saethodd belydrau sythiawn
Drwy 'r hollfyd yn danllyd iawn.
E losgwyd Asia lwysgu,
Ac Affrig dawddedig ddu,
Ac Ewrop dêg ei gorawr,
Gan ffwrnwres y moeldes mawr.
Trodd y gron nef lon, fu las
Pur siriol, fal pres eirias.
Daear oedd wresawg drwyddi,
Mal cadarn haiarn oedd hi:
Rhag ynfydion gwylltion gau,
Sarrug glodd ei thrysorau.
Oferedd oedd llafuriaw
Heb fendith y gwlith a'r gwlaw.
Hyll achwyn! ym mhob lloches,
Pob llu yn dyddfu gan dês.
Gwaeth na hyn, y newyn oedd
Ar ddwyn bywyd myrddiynoedd.
Iselwyd yn welw salwyn,
Yn drwm dost, uchel drem dyn.
I wneud prudd gystudd yn gaeth,
Fe welid mwyfwy alaeth,
Hyll dduodd yr holl ddaear;
Anifeiliaid gweiniaid gwâr,
Fwy na rhif, griddfannau 'r rhai 'n,
Amryw dro, Oh mor druain!
Y diniwaid dan newyn,
Baich tost, am fawr bechod dyn.
Weithion y trigolion gau
A ddaliant well meddyliau:
Galarant, cofiant eu certh
Ynfyd bechodau anferth:
Eu breuddwydion gweigion gynt,
Niweidiol weithion ydynt;
Ffïeiddiant eu sophyddiaeth
Lwyr ddigysur mewn cur caeth,
Ac ar Ior y tymmorau,
Tan eu gloes, gwaeddant yn glau.

Duw mewn barn gadarn ei gwedd,
Gu Ior, gofiodd drugaredd:
Parottôdd, ac mewn pryd da,
Lawnder, mwy na'r loyw India,
Mewn gwlad gu wastad ei gwedd,
A gwron llawn trugaredd
Yn ddedwydd lywydd y wlad,
A theilwng o'r fath alwad.
O'r hyn pan aeth yr hanes
Am orawr lwyddfawr o les,
Aeth y cymmydogaethawl
Wledydd lu i wlad gu 'r gwawl,
A chawsant, wrth achosion,
Bur-ŷd yn hyfryd yn hon.
Wrth ddychwelyd hefyd hwy
Ledant yn ganmoladwy
Hanesiawn y loywlawn wlad
A'i gwâr-fwyn lywydd gwir-fad.
I luoedd yr oedd yr ŷd
Rhyfedd yn dyst pur hefyd:
Ni welwyd grawn mor wiwlwys,
Mo'i gymmar o'r ddaear ddwys:
Daionus oedd i'r dinerth,
A'i profai adfywiai 'n ferth.
Canaan ydoedd mewn cyni;
Daeth newyn i'w herbyn hi.
Miloedd o luoedd y wlad,
Gwelwon, bob gradd a galwad,
Pan glywsant, holant eilwaith
Am y wlad ryfeddfad faith.
Wrth ganfod anferth gŵynfan,
A'i deulu'n gwynlasu 'n lân;
Eb Israel ddiwael ei ddawn,
Wr enwog o ryw uniawn,
Fy meibion anwylion i
Du achwyn na boed ichwi
Ar gu lân drefn Rhagluniaeth,
Barn drom haeddasom a ddaeth.
Fy Nuw sy 'n danfon newyn
I brofi a dofi dyn,
I wneud y byd anwadal
Yn ddifrifddwys â dwys dâl,
I ddwyn yn addfwyn yn ôl
Ddynion at Dduw 'n feddiannol,
Drwy ffoi, mewn llawn hyder ffydd,
Yn fuan dan 'i adenydd.
Ni ydym, drwy enwaediad,
Drwy Abra'm, ein dinam dad,
Mewn cyfammod hynod hedd
A'r unig Dduw 'r gwirionedd:
Ni ydym yn bennodol
Dan ei nawdd, ni âd ni 'n ôl.
Y mae (llawen yw 'mywyd)
Yn yr Aipht lawnder o ŷd:
Pobl afrifed, pob gwledydd
Yno yn prysuro sydd.
Ewch, prynwch a chyrchwch chwi
Dêg wenith i'n digoni,
Rhag newynu o'n llu 'n llwyr,
Neu wywo 'n ddim dan awyr.
Abra'm, ein tad gwiwfad, gynt,
Haelwr, aeth i'r un helynt,
A than Naf, anwylaf Nawdd,
Iach eilwaith y dychwelawdd:
F' un Duw Naf, fy Nhad nefol,
Yn iach a'ch dygo chwi 'n ôl.
Oh Ioseph, fy mab iesin!
Mawr yw fy loes! gwae mor flin!
O'th herwydd mae fyth hiraeth
I'm gwanu a'm gwasgu 'n gaeth.
Maddau fy nagrau, fy Nêr,
Dod immi bob da dymmer,
A ffydd ar gynnydd têg iawn,
Ddedwydd yn d' addewidiawn.
Fy meibion anwylion i,
Un radd ni's mynnwn roddi
O brudd-der na chwerwder chwaith
I'ch enaid, nag och unwaith.
Ond yma ni fedraf fi
Guddio cŵyn a gwaedd cyni.
Gofidiau a gyfodant
I'm bron drwy hen gofion gânt.
Holl ffyrdd yr Ion union ŷnt,
Ufuddawl y b'wyf iddynt.
Geinfab, mae ef mewn Gwynfyd,
A mi 'n ymboeni 'n y byd;
Fy Nuw hael sy 'n trefnu hyn,
Daw o'i arfaeth dda derfyn.
Dan nawdd Ion eich anfon chwi
Ydd ydwyf yn ddïoedi
I'r Aipht, lle mae amlder ŷd;
A deuwch yn dra diwyd
Yn ôl âg ymborth i ni,
Trwy angen, rhag ein trengi.
Ar ol i'w tad wiwfad wedd,
Arianwallt, mawr ei rinwedd,
Roddi ei fendith rwyddiaith,
Hwynt hwy brysurant i'w taith.

# YR AIL RAN.

Wrth ymdaith i'r loywfaith wlad,
Eres hanes ei hynad,
A goreudeg waredydd
Y byd oll, glywant bob dydd:
Clywant am ogoniant gwych
A rhinwedd yr Ior hoenwych;
I'r addwyn frenin roddi
Yn haeddawl fath freiniawl fri
Yn ei law, uniawn lywydd,
Drwy 'r fawr fro a fynno fydd:
Drwyddaw ceir pob da roddion;
Hebddaw ni cheir ond braw bron.
Gwr yw hwn gwir-wahanol
Oddiwrth fawrion ffeilsion ffol;
Daionus a dïanair,
Iawngred mewn gweithred a gair.
Hael dad i'w ddeiliaid ydyw,
A phlaid i'r dïeithriaid yw.
I weinion, dan y wiwnef,
Erioed ni bu 'i gymmar ef.
I'r brodyr difyr fu 'r daith,
A'i diben mewn da obaith.
Siriolant pan glywant glod
A hanes y glyw hynod.
Hanesion ei hynawsedd
A hoffant, teimlant fâd hedd.
Cyn canfod y cun ceinfawr,
Carant, rhyfeddant e 'n fawr.
Syndod, ar eu dyfodiad,
Wŷr addien, i'r lawen wlad,
Fu iddynt, gan ryfeddu
Amledd a llonwedd ei llu,
A thyrau a phyrth eirian
Memphis fawr oleuwawr lân.
Trwy heolydd tra helaeth,
Ym mhlith pobloedd filoedd f' aeth
Y brodyr i bur wiwdeg
Brif ddinas y deyrnas dêg.
Gwelant eurbryd gerbyd gwych
Y rheolwr mawr haelwych,
A hyfion weis dihefeirch
Ar nerthawg chwyrn-fywiawg feirch
Yn aros y glân wron
O'i hardd lys yn rhïaidd lon.
I'r diriaid frodyr dyrys,
Wrth nesu 'n llu at y llys,
Rhyw ddirgel fraw 'n ddistaw ddaeth,
A dygn ddwfn synnedigaeth
I'w mynwes oer mewn munud,
Terwyn follt i'w taro 'n fud.
Yn loyw dêg, fal angel Duw,
Gwir addwyn was Goreu-Dduw
Ddaeth allan o'i lydan lys,
Yn hoen-llawn o'i frenhinllys,
A'i rinweddau, fawr noddwr,
Mal Nef-lu 'n amgylchu 'r gwr.
Ger bron y gwron têg wedd,
A'u golwg yn llawn gwyledd,
Moesawl yr ymgrymmasant,
I'r llawr yn wareiddwawr ânt.
Y gwr hoff a hyf-graffodd,
Ac fal mewn braw draw fe drodd,
Galwodd gyfieithydd gwiwlon,
Ior hardd, i'w holi 'r awr hon.
Dywedwch, o ba dudwedd
Yr ydych? oes haelwych hedd?
O Ganaan, eb y gweiniaid,
Dy weision gwaelion a gaid.
Am luniaeth, f' Arglwydd ffraeth ffraw,
Yma daethom i deithiaw.
Mewn gofidion geirwon gânt,
Isel ymostyngasant.
Llidiawg megis llew ydoedd,
A garw ei air y gwr oedd:
Da 'r adwaen eu dirieidi,
Amlwg eu mawrddrwg i mi.
Gwelaf, mal y dydd golau,
Eu dyfnion ddirgelion gau.
Ysbïwyr, bradwyr ein bro
Hoff eirian, myn enw Pharao!
Bradwyr, ysbïwyr ydynt,
Carcharaf, ail holaf hwynt.
Adeg alarus ydoedd!
Syndod i'w cydwybod oedd.
Irad gyhuddiad oedd hwn,
Mawrddwys, a cher bron myrddiwn.
D'wedant eu hanes didwyll
Yn bur dêg, heb air o dwyll.
Ond hyn i'w herbyn o hyd
Yn ddidawl oedd e 'n dd'wedyd:
Galon, meddai 'r gwron gwych,
Bradwyr, ysbïwyr ydych:
Yn wyneb dynion enwir
Mae drwg yn amlwg yn wir.
Dagrau a du euogrwydd,
Terfysg sy 'n gymmysg i'm gŵydd.
Bradwyr, ysbïwyr ydynt,
Rhwymwch a charcharwch hwynt.
Gan drymmed, dosted y dydd,
Wŷr gwaelion, ar eu gilydd
Edrychant, cofiant eu caeth
A'u diriaid hen fradwriaeth.
Gwelodd y llywydd gwiwlwys
Eu dychryn diderfyn dwys:
Yntau rywfaint arafodd;
Ac bellach, mewn mwynach modd,
E holodd amryw helynt
Eu gwlad; Ai byw eu tad hwynt?

Byw yw 'n tad, attebant hwy,
Gwan o nerth, digynnorthwy.
Oes yng Nghanaan wenlan wych
Frodyr? pa nifer ydych?
Deuddeg ar un pryd oeddym,
Unarddeg yn awr ydd ŷm.
Un sydd, bob dydd, gyd â'i dad,
A marw o ddryglam irad,
Ein hynaws Ior brenhinol,
Fu un o'r ddau fynyddau 'n ôl.
Y salwon wŷr iselwawr
Ymgrymmant, llyfant y llawr.
Os perffaith araith eirwir,
Caf wybod gwaelod y gwir.
Anfonwch un i fynu,
Prysured, cyrched eich cu
Frawd anwyl:—E fu 'r dynion
Yn ddistaw â braw i'w bron.
Gwelwch, mae yn eu golwg
Arwyddion o droion drwg.
Carcharwch, rhwymwch y rhai'n,
Ymaelwch mewn modd milain.
Dewrion swyddogion a ddaeth
A hualau ehelaeth
I'w rhwymo a'u llusgo 'n llu
I egrddwfn garchar hagrddu.
Tridiau rho'i 'r gwr tra odiaeth
Hwynt mewn heiyrn cedyrn caeth.
Bu 'u henaid, drueiniaid, dro,
Ym mhell wedi ammhwyllo:
Naf anwyl y Nef wenwawr!
Oh Geli! gwae ni yn awr!
Dir ydyw, gweithred rydost
Geiff gaeth gospedigaeth dost.
Am ein brawd mewn cur mae 'n bron;
Duw a'i gŵyr, ei waed gwirion
Ofynir yn wir, gwae ni
Ganwaith am ein drygioni!
I'w ruddiau 'r dagrau oeddynt,
Gwelsom ei brudd gystudd gynt.
Wylo, ymbilio 'n ddi baid,
O ran cyfyngder enaid,
A wnaeth, heb ei wrandaw 'n wir,
A dïau na 'n gwrandewir.
Chwerw a fydd ein carchariad;
Oh Dduw 'n Tŵr! beth ddaw o'n tad!
Ei loesau ni theimlasom
Hyd yn awr, wedi 'r awr drom.
Drwy 'r hirddydd mae draw 'r harddwisg,
O hyd y mae 'r waedlyd wisg
Ganddo, er cofio 'r cyfion,
A gwaedlyd o hyd yw hon.
Ein drygnaws fu 'n draws, fu 'n drom
Wrth Ioseph, pan werthasom.
Garw yw 'n braw, ac oer yw 'n brawd
Ioseph yn y bedd isawd.
Dïaledd gan waed a elwir,
Can's gwaed a fyn waed yn wir.
Yn ol ein bai, ni welwn,
Mae 'n penyd, mae 'n hadfyd hwn.
I ddïeithriaid, modd athrist,
Ein brawd gwan, druan, yn drist,
Werthasom; trom a fu 'n trais,
A milain dost fu 'n malais: .
E ddeuodd unrhyw ddïal,
Can's plaid dïeithriaid ddyd dâl.
Distryw a braw 'n brydiaw 'n bron,
A distryw yng ngwlad estron!
Gwae inni, rai drwg enwir,
Gwae 'n tad anwylfad yn wir!
Ein hanes fag anhunedd,
A'i gyrr ar fŷr i'r oer fedd.
Yn draws, ebe Reuben drwch,
Oni dd'wedais, na ddodwch
Arnaw eich dwylaw; ond Och
Orn dwys, chwi ni wrandawsoch!
Ac wele 'n awr gwaed calon
Ein brawd ofynir o'n bron.
Yn deilwng y cawn daliad
Angheuol; gwae 'n duwiol dad!
Eb Lefi, mewn dwbl ofid,
Un duwiol iawn a di lid
Erioed a diwair ydwyt,
Mab anwylfad i'th dad wyt:
Wyt bur fwyn, haeddit bêr fawl
O Reuben ddïarebawl!
Juda, rywiogeiddia' gwr,
Yn ddichwith fu 'n heddychwr:
Ow 'mrodyr! mewn mawr adwyth
Ac irad alarnad lwyth,
Yn yr hagr gyfyngder hwn
Heddyw na chroes gyhuddwn
Ein gilydd; âg un galon
Yn ddwys taer-geisiwn nawdd Ion.
O chwerwder ein carchardy,
Ior y Nef, o'i frawdle fry,
Wrendy 'n gweddi ddifri' ddwys
O galon ddrylliawg wiwlwys.
Rhinweddau 'n tadau 'n eu taith
Wiw geinwych fwy nag unwaith
A'u dygawdd hwy mewn digon
O flinder, o brudd-der bron:
Ein drygau ninnau 'n anwar,
Ein gwarthus ryfygus fâr,
A'n dygodd ni hyd eigiawn
Trueni, mawr gyni gawn.
Am ein mawrfai f' allai fod
Y farn hon fawr iawn hynod
Yn foddion cyfiawn fuddiol
Gan Geli i'n dwyn ni'n ôl
O'n creulon ffyrdd trawsion trwch
I foroedd edifeirwch.
Addwylwn ddagrau 'n ddiluw,
Unwn, gweddïwn ar Dduw.
Er inni sorri y Sant,
I Dduw perthyn maddeuant.
O'n calon, âg Ion gwiwnef,
Gwnawn barod gymmod âg Ef.
Credwn byth i'r Creawdwr;
Fe dry 'r Ion galon y gwr

I wrando'n hawddgar iawndeg
Y gwir mâd, heb frâd, heb freg.
Mae'n ddigon hawdd, dan nawdd Nêr,
Lyw hael, pan ein ail holer,
Eglur brofi'n bod ni'n wŷr
Llwyr ddi frâd, llariaidd frodyr;
Beunydd, ger bron pob ynad,
Mae'n ëon y fron ddi frâd.
Dofodd y geiriau difyr
Beth ar brudd gystudd y gwŷr;
Eilwaith fe ddaeth gobaith gu
Ddaionus i'w diddanu.
Ond Simeon oedd ddigllon ddwys:
Camwedd, ac nid gwaith cymmwys,
Medd ef, i'r llywydd ymddŵyn
Mor ynfyd, Ior mawr anfwyn;
Mewn cyffro cyhuddo'n hyll,
Rhoi trymmion eirchion erchyll
Garcharu gwŷr cu cywir,
Mae'n waith di reswm yn wir.
Er mor ddwys mawr bwys ein bai,
Un dull o ddrwg nid allai
Fyth fod yn erbyn fath fawr
Lywydd, na'i wlad oleuwawr.
Pa fodd dygwyddodd i'r gwr
Frudiaw, on'd yw e'n fradwr,
Ein bod ni'n wŷr enbydus,
Heb ddeddf, ac o reddf ddi rus?
Didaw yr oedd e'n d'wedyd,
Ysbïwyr yw'r gwŷr i gyd!
Pa arwydd, annedwydd nôd,
Fu iddo? mae'n rhyfeddod.
Taened a fynned ei fawl,
I'w fath ni's rhown ni fythawl
Un gair da; can' gwae o'r dydd;
Chwyrn lew yw'r chwerw iawn lywydd.
Dyfnion gŵynion o'n geni!
Mae'n gyndyn elyn i ni.
A Juda, mewn gwasgfa gaeth,
A dd'wedodd mewn modd odiaeth:
Oh Simeon afresymmol!
Wan ffydd, mae d' araith yn ffol.
Dilys farn Duw a'n daliodd,
Yn rhwym cyfiawnder a'n rhodd.
Oferedd feio arall,
Rhydd yw'r llywydd celfydd call;
Ac ofer ceisio gafael
Ar borth o'r byd gwanllyd gwael.
Awn at Ion, mewn cŵynion cur,
A cheisiwn hedd a chysur.
Gwyddom hyn mai'n erbyn Naf
Tramawr, bu'n beiau trymmaf:
Ni wyddom, i'r anaddwyn
Duw'n tadau eill faddau'n fwyn;
Duw'n hynaif eill gadw'n heinioes;
Ond Ef, neb arall nid oes.
Mynych iawn gan diriawn dad
O wiwddoeth ymarweddiad
Y cawsom ni ddifri' ddysg,
Ddefnyddiol addfwyn addysg
Mai ammhur yw'n nattur ni,
A'i gwŷn at bob drygioni.
Trueni, gwedi drwg waith,
I'r enaid ddaw ar unwaith:
Gweddi, mewn trueni traws,
O enaid isel hynaws,
Wrandewir yn wir gan Ion;
Celi glyw ddrylliawg galon.
Mynych glywsom o'i enau
Weddi ddwys, addysg lwys glau;
Clywsom, ond ni wnaethom ni
O'r addysg a'r daer weddi
Iawn ddefnydd; mae in' ddyfnion
Ofidiau a briwiau bron.
Os rhyfedd drugaredd gawn
Drwy weddi, i'n rhoddi'n rhyddiawn,
Ymrwymwn y byddwn byth,
A'n teulu, yn blant dilyth
Ufuddion i'r Ion, o'i râd
Mawr odiaeth, am waredìad:
Cariad, er haeddu cerydd,
Parhâol, profiadol fydd.
Mae gobaith âg araith gu
Ddaionus i'm diddanu;
Gobaith fwyn-iaith yn f' enaid
Etto'n bur gysur a gaid.
Ond perffaith oferwaith fu
A Simeon ymresymmu;
Ei gendawd ffyrnig ydoedd,
Ym mhob llun yr un un oedd.
Er i Simeon draws ommedd
Gwrando mewn mawr gyffro gwedd,
Wyth a roes, â mwyn foes fâd,
I'w duwiol frawd wrandawiad.
Ger bron y gwir rasion Ri,
Ag addwyn yspryd gweddi,
Syrthiant, cyffesant eu ffyrdd,
Dan goffa'u bod yn gau-ffyrdd:
Cŵynant am eu drwg ganwaith,
Eu gwreiddiol a'u greddfol graith.
Estron yw aeron iraidd
I surfrig llygredig wraidd.
Hwy ddwys daer weddïasant,
Mewn dagrau ac ofnau gànt,
Ar eu da Bôr, y Duw byw,
Yn rhyddion eu rhoi heddyw.
Coffânt eu tadau cu ffydd,
Dwyfawl gyfeillion Dofydd,
A'r clau gyfammodau mâd,
Ior geirwir, a'i fawr gariad.
Ymrwymant y byddant byth
Yn deilwng weision dilyth
I Dduw hael, am eu rhyddhâu
O ing 'stafelloedd angau.
Daioni Duw adwaenir,
A'i nawdd, drwy brofiad yn wir.
Yr addysg bur oreuddoeth
O enaid mâd eu tad doeth,
Ar adeg fu wir odiaeth,
Meddalhâu'n heneidiau wnaeth.

Yn ddistaw, ac mewn braw bron,
Cu wylant ddagrau calon;
Nid am ofid a llid llawn
Haeddiannol i ddrwg ddyniawn,
Ond am eu hanfwyn dymmer
A'u dygn waith yn digio Nêr.
Eu hen fawrddrwg amlwg oedd,
Trymlwyth o adwyth ydoedd:
Hwy fynych ddwfn riddfannant,
Heb rym, yn ddiddym ydd ânt.
Ar ol eu cau dridiau'n drwch,
A'u dallu gan dywyllwch,
Danfon wnaeth y gwron gwâr
I'w cyrchu hwynt o'u carchar.
Yr oeddynt hwy, wŷr eiddil,
Mewn dagrau, griddfannau fîl.
Mwynhânt gynnes dês y dydd;
Yn llu ger bron y llywydd
Ymgrymmant, llyfant y llwch,
Trostynt yr amdôdd tristwch.
Y llywydd mawr galluawg,
Craffodd arnynt, trwyddynt, rhawg:
Gwelodd, teimlodd eu galar;
Yna medd, â mwyn wedd wâr,
Ofni Celi o'm calon
Yr wyf, a moliannu 'r Ion.
Yn ddïau chwithau gwnewch hyn,
Aed naw'n ôl, rhag bod newyn
Yn gwasgu teulu eich tad,
Dilys boed un mewn daliad.
Ond rhaid iwch' fod (cewch glod glau)
Rwymedig i'r ammodau:
Rhydd cewch y wlad wiwfad wych,
Credaf mai cywir ydych.
Attaf na feiddiwch etto
Ddyfawd heb eich brawd o'ch bro:
Puriawn achos sy'n peri,
Cofiwch, na 'mwelwch â mi.
Ar air y disglair Ior da,
Y gweision oedd agosa'
A rymmusawl rwymasant
Simeon, ac yn union ânt
Am fâr i garchar âg ef,
Wr addig, i hir oddef.
Gwelwyd y llywydd gwiwlwys
Yn och'neidiaw'n ddistaw ddwys:
Trodd ar Juda dda, ddi wg
Anwylaf addfwyn olwg.
Ior rhadlawn, yn uniawn aeth
Yn llon i rannu lluniaeth
I weinion ar newynu;
Digonodd, llonnodd eu llu.
Mewn hedd ei dêg wedd a gaid
Yn tirioni trueiniaid!
Iddo am yr eiddo'r oedd
Moliant a bendith miloedd.
Canfu'r cyfieithydd ceinfwyn
Dosturiol angerddol gŵyn
Y brodyr; eu braw ydoedd
Erfawr yn eu gwawr ar g'oedd:
E geisiodd roi rhyw gysur
I ddynion gwaelion dan gur:
Prysurwch, deuwch i'r daith,
Yn ôl i'n gwlad lawn eilwaith.
Cywir-wych wŷr os ceir chwi,
O Ganaan, heb ddrygioni,
E fydd ein llywydd yn llawn
Trugaredd at rai gwiriawn:
O'i ddwylaw ni ddaw'n ddilyth,
Ior pêr, anghyfiawnder fyth.
Dan gerydd du anguriol
Aeth naw, dan wylaw, yn ôl.
Hir w'radwydd, ffordd y rhodiant,
Gan ddynion gweigion a gânt.

# Y DRYDEDD RAN.

Ar ol, mewn dirfawr alaeth,
Dychwelyd o'u cul-fyd caeth,
A rhoi eres hanes hir
A garw o'r llywydd geirwir:
Pan glybu 'u mâd haeldad hyn
O groeswyllt hanes gresyn;
Eu tad amddifad, medd ef,
Yn Enw mawr Ion y wiwnef;—
Yn Enw Duw !—ai chwi 'n unig
O'r dyrfa ga'dd ddalfa ddig?
Dyma ryfeddod immi,—
Holwyd a charcharwyd chwi!
Eb Juda, wr gwiwdda gwâr,
A golwg yn llawn galar,
Mae 'n hynod ryfeddod fawr,
A'r enwog Ior eirianwawr,
Egored ei drugaredd,
I'r byd yn rhoi hyfryd hedd.
Am y llywydd clodrydd clau
Fe dd'wedir rhyfeddodau;
Ei godi ef yn geidwad,
O garchar du, ar lu 'r wlad.
Ei glod a'i awdurdod aeth
Yn hynod drwy 'r frenhiniaeth.
I'r gwr y brenin ar g'oedd
Wir-deilwng roes ardaloedd
Ei deyrnas a'i hurddas hi,
Ior hylwydd, i'w rheoli.
Pob glin i'r gwr brenhinwawr
Sy 'n plygu, pob llu i'r llawr:
A farno ef, a fernir,
Os nawdd, fe fydd nawdd yn wir.
Wrth waghâu 'u sachau, mae 'n syn,
C'wilydd byth sy 'n eu ca'lyn;
Eu harian gawsant i gyd,
Hap erwin! gyda 'r pur-ŷd.
E fu 'n awr ofnau irad,
Fwyfwy, iddynt hwy a'u tad.
Gwae fy mron! fy meibion mau,
Gwae ing chwerwach nag angau!
Gwae lidiawg dost galedi!
Hyn oll sy 'n f' erbyn i.
Dadliwiant, gwadant i gyd
Yn hyfion gedyrn hefyd,
Siccrhânt na wyddant pwy wnaeth
Lunio 'r anferth elyniaeth.
Eu tad, amddifad am ddau,
A ddelwodd gan feddyliau;
E ddyrysodd ei reswm
O herwydd y tramgwydd trwm.
Hyd bu 'r pur-ŷd yn para,
Tan glwyf y buont hwy 'n gla',
Yn weision calon isel,
A'u geiriau 'n ddïau yn ddèl.
Gwyledd, syndod a galar
Oedd yn ddwys bwys am eu bâr.
Pan ddarfu 'r ŷd, poen ddirfawr,
Mewn gofid gwelid eu gwawr.
Yn dost gwnaeth y newyn du
I'w hiliogaeth lewygu.
Eu plant ofynant am fwyd,
Wylant o ddeutu 'r aelwyd:
Y rhai 'n gyd â'u rhïeni,
Druain, fu 'n llefain yn lli'.
Adwyth anoddef ydoedd,
Brwyn dwys, can's bara nid oedd.
Pa'm, medd eu hael dad gwael gwan,
Ba ham 'r ych yn bwhwman?
A pha'm edrychwch, heb ffydd,
A'ch golwg ar eich gilydd?
Ai oedi etto 'r ydych?
Ai marw a wnawn mewn mawr nych?
Cyfodwch a chyrchwch ŷd,
A buan am eich bywyd.
Juda fwynaf ei fynwes,
Addien wr, ddeuodd yn nes,
Gan dd'wedyd, Mae 'n llwyrbryd llawn
It' yrru, fy nhad tiriawn,
I gyrchu ŷd, gwir wych waith;
Ffyddlawn yr awn ar unwaith,
Ar d' air, gyd â'n brawd eirian,
At y rhydd lywydd gwawr lân.
Juda, pa sawl gwasfa gaeth
O fraw ail i farwolaeth
A gaf, annedwyddaf dad?
Ai teilwng im' y taliad?
Yr ydwyf annhroadwy,
Fy mab, na flina fi mwy.
Eb Juda, wr gwiwdda gŵyl,
Yn dyner, fy nhad anwyl,
Nid o ran blinder enaid
I ti, i'th boeni 'n ddi baid,
Ond o ran dwfn drueni,
A chyn lladdo 'r newyn ni,
Yr wyf yn dwys daer ofyn
Byth o hyd fath beth a hyn.
Dïau os awn ninnau 'n awr,
Myned raid i'n brawd mwynwawr.
Ni feiddiwn, mae 'n anfuddiol,
Os saf yr ie'ngaf ar ôl.
Hebddo ni wnawn ddigio 'n ddwys
Galon y llywydd gwiwlwys;
Hebddo ni's gwnawn feiddio fyth
Adweled y gwr dilyth.

Na lidiwn lân lywiawdwr,
Rhaid ufuddhâu geiriau 'r gwr.
  Pa fodd dygwyddodd y gwall
Diriaid, son am frawd arall?
  Haelwych Ior, fe a'n holawdd;
A'r gwir, pan holir, ddaw 'n hawdd.
Iawn wyddem fryd y noddwr,
Ddirgelion geirwon y gwr?
I'r noddwr mawr rhinweddawl
Mae 'r anwir a'r gwir fel gwawl.
Ei helaeth wybodaeth bur
A'i nododd yn bennadur.
Pan welir y gwir i gyd,
Y gwir etto a'n gweryd.
Deled ein brawd, adolwyn,
A'r llywydd a fydd yn fwyn.
  A hyn fu 'n fron-wahaniad,
Fu'n brudd-der i'w dyner dad.
Yn awr ei ollwng a wnai;
Ond eilwaith anwadalai:—
Nid â fy mab arab i
O'i gu wlad i galedi,
Rhag braw, rhag tramgwyddaw 'n gaeth,
Mawr alar, rhag marwolaeth.
Gyrrais fy mab hygaraf,
Ei gofio dan wylo wnaf,
Ei frawd o dref i rodiaw,
Fe aeth, ni ddaeth, ac ni ddaw;
A'r ie'ngaf anfonaf fi,
Dro annoeth, i drueni?
Na's gwn, fab glwys, dwys yw 'r daith,
A welaf ef byth eilwaith?
  Os ti ni ollyngi 'r llangc,
Ofer, heb ein brawd ifangc,
In' feddwl, ni's gwnawn feiddiaw
Myn'd i'r Aipht at Simeon draw.
Fel ysbïwyr, gwŷr geirwawn,
Chwerw gur a charchar a gawn.
Ac yma bara ni bydd
I'th gynnal, na ffrwyth gwinwŷdd:
Yn wachul tithau nychir,
A'n plant newynant yn wir.
  Ei frodyr, mewn myfyr maith,
Unant, wiriant ei araith:
Deisyfant, mewn dwys ofyd,
A phrudd gŵyn, gychwyn i gyd.
  I'm alaeth, mi a welaf,
Cysuron gwaelion a gaf.
Dirwynwch, mae 'n drueni,
I'r bedd fy mhenwynnedd i.
Ioseph, y cariadusaf,
Ei lon wedd ddaeth o law Naf,
Nodedig fab, nid ydyw:
A Simeon dirion nid yw:
I hyll ing pe gollyngwn,
Mae 'ch bryd fyn'd hefyd â hwn.
Gwelwch dirionwch ei rudd,
A'i gyfiawn olwg ufudd;
On'd yw ef, mwyn ei dafawd,
Un fron â'i hyfrydlon frawd?
Ni 'm gŵyrir mwy â geiriau;
Gwae fy mron! y meibion mau,
Adewch chwi 'ch tad gwiwfad gwan,
Henaidd, gartref ei hunan?
  Eu golwg rhagddo gelant,
Mudanu 'n un-llu a wnant.
  Briwiau f' ais a gefais gynt,
Ofnadwy, dyfnion ydynt;
A chwithau, raid iwch' weithion
Ail rwygo a briwo 'm bron?
Ioseph, fy mab mynwesol,
I'm bron mae pwys dwys ar d' ol:
Yma 'n y fron hon o hyd
Finnau welaf f' anwylyd.
O'i golli yr wyf fi fyth
Yn ddelwaidd mewn poen ddilyth.
Dymunwn na welswn wedd
Y bur wyneb eirianwedd;
Dymunwn na chofiwn chwaith
Ei fwynaidd wên ef unwaith.
Ys ofer yw 'm deisyfiad
Anghofio pob mwyndro mâd.
Mae 'n galed, ei siacced sydd
Yn ddybryd benyd beunydd
I minnau, yn fy mynwes;
Galar digymmar a ge's.
Yr hyddestl wisg mewn rhuddwaed
Os gwelaf, mi wylaf waed.
Gyd âg ef, y Nef a'i nawdd,
Modd athrist, ymddïeithrawdd:
Culwys gennadon Celi
Weithian ni 'mwelan' â mi:
Dwys eiriau, nid oes arwydd
I mi i'm llonni â llwydd.
Pa anamlwg fawrddrwg fu
Yn achos i'm hir nychu?
I'n mawr fraw, e ddaw rŷw ddydd
I'r golau, i'n mawr g'wilydd.
O d' anwyl gariad inni,
Duw fy Nawdd, difeia ni.
Beunydd fy meddwl sydd sŷn,
Yn hedeg yn anhydyn
Yn nibyn dwfn anobaith
O herwydd eich dilwydd daith.
Gwr cyfion â gair cu-fad
Yw clodrydd lywydd y wlad;
Gwr pwyllog trugarog iawn,
Daionus i bob dyniawn:
Gwr doeth yn haeddu gair da,
Beunydd, gan lawer buna.
Dyna 'r hanes am dano
Drwy barthau 'n brynniau a'n bro.
Am hyn mwy yw fy mhenyd,
A sŷn wyf am hyn o hyd.
Mae ofnau, poenau heb baid,
Gwae finnau! 'n rhwygo f' enaid.
Rhyw ddammeg ryfedd immi
Fu 'ch gw'radwydd a'ch afiwydd chwi.
Fy meibion gwaelion eu gwedd,
Fu unwaith yn llonni f' annedd,

Chwiliwch, holwch eich helynt;
Fu troion dirgelion gynt,
A fu diffaith hagrwaith hyll,
Er tewi, ddaw o'r tywyll?
Gwae enaid sydd i'm gwanu;
Ond Oh! gobeithio na bu!
Trist iawn wyf; drwyddwyf mae drain,
Oh Lefi! rhaid wylofain:
Gwae o'r weithred galed gynt!
Didaw yn eu gwaed ydynt:
A mawrgri gwaeddi mae gwaed,
Garw iawn tywallt gwirionwaed!
Du greulawn, nid gwrolwaith,
Dig, melldigedig fu 'r gwaith.
Rhag aflwydd, Oh Arglwydd Ion!
Gwared ni rhag gwaed gwirion.
Oh Simeon! yn drym-fron draw,
Peunydd boed it' heb hunaw,
Heb attal, fy mab, etto,
Ym mhell o'th hyfrydwell fro,
Weddïo am faddeuant
Ger bron y grasuslon Sant.
O'r Nef fry fe 'th wrendy 'r Ion
O astrus garchar estron.
Ein Duw Ior, ac nid arall,
Yn rhwydd iawn ein rhyddhâu all.
Ar Dduw rhown daer weddïau,
O'r galon, y meibion mau,
Na rodder mawr brudd-der bron,
Du gerydd am waed gwirion.
Y dynion, mewn mudanedd,
Dristânt, hwy guddiant eu gwedd;
Yn fudion yn union ânt,
Yn ddistaw draw hwy drôant.
Y difrif newyn dyfryd,
Parhâu a thrymhâu o hyd
Yr oedd gan lwyr farweiddiaw
Pob calon a bron â braw.
I'r meusydd amryw ddydd ânt;
Hwy ddinerth ymddiddanant
A'u gilydd yn ddigalon
Am faglau rhwystrau 'r awr hon.
Eb Reuben, heb oreubwyll,
Boddlawn wyf fi, a di dwyll,
I warchad gyd â'm tad hen,
A bydded i'w fab addien
Fyned i wared yn wych
I'ch dilyn; iach y delych
I gyd â glân ŷd yn ôl
I'n sirio 'n gyfamserol.
Ei frodyr, fal gwŷr i gyd
Iawn-farn, ei eiriau ynfyd
A diserch ni wrandawsant;
Troi heibio, och'neidio wnant.
Eb Juda, mewn garwa' gur,
I f' ais mae ofn difesur
Daw i'r golau 'n dirgelwaith,
A gwae ni gwedi o'r gwaith!
P'odd, meddwn, wynebwn ni
Ein didwyll fwyn dad wedi?
Mae i'r fron fau iasau ysol
Rhag bod y rhân waetha 'n ôl.
Heb rus, eb Lefi brysur,
Nid rhaid ochenaid na chur;
Ddáw neb i'n cyhuddo ni?
A ddylit fal hyn ddelwi?
Celwn ni 'r peth rhag c'wilydd,
I bawb yn ddirgel y bydd.
Newyn yw 'r gelyn a gaid,
Yw 'r unig flinder enaid
Marwol; nid yw 'n duwiol dad
Yn dewis rhoi gwrandawiad;
Mae ar ei law, rhag mawr loes
Newynawg, estyn einioes.
Deled ein brawd i'n dilyn,
I ni nid rhaid ofni dyn.
Bydd ddewr, fy mrawd, bydd wrol,
Nag ammhau 'r rhan orau 'n ôl.
Oll yno 'r lleill a unan',
Gan gefnogi Lefi lân:
Unwn, a iolwn eilwaith
Ar ein tad brysuro 'n taith,
Gan ddanfon, o galon gu,
Ein brawd i'n byw-waredu.
Am hir gystudd tra-phrudd trwch,
Rhyddid o law Duw 'r heddwch
A gawn, ac ŷd ddigonedd,
Cawn hir ddyddiau fwynhâu hedd.
Eb Juda fwyneiddiaf naws
Yn union, â gwên hynaws,
Amen: mawr ddiben mor dda
Gaffom; a hir bo 'i goffa.
Eu tad, gyd â'i fab mâd mwyn,
Wareiddwawr hen wr addwyn,
Oedd yno 'n ei dda annedd
Yn coffâu rhadau Ior Hedd.
A'i ŵyrion gwynnion o'i gylch
Diwegi 'n gwrandaw ogylch.
Sylweddol sail ei addysg
Oedd hyn, a'i ddichlyn iawn ddysg:
Gan i'r Ion ymfoddloni
O Nef ymweled â ni,
A rhoi in' orau rheol
Dan ei nawdd i'n dwyn yn ôl;
Rhesymmol, fuddiol foddion,
I ninnau ufuddhâu hon;
Drwy wir gred, ein dyled yw,
Ein dedwydd fywyd ydyw.
Fyw-Nêr, yr hyn anfono,
Llawnder neu brinder, i'n bro,
A boddlon galon, gweler
Nyni yn moliannu Nêr;
Can's byth ni ddaw o'i law lwys
Gamwedd, ond hyn sydd gymmwys;
Hyn sydd orau 'n ddïau ddaw
O'i dda hylwydd ddeheulaw.
Didwyll addysg ei dadau
I'w ŵyrion glwysion yn glau
A roddes yntau 'n raddawl,
Drwy bur-ffydd, bob dydd, heb dawl.

Ei boenus feibion beunydd
Yn llu ar loesygu sydd:
Ymbellânt, ofnant eu tad,
Amseroedd, heb ddim siarad:
Rhag newyn, er hyn bu'n rhaid
Ei annerch, fwynber enaid.
Ddyddiau wedi hir ddioddef,
Etto ânt o'i ddeutu ef.
Eb Juda 'n gynta' i gyd;
Gwaefawr, fy nhad, yw 'n gofyd;
Gwrandaw ni, ein difri' dad,
Etto sy 'n dyfod attad:
Gwrando, a dyro 'n dirion
Eiriau hedd i ni 'r awr hon.
Mae ffrwythydd pob coedydd cu,
Fêl-luniaeth, ar ddiflannu:
Nid oes llaeth mwynfaeth, na medd
Hoenus, o fewn ein hannedd,
Na hoff fara na phur-ŷd,
A ninnau 'n gwanhâu o hyd.
Oh 'n Tad, pe danfonit ti
Ein tyner fwyn frawd heini'
I'n dilyn, dïau eilwaith
Aem yn wŷr difyr i'r daith,
A deuem yn dra diwyd
Yn ôl â digon o ŷd.
Eu tad hael, â gwael galon,
Drwy ddu fraw, d'rawodd ei fron:
I mi, 'n ymboeni 'n ddi baid,
Newyn yw 'r lleiaf niwaid:
I'm calon, y meibion mau,
Blinach, garwach yw 'ch geiriau:
Y chwerwaf loes yn f' oes fu,
Megais blant i'm dirmygu!
Na atto Duw! fy nhad da,
Myfyrio 'r ŷm am fara.
Yn ôl b'wyf, ufuddol fab
Di-orwag, i'm tad arab,
Hawdd-ammor a hedd immi,
Llaw Dduw Ion a'm llwyddo i.
Eb ei dad; Fy mab didwyll,
I'th galon mae purion pwyll;
Yr ydwyt ti 'n wr odiaeth,
Fy nghysur ym mhob cur caeth.
Oh Juda, fy mab da, dos,
Yn ddi eiriau, 'n ddiaros,
I'r Aipht, yna 'th frodyr ânt,
A gwên lon hwy 'th ganlynant:
Dywed i'r llywydd diwael
Gyfiwr dy dad gwiwfad gwael,
A'r Gwr ddeugys drugaredd
O galon hael a glân hedd.
Gwae ni, eb Lefi ddi lon,
Mewn gair ni 's myn y gwron
Sywdeg un esgusodiad
Gennym ni, ein difri' dad.
Eb Reuben; Trwy bur obaith
Awn yn wŷr dewriawn i'r daith:
Deled dy fab i'n dilyn,
Fy nhad, ac na ofna hyn:
Etto oni ddygaf itti,
Lladd fy neufab arab i.
Gwelant eu tad mewn galar,
A chwerwedd yn ei wedd wâr:
Oh Reuben! ddaw diben da
O'th annoeth araith honna?
Dideimlad, ansafadwy
Wyt ti; beth dd'wedaf fi fwy?
Dy enaid da 'r adwaenwn,
Tydi ni ragori, gwn.
C'wilyddiaist, anfoddiaist fi,
Atteb am hyn raid itti.
A fynni ddwyn o f' annedd
Bob cysur haelbur a hedd?
Adewi na bri na braint,
A hynny 'n nyddiau henaint?
Ow dod ti i dy dad hen
Ryw obaith, fy mab Reuben.
Juda 'r hygara' o'r gwŷr,
A moes iawn, â mwy synwyr,
A dd'wedodd yn ddïoedi,
Fy nhad anwylfad, gen' i,
Gen' i gofyni 'th gu fab,
Dy eirian enaid arab.
Dïogel mi a'i dygaf,
Am dano meichnïo wnaf.
Ior goruchel, pan wêl ni,
Ni wnawn ei lawn foddloni:
Gwelais, a mi mewn galar,
Fod hael hedd yn ei wedd wâr.
Ein brawd da newidia wedd
Y gwr yn llawn trugaredd.
D' amynedd yw 'n dymuniad;
Oh gwrando ni, 'n distaw dad!
Tra mae 'r byd, rhag trwm arw bwys
Hir addig newyn rhyddwys,
Yn cael ŷd o hyd a hedd,
Gwenith iachus ddigonedd,
Da gysur, ond ei geisiaw,
Ninnau, â'n bronnau mewn braw,
Ai marw wnawn yn llawn llu,
Ing rhydost, drwy anghredu?
Ein tawel fwyn dad diwyd,
Mae 'th ŵyrion gwelwon i gyd,
Gwel, ogylch, yn golygu,
Druain, ar dy wedd gain gu:
Gwel yn awr mai gwaelion ŷnt,
A roddi fara iddynt?
Ai myned yn wŷr mwyniawn,
Ai 'n un-llu newynu wnawn?
Gofid tost, gwae fu i'w tad,
Uchel oernych alarnad:
Duw ŵyr fy nghyfyngderau
Mawrion; a chwi 'r meibion mau,
O chofiwch, wyddoch hefyd
Fy nhrymmion helbulon byd.
Os gofal dyfal bob dydd
Am gyflawn dêg iawn gynnydd
Eich mebyd, ac hyd yn hyn,
Os llafur dwys all ofyn

Gwir gariad yn daliad iawn,
Mwyn gofiwch, mae i mi 'n gyfiawn.
Iawn edrych ar hen oedran
Tad duwiol, mae 'n rasol ran,
Sŷn wyf, mewn duloes yn awr,
Ac ing a chyfyng gyngawr.
Fy meibion anwylion i,
Oes gennych, mewn dwys gyni,
Un nawdd i'ch tad mwyneiddwael?
Oes dim pur gysûr i'w gael?
Oes geiriau pêr-lwys gariad
Leihânt gur tostur eich tad?
Oes mâd gyd-ymdeimlad? Oh
Na welwn chwithau 'n wylo!
O ddu alar, ei ddwylaw
A blethodd, ac fe drodd draw.
Trom galon i'w feibion fu,
A'u henaid ar wahanu.
Deigr heb rif, yn genllif gânt,
O wir alar a wylant.
Gan drymder o brudd-der bron,
Delwai, mudanai 'r dynion.
Gwelsant gur tostur eu tad,
Loes erwin uwchlaw siarad,
A gwaefydig ofidiawn
Ei fron wâr yn fawrion iawn.
A Juda, y doetha' dyn,
Ddidwyll lafarodd wed'yn:
Oh ein Tad mwynfad, i'n mysg,
Ti roddaist orau addysg:
O d' eiddo, fy nhad addwyn,
I tithau rhof finnau fwyn
Gysur, ac ar dêg wiwsail,
Gwir ras Ion, y gorau sail.
Fel dy dadau, tithau, 'n tad,
Ba ryfedd? gei chwerw brofiad;
Cei dithau, fal hwythau, hedd
Dawei gan Dduw 'n y diwedd.
Addewidion Ion yn wir,
I'w fawl uniawn, gyflawnir.
Drwy galedion dreigliadau,
Drwy benyd y gwaelfyd gau,
Rhaid aros i'r rhod eirian,
Rhod helaeth Rhagluniaeth lân,
Ddïattal droi o ddeutu,
A gwrando iaith gobaith gu.
I'r gwâr, dan bob rhyw gerydd,
Mor dda amddiffynfa ffydd!
Pan ddêl, drwy oruchel râd,
I dês golau'r disgwyliad,
Cufad enaid y cyfion
Ddychlamma, fawryga 'r Ion:
Mae 'n hyn y puraf mwynhâd,
Rywiog Ior, o'i wir gariad:
Aml y profaist, teimlaist hyn,
Gwelaist nawdd Duw 'n dy ga'lyn.
Etto, heb ddiffygio 'th ffydd,
Dawn nefol, cred yn Nofydd;
Mawr leshâd, ein tad, i ti
Ddaw etto, a hedd itti.
Ar ol ystyriol dristhâu,
Wr gwâr, â rhywiog eiriau,
D'wedodd wed'yn yn dadawl,
Ydd wyt fab a haeddit fawl:
Mae rhesymmau 'n d' eiriau di,
A chymmorth purwych immi:
Am bêr iaith dyner i'th dad,
Am dy aml gyd-ymdeimlad,
Ein Duw i ti 'n Wrandawydd
Tyner mewn cyfyngder fydd.
Mal dyfroedd â'u garw floedd, flin
Yrroedd yn rhuthraw 'n erwin,
Blinderau ac ofnau gânt
Drosof fynych dorrasant.
Disgwyliais gael hael ddihaint
Hinon yn nyddiau henaint;
Gweled hawddfyd ddisgwyliais,
Ac nid braw 'n gofidiaw f'ais.
Yn olau er na welaf
Fi 'n awr mo lwybrau fy Naf;
Fe a wêl, Fe ofala,
Fe a ddenfyn derfyn da.
Yn oediawg yn annedwydd,
Ei ddagrau 'n rhestrau, yn rhwydd
A lifant yn loyw afon,
Fe d'rawodd ei freufodd fron:
Du arnaf ydyw 'r diwrnod!
Duw fry! a raid felly fod?
Gwae finnau dy gyfiawnwas;
Diblentir yn wir dy was!
Poenus ydyw 'ch tad penwyn;
Gwrandêwch ac ufuddhêwch hyn;
I'r gwr gwnewch anrheg euraid
O'r ffrwythau gorau a gaid,—
O'r aeron geir ar irwydd
Y wlad hon, os aeron sydd;—
O fyrr a balm dyferawl,—
O lysiau, teganau 'r gwawl;—
O gnau, almonau, a mêl,
A neswch atto 'n isel:
Ac arian cyfan, cofiwch,
Dwbl i'ch llaw, rhag trymfraw trwch,
Rhag mai twyll yn fyrbwyll fu,
Gwiliwch, na cheisiwch gelu;
Ac eled eich brawd gwiwlwys
I'ch canlyn;—rhag dychryn dwys,
Rhag pob rhyw ddrwg, Duw, dwg di,
Heb nam, fy meibion immi.
O'r Nef fawr hyfrydwawr fry,
Duw Abra'm, gweled obry!
Duw Isaac a'm dewisawdd,
Duw nefol fo'ch nerthol Nawdd!
A rhoed, er cariad Ior Hedd,
Y gwr i chwi drugaredd.
Rhag pob drwg, Duw, dwg o'r daith
Yn ôl fy meibion eilwaith.
Eu tad mewn cur pur heb baid,
Anhawdd oedd gan ei enaid
Ymadael, ond fel mudan
Carawdd, golygawdd hwy 'n lân.

Ei ddwylaw, mewn gwaeddolef,
A godawdd am nawdd i Nef:
Ion mawr, y trysoriawn mau,
O ddynion a meddiannau,
A gefais o'th law gufad,
Hael roddion gan dirion Dad:
Rhag ffrawdd, dan dy nawdd, fy Naf,
Minnau a'u rhwydd orch'mynaf.
O hyd gobeithiaf mai hedd,
Mai da fydd im' y diwedd.
  Orau tad, mewn mwyn fâd fodd,
Ei liwdeg fab gofleidiodd.
Llwyr brudd oedd goleurudd laith
Ei dyner fab diweniaith:
A mwyn foes fe 'i rhoes yn rhwydd
I hael law Juda hylwydd.
  Heb uno'n, 'n ol derbyniad
Bendithion tirion eu tad,
Rai anwyl, ânt ar unwaith,
Mewn hedd, o'r diwedd, i'r daith.

# Y BEDWAREDD RAN.

  Hyllfawr newyn drwy 'r hollfyd
Yn parhâu, trymhâu o hyd,
A welid, ac aml wylaw
I'w plith, heb na gwlith na gwlaw.
Pob cenhedloedd, pobloedd pell,
Oedd wywedig ddïadell:
Gwelwi 'r oedd pob trigolion,
Llwyd pob grudd, prudd oedd pob bron.
Prinhâu 'r oedd pob ffrwythau ffraw,
Didyfiant, wedi deifiaw,
A'u rhinwedd, er hir ennyd,
Yn crino a gwywo i gyd:
Felly gwywa, 'r â ar ol,
Cnydiau pleserau cnawdol.
Oh ddyn na cha'lyn dy chwant
I'th foddi gyd â'th feddiant:
Ar d' aur dwys, ar dir, a dâ
Daearol, na hydera.
Da gynnydd bydded gennyd
Bêr ffrwythau 'n parhâu o hyd:
Daionus olud enaid
Yw 'r ffrwythau gorau a gaid.
Dau amlach cydymdeimlad
Yn nghanol cystuddiol 'stâd
Nag mewn llawnder; balchder byd
Fag anfoes ddiflog ynfyd.
  Y sawl fu 'n y lwyddawl wlad
Wych olau, ar ddychweliad
Yn ôl i'r wlad lawn eilwaith,
Ceisiant gu dynnu i'r daith,
Rhag newyn â'i gadwyn gerth,
Ddynion oedd oll yn ddinerth.
Rhoddant hanes rhïeiddwych
Lywydd y wlad wastad wych.
Y trueiniaid tra annoeth
Na bu 'n y wlad geinfad goeth,
Y bêr hanes bur hynod
Ni chredent, ni fynnent fod
Fath wlad, a'r fath lywiawdwr,
Haelach, rhagorach na gwr.
Meddant, (ammheuant o hyd
Y rhyfedd eiriau hefyd)
Trwy haeledd tra ehelaeth
Y gwr addien, hoff rên ffraeth,
Ei foddion a ddarfyddant,
Prinhâu rhwng bunâu a wnant.
I ninnau, yn newynol,
Rhaid teithiaw 'n wag-law yn ôl.
  Cyfeillion ffyddion hoff iaith
Lafarant, iolant eilwaith:
Ammheuon trymmion nid rhaid
Ronyn, na phryder enaid;
Di-nifer, Ior mwynber mau,
Ei dra seirian drysorau,
Mal tywod ym margod môr,
A'i draserch mal ei drysor.
Culwydd a gewch o'n ca'lyn,
Deuwch, na 'mheuwch mo hyn:
Credwch, frodyr cariadol,
Neb ni ddaw 'n waglaw yn ôl.
  Eres hanes yw honna,
Os gwir, y mae 'n ddir yn dda.
Fydd trigolion y lon wlad
Foesgar a diderfysgiad?
Oddefant i bawb ddyfod
O bob cyrrau, rhannau rhod
Y ddaear, yn ddiddiwedd,
I gael ŷd o hyd mewn hedd?
Dry mo'r wlad geinfad, heb gêl,
A'i threfi mewn gwrthryfel?
  Ein mwynion gymdeithion da,
Na enwer mo 'r ofn yna;
Gwelir yn y trigolion
Nattur rydd y llywydd llon;
Doethineb, odiaeth enaid,
Yn y gwr hwnnw a gaid;

A'i ddeiliaid ufuddoliawn
A'i parchant, mewn llwyddiant llawn:
Yn hael ganddo cynhelir
Hwythau megis ninnau 'n wir.
Y brenin, am bur rinwedd
Calon y gwron têg wedd,
Drwy iawnddoeth hyder ynddaw,
Roes y fâd wlad yn ei law.
Yn rhwydd, yn unair heddyw,
Prysurwn, a byddwn byw.
I weinion, dan y wiwnef
Nid oes un gobaith ond ef.
Os oedwn, gan arswydaw,
Angau yn ddïau a ddaw;
Ond ni gawn, od awn i'r daith,
Dirionwych hyder unwaith.
Gwenu arnom ni 'r gweinion
Mae gobaith ddilediaith lon:
Awn i'r daith yn wŷr doethiawn,
A bywyd i gyd a gawn.
  Newyn yn bwys dwys didawl,
Yn ddeufwy anoddefawl
A brifiodd, gwasgodd hwy 'n gaeth,
Bu filoedd heb fywioliaeth.
Ymroisant, mewn mawr eisiau,
O bob bro ymgludo 'n glau.
Yn weinion, cyn newynant,
Miloedd o fyrddiynoedd ânt
I wlad yr Aipht olau draw,
Yn weiwon iawn dan wylaw.
Cenhedloedd, pob ieithoedd byd,
Yn odfa eu dwfn adfyd,
Ddylifant am dda lafur
I'r faith deyrnas berffaith bur.
Yn unig yno i weiniawn
Yr oedd maeth a lluniaeth llawn.
Beunydd am lywydd y wlad
Siriol pawb oedd yn siarad.
Dïeithriaid a gweiniaid gânt,
Wr hael, am dano 'r holant:
Mawl y llywydd clodrydd clau,
Mwyn enwog, glywsom ninnau:
Son mae dynion am danaw,
Pob gwan, drwy 'r pedryfan draw.
Chwi fu gynt, meddynt, am ŷd
Tewfrig yn y wlad hyfryd,
Adwaenoch, a welsoch wedd
Y gwr enwog o rinwedd?
Do 'n wir; dô, ei wên eirian,
A'i lais a glywais, Ior glân.
Gwroldeb, hawddgar wylder,
Nawdd i bawb sy 'n ei wedd bêr:
Gwr ar fyrdd yn rhagori,
Perffaith oddiar ein iaith ni.
Mal mawrion gwychion eu gwedd
Y gweiniaid gânt ddigonedd:
Unwedd o'i flaen, bob ennyd,
Fawrion a gwaelion i gyd.
Hir fyddai dweyd rhyfeddawl
Adfyd ei febyd, a'i fawl.
Gofid dirfawr a gafodd,
Athrod mewn trallod a'i trodd.
O herwydd gwraig ddihiraf
E gafas anwylwas Naf
Druenus a chwerw driniaeth,
Trwy lawer cyfyngder f' aeth.
Cafodd ammharch a charchar,
Ior gwiwiwys, am bwys ei bâr:
Yr haiarn, cadarn ei caid,
Aeth yno i'w goeth enaid.
Eithrad yw 'r mwynfad Ior mawr,
Eirian, mewn dïeithr orawr:
I eithrad hael dad ydyw,
Eithrad, o bob gwlad, a glyw.
Mor eres yw hanes hwn,
Yma 'i adrodd ni's medrwn.
Ior noddawl, er na wyddir
O b' le daeth, ba olau dir,
Ar ei râd, pur wir ydyw,
O hyd y mae 'r byd yn byw.
  Hanes glyw mâd y wlad lon
Oedd unig ymddiddanion
Miloedd o dorfoedd drwy 'r daith,
Pob teulu prudd, pob talaith.
Gan mor hirfaith y daith dost,
I'w rhodio i rai 'n rhydost,
Llawer ym mhlith eu lluoedd
Ar ddiffygio yno oedd.
Gobaith, wedi 'r hirdaith hon,
Gweled wynebpryd gwiwlon
Y llywydd a'u gwnai 'n llawen,
Eu cysur oedd bur dros ben.
  Fry mae 'n y wèn wybren wawl
Yn nofio 'n gwmmwl nefawl,
Awyrawl gerbyd eirian
Yn cynnwys tyrfa lwys lân:
Yn gwenu o'r nef gannaid
Angylion gwynnion a gaid.
Eu swydd dan Arglwydd y Nef,
Eu diddan swydd, rhaid addef,
Yw gwarchad, rhag garw frâd, fry
Y wybren, a'r fro obry,
Rhag i weision duon Diawl
Ddyrysu 'r wlad sydd rasawl,
A throi 'r llywodraeth o'i threfn,
Neu unrhyw fath o annhrefn.
O geindda les, gan Dduw lwyd
Sywdeg luoedd osodwyd,
Angylion gwynnion, yn gaer
I'r iawnglod fro dirionglaer.
Tra nofiant, hwy welant wâr
A diwyd luoedd daear,
Rhyfedd eu nifer hefyd!
Yn neshâu, drwy barthau 'r byd,
I'r enwog oludog wlad
Oleufawr, fal dylifiad
Penrhydd afonydd i fôr,
A'u gyrriad o bob goror.
Meddant, tra 'r ystyriant 'stâd
Y crwnfawr fyd cywreinfad;

Rhyfedd fawredd anfarwawl
Ein Ior! fel y môr bo 'n mawl:
Rhyfedd ei waith perffaith pur
Yn neutu caerau nattur!
Laned trefn ei Ragluniaeth!
Wir Nawdd, a dd'wedawdd a ddaeth.
Ryfedded yw gweled gwr,
Hoff unig amddiffynwr,
Mor hynod am ei rinwedd
A meibion rhadlon yr Hedd!
Mewn cyfyngder, Nêr, o'i nawdd,
Yn geidwad hwn a godawdd:
Yn addas nid oes noddwr,
Drwy 'r byd i gyd, ond y gwr.
Mae 'r anwyl wr mawr yna
Hefyd i'r ddeufyd yn dda.
Mae enw y llywydd mwynwawr
Drwy gaerau 'r Nef olau fawr.
Y dydd daw 'r gwr dedwyddawl
I 'splennydd geurydd y Gwawl,
Ion ei ddirgelion yn gu
Oleugerth wna amlygu:
Ein Ior hael ddatguddia 'n rhwydd
Ei arfaeth helaeth hylwydd.
Egored nefawl geurydd,
Brysied a deued y dydd!
Y llywydd bob dydd y daeth
Yn llon i rannu lluniaeth
I'w ddeiliaid, pawb a ddelynt,
Ar wasgar, o'r pedwar pwynt,
Heb ganfod, Ior gloywglod glân,
Y gweiniaid wŷr o Ganaan.
Hawdd gan hael ydyw cael cêd;
Yr eilwaith carai weled
Eu llewyrch yn y lluoedd,
Aml graffu, hiraethu 'r oedd.
Daeth Simeon mewn purion pwyll,
Diddymmwyd ei ddu ammhwyll:
Carchar caeth a wnaeth yn wâr
Wr unwaith fu ry anwar.
Ca'dd amser lawnder i'w law,
Was taerwyllt, i ystyriaw
Ei hen ffyrdd; canfu hwy 'n ffol
Heddyw, a'i gosp yn haeddol.
Toddodd ef gan gystuddiau
Yn eigion ei galon gau.
E ballodd gobaith bellach;
Cwyn oer, rhaid oedd canu 'n iach
I rydid fyth, a'i frodyr
Mwy ni wêl y mwynion wŷr,
Na 'i wlad, na'i dad, wr mâd, mwy;
Ing ydoedd, cyfyng adwy!
Meibion Israel, gwael eu gwedd,
Dawel neshânt o'r diwedd:
Neshâu 'mhlith bunâu a wnan'
I'r oreufad wlad lydan.
Pan ddaethan' i'r loywlan wlad,
Y gwŷr gyd â'r un gariad
Gwresawg a'i mawr garasant,
Fal beirddion a gweinion gânt
Ddyffryn eurwawr clodfawr Clwyd,
Lawnaf dyffryn a luniwyd;
Hylon ddyffryn ehelaeth
Yn llawn ymenyn a llaeth;
Ac yno mae gwin a mêdd,
Gwenith a haidd ddigonedd;
Aml lysoedd cyhoedd eu cêd
Ag eirian byrth egored.
Yn fywiog pan ganfuant
Olygon ceinion ddeg cànt
O luoedd y wlad lawen
I'r gwledydd beunydd sydd ben,
Foesoldeb ac undeb gwâr
Heirdd ddeiliaid llwyr ddi alar,
Pob ymdeithydd sydd, wrth son,
A golwg llawen galon;
Yn siriol dan fwyn siarad,
Rhyfeddan' y loywlan wlad.
Frodyr, meddai 'r gwŷr fu gynt
Hylwydd yn yr un helynt,
Nid yn y wlad anwyl iawn,
Cofier, ond yn y cyfiawn
Ior hael sy 'n ei rheoli
Mae ei hamledd a'i hedd hi.
Y wlad y bo 'r Ior mâd mawr,
Haelionus, ynddi 'n flaenawr,
'Bynnag ba wlad bo 'n bennaeth,
Ceir llawnder o fwynber faeth;
Honno yw 'r wlad ddifrad dda,
Oleuddoeth, fyth a lwydda.
Yr yrfa, er mor hirfaith,
Llawen fydd diben y daith:
Cawn weled lonned gwedd lân
Yr hynaws Ior ei hunan.
Pan ddaeth y dorf odiaeth fwyn
Yr oedd y brodyr addwyn
Ynddi ger bron cywreindda
Byrth addas y ddinas dda,
Wrth wel'd gwedd, mawredd a maint
Y gaerawg ddinas gywraint,
A thorfoedd holl bobloedd byd,
Yn dawel iawn a diwyd,
Yn gymmysg, heb derfysg du,
Yn nawsaidd atti 'n nesu,
Ddynion têg, rhyfeddant hwy,
Wrth ddifyr fyfyr, fwyfwy.
Medd rhai, Y trysordai sydd
Amryw fil fal mawr foelydd.
Rhyfedd, dan un gwr hefyd
Mae'r deyrnas geinlas i gyd:
I'r rhywioglan Ior hyglod
Mawrion ofalon raid fod.
Y gloywrudd haul eglurwawr
Wnai gu belydru i lawr.
O'i gywraint lys mawrfaint mâd,
Y gwron mawr ei gariad,
Rhwng harddlu o'r ddeutu, ddaeth
I'w hoywliw gerbyd helaeth.
Rhawnllaes yw 'r meirch taranllyd,
Mawrion a gwynnion i gyd;

Nodawl gyflymion ydynt,
A blodau'r wlad eurfad ŷnt.
Caerawg addurnwaith cywrain
O aur coeth yw'r offer cain:
Ymlonnant mewn melynaur,
A'r cerbyd sydd danllyd aur:
Eres ei loywder araul
Mal cerbyd hyfryd yr haul.
Ei olwynion ëon ânt,
Hoywon y tron', taranant.
O'i ddeutu golygu i lawr
O'i dirion gerbyd eurwawr
Mewn brawdol a nefol naws
Wna'r llywydd ar y lliaws:
Cannoedd o dorfoedd dirfawr
Ymgrymmant, llyfant y llawr.
Fel pan fydd ym meusydd Mon
Y gwenith yn frig-wynnion,
A'r gwynt o'r gogleddbwynt glân,
Y blagur oll a blygan';
Trwy ganol ei faenol fawr,
Ar fore o haf eurwawr,
Ardderchog farchog o Fon,
Hyd araul rodfa dirion,
A wêl bob grawn ffrwythlawn ffraw
Yn gweddus gyd-ogwyddaw;
Bendithia'n llon, o'i fron frau,
Roddwr pob trugareddau.
Yr un modd, pan drodd drwyddynt
Y llywydd ei hoywrydd hynt,
I'r hynod Ior brenhinwawr
Plygu wnai pob rhyw lu i lawr:
Pawb yno'n llon, pob enaid,
Wr mwyngu, 'n ei garu gaid,
A'u golwg yn ei ga'lyn,
Ior gloywbryd i gyd mewn gwŷn:
Tewdeg ei eurwallt ydoedd
I gyd, a modrwyawg oedd:
Glanach, anwylach na neb
Oedd ei wenawg hardd wyneb.
Gwenu ar ei ogoniant,
Hir graffu'n anwylgu wnant:
Ei weled oedd orfoledd
Digymmar a hygar hedd.
Difyr rho'i pob rhyw dafod
Ei fawl a'i ryglyddawl glod:
Dyma'r mwynwawr Ior mawr mâd,
Rhagorol;—ar ei gariad,
Ei ryfedd drugaredd gu,
A'i rinwedd yn cyfrannu,
Yn gwbl ar hyn mae'n gobaith,
Mae bywyd y mawrfyd maith:
Lwyr-odiaeth hael waredwr,
Haeddu mâd gariad mae'r gwr.
Mae'r gwron mawr ac eirioes
Ym mlodau ei olau oes;
Mae'n rhyfedd, mae'n ei wedd wawl
A doniau mwy na dynawl.
Ni wyddir, meddir, y màn
Daeth y gwr doeth ac eirian:
Gwir ydyw, os rhai gredir,
E ddaeth ef o Nef yn wir.
Taranai'r Ior tirionwych
Drwy'r lawen ddinas wèn wych:
Trwy heolydd tra helaeth
Memphis fawr areulwawr aeth.
Ei olwynion ceinion cu
Rywfaint pan wnant arafu,
Ar air y disglair Ior da,
Ei lawen amnaid leia',
Gwrol wŷr a egorant
Ddrysau trysorau y sant:
E ddyglyw pawb, modd eglur,
Drwst barrau a'r dorrau dur.
I'r ddinas âi myrddiynoedd,
I'r holl fyd amlder ŷd oedd.
Mynych drwy'r wlad ddymunol,
Oddiwrtho, neu atto'n ôl,
Cenhadon cain ehedynt
Ar led mor gynted â'r gwynt:
E gadwai'r llywydd gwiwdeg
Drefn addas drwy'r deyrnas dêg.
Fe graffodd, gwelodd y gwŷr
O Ganaan, ddeg o geinwyr,
Yn isel waelion weisiawn,
Yn ymgrymmu'n y llu llawn.
Anfonodd gennad fwynwawr
I'w dŷ i'w dwyn, Ior mwyn mawr,
I'w tywys i'w geinlys gwŷn;
Hwy ddelwant wrth ei ddilyn.
Bywiog, Ior enwog, yr aeth
Hyd rydd heolydd helaeth,
A'i 'lwynion gwylltion yn gynt
Eu rhediad na'r rhuadwynt.
Golygai, lywydd gloywgoeth,
Bob parthau'n ddïau yn ddoeth:
Manylwych mynai weled
Cyfiawnder lwysber ar led,
Yn gain wiwdrefn, gan edrych
Am gyfran i'r gwan a'r gwych.
Mewn mawr brudd-der llawer llu,
Yn weinion er newynu,
Mewn dagrau, â geiriau gànt
Y doethwr a fendithiant:
Yn ufudd o'i flaen hefyd
Plygant a gŵyrant i gyd.
Trigolion y loywlon wlad
Iach rywiog, o'r dechreuad,
Oeddent yn cael, mewn hael hedd,
Luniaeth cartrefol, lawnedd;
Llyna y drefn; llawnder oedd
Yn nes, yn eu dinasoedd;
Trefn Ior eu goror i gyd;
A'i hyfawl drefn ef hefyd
A'i orchymmyn dichlyn doeth
Yw dwyn trueiniaid annoeth
Newynog, am rywiog ran
O'i hynaws law ei hunan.
Meddant, Rhyfedd yw'r moddion
Y sydd yn y ddinas hon!

Mwy yw'r gwr mawr ei gariad
Na neb byw, hardd lyw y wlad:
Mawrion hanesion yn wir
Fu o'i fawl, ond fe folir
Yn ddeufwy, ni addefwn,
Mor hael yw 'r llywydd mawr hwn!
Braw ydoedd garw i'r brodyr,
Distaw oer-gŵynaw wnai 'r gwŷr:
Mae 'n sŷn; mae rhyw beth fŷn fod;
E 'n rhuthrir, gwae ni 'r athrod,
Am arian fe 'n cymmerir
Yn gaethion weision yn wir:
Pwy ddodawdd, pa ddu adyn,
Y' ngenau 'n sachau, mae 'n sŷn.
A hir yr ymgynghorant,
Gan ammhau p' un orau wnant
Ai peidio, neu feiddio 'n fwyn
Gu roddi i'r gwr addwyn
Eu rhodd? on'd ofer yw hyn?
Yn wawd ni fyddwn wed'yn.
Pa fael yw rhodd wael o werth?
Oferedd yw rhodd fawrwerth,
A hyf ei chynnyg hefyd
I ben rheolwr y byd.
Mae 'n wir, medd brawd mwyn arall;
Ond er hyn, y ceinddyn call,
Yn ei bêr wyneb eirian
Mae mwynder a gloywder glân.
Ei arw chwimmwth orchymmyn
Wnaethom, ufuddhasom hyn.
Yn hylaw, pan ein holir,
Y llywydd genfydd y gwir.
Er helaeth lywodraeth wych,
Er geiriau 'r gwr rhagorwych,
Fe, wr eurfawr, o'i wirfodd,
Fe dderbyn, er hyn, y rhodd.
E dd'wedodd Juda ddidwyll
Mewn nefol a bywiol bwyll,
Cofiwn, a gofalwn fod
Y pur wirionedd parod
I 'mgynnal yma gennym,
Mae 'n sylwedd o ryfedd rym.
Na ddeled, yn nydd holi,
Dim gau o'n geneuau ni.
Hwy aen', hwy wnaen' yn anhy'
Neshâu at gynteddau 'r tŷ:
Mynor yw'r llys dymunawl
Disgleirbryd i gyd, fel gwawl.
Ac yno mwyn-uno wnant,
A naws isel nesasant
At y gwr, golygwr glân
A siriol y llys eirian:
Addefant, mewn prudd ofyd,
Y gwir yn gywir i gyd.
Eb yntau, Diau nad oes
Un garw air, y gwŷr eirioes,
Un radd o gŵyn i'w roddi,
Gan undyn, i'ch erbyn chwi.
Duw 'ch tadau, o'i radau, rodd
Eich arian yn wych wiwrodd
Y' ngenau 'ch ffettanau têg,
Dedwydd fu 'r hyfryd adeg:
Cyfan daeth eich arian chwi,
Heb siom, yn ei bwys immi.
Y gwr llon yn union aeth
Hyd eigiawn carchar dugaeth
Simeon ddigalon a gwael;
E roddes, wr gwareidd-ael,
Simeon yr awr hon yn rhydd,
Oedd ar farw mewn garw gerydd.
Wiw garedig wr odiaeth,
Llafaru 'n fwyneiddgu wnaeth:
Mae y gwŷr mwya' geri
Yn agos yn d' aros di,
Yn dymuno d' amynedd
I 'mddiddan mewn hoywlan hedd.
Simeon, fel dyn rhesymmawl,
I Dduw ei dad rodd fâd fawl;
Yn hyrwydd, yn llawn hiraeth,
Mewn dagrau o'i rwymau 'r aeth.
Gwelodd, fe wenodd yn fâd,
Gwelodd, dros bob disgwyliad,
Wâr wedd ei frodyr addwyn,
Wylodd, cyfarchodd hwy 'n fwyn.
Brawdol a siriol neshânt,
Eu cariad cu a wiriant
I'w brawd, o ddyfnder eu bron,
Wedi ofnau tra dyfnion.
A hwy 'n ymddiddan o hyd
Yno am eu hoywfro hyfryd,
Y rheolwr mawr hylwydd
A ddaeth o'i lwys odiaeth swydd,
Yn eglurwawr, yn glaerwyn
Aurdorchawg ardderchawg ddyn.
Hwy, ger bron y gwr breiniol,
A blygant, nesant yn ôl:
I'r enwog Ior, ar unwaith
Ymgrymmant, gŵyrant dair gwaith.
Fe safodd; edrychodd dro
Yn anwyl arnyn' yno:
Ebe'r gwr, o bur gariad,
Ai byw hyd heddyw yw 'ch tad?
A ydyw 'ch mâd haeldad hen
Yn wych heddyw, 'n iach addien?
Byw yw 'n tad, yr Ior mâd mau
Odiaethol, dy was dithau;
Ein gwaraidd arglwydd gwiwras
Hoyw-wych doeth, iach yw dy was.
Wŷr hyfaeth, hyd lawr hefyd
Ymgrymmant, gŵyrant i gyd.
Juda wareiddia' â'i rodd
Yn isel a ddynesodd:
Dy was, ein tad, sy 'n deisyf,
F' arglwydd gwŷn, na boed hyn hyf,
It' fwyn dderbyn hyn mewn hedd,
Fe wyla gan orfoledd.
Y llywydd arni 'n llawen
Drodd serchog drugarog wên;
Ior mâd, ei gennad a gânt,
A'i weision dderbyniasant.

Y difasw Juda foesol
Ymgrymmodd, nesodd yn ôl;
At ei frawd aeth, wr ffraeth ffraw,
Yn noddwr ffyddlawn iddaw.
Y gwron mawr trugarawg,
A golygon rhadlon, rhawg
A sylwodd, olygodd lân
Bryd araul eu brawd eirian:
Ai dyma 'r ie'ngaf?—Duw ro
Oleuddawn byth i'th lwyddo!
Orhoenus wr, ar hyny,
Fe drodd, 'madawodd i'w dŷ.
Meddant, can's hwy welsant wedd
Y gwr yn llawn trugaredd,
Yn rhyddion oll fe'n rhoddir;
Fe'n profodd, gwelodd y gwir.
Duw anwyl, Tad y wiwnef,
A'i trodd, a'i meddalodd ef.
Synned ei glywed, Ior glân
A gwiwfawr, yn groyw gyfan
Yn llafaru mor gu gain
Ein hanwyl iaith ein hunain!
Oddiyno, tra 'mddiddenynt,
Galwyd, a gwahoddwyd hwynt.
Clywant, rhyfeddant yn fawr,
Y dorau gloywbryd eurwawr
Yn egawr mewn mwyn hoywgain
Felysawl gyssonawl sain.
Dwys eglurder disgleirdeg
A helaeth faintiolaeth têg
Y neuadd fawr yn awr a wnaeth
Y dynion mewn mudaniaeth.
Byrddau a dysglau disglair,
Gweision parodlon ar air,
Ac yno, mewn gogoniant,
Bendefigion gwychion gànt,
Mawrfri arglwyddi eu gwlad
Eirianwedd, gyda 'r ynad,
Gwâr deulu y gwr dilys
Yma 'n cyd-wledda 'n ei lys:
Pur-waed y grawnwin periawn
I'w llonni, mewn llestri llawn,
Oedd yno, pob diddanwch
Is wybren hoff lawen fflwch:
Dedwydd hael lywydd y wlad,
Llon, gwrol, llawn o gariad,
Oedd ar orsedd lwyswedd lân
Oddiar arglwyddi eirian:
Gwelant e 'n rhoi, o'i galon,
Fendith glau ar radau 'r Ion.
A'i law amneidiaw a wnaeth;
A'r gwŷr, yn ol rhagoriaeth
Oedran, eisteddan' mewn 'stâd
Ar gyfer yr Ior gwiwfad.
Hyfwyn gymmerodd hefyd
O'r seigiau gorau i gyd,
A lluniaeth fe a'u llonnodd;
Mwyaf i'r ie'ngaf a rodd.
Y glyw drodd yn gu lawen
Ar Juda anwyldda wên:
Cu hynod yw iaith Canaan,
Groyw a glwys, eb y gwr glân:
Dysgais innau ryw dwysgiaith
Anghywraint, rywfaint o'r iaith:
Mae'n brifiaith, mae'n bêr hefyd,
Mae'n berffaith geiniaith i gyd.
Bu 'r brodyr mewn myfyr maith
Pan glywsan' eirian araith
Y llywydd hardd a llawen,
Iaith eglur, iaith bur dros ben!
Ior mawrfri, gan holi 'n hawdd,
Yn fwyn efe ofynawdd,
Ym mha barth mâd o'r wlad lon
Araul mae'ch tad yr awrhon?
Mae'th was gerllaw 'r ddinas dda
Eurbarch elwir Caer Arba.
Clywais, eb y cu lywydd,
Am y fàn ddiddan ryw ddydd:
Dinas yn llawn daioni,
Hefyd caer hyfryd yw hi.
Eb Juda hyfrytta' fryd,
Yn hyfawl yno hefyd,
Yno, f' arglwydd, mewn llwydd llawn,
Yn hir hoedlog, yn rhadlawn,
Y bu 'n tadau 'n mwynhâu hedd
Dawel hyd ddydd eu diwedd.
I'r gwŷr, y rhywiawg wron
Roes wrandawiad llwyr-fad llon.
Newydd ddarfod ciniawa
Y llywydd dedwydd a da
Orch'mynodd o'r rhodd gael rhan
O ffrwythydd ceinwŷdd Canaan.
Dygawdd ei weinidogion
Ar frys y rhai'n ger ei fron.
Golygodd, fe drodd drwyddynt
Ei law hardd i'w teimlo hwynt.
Ar ei liwgar olygon
Gwnai'r Aiphtiaid â llygaid llon
Olygu i fynu 'n fwynwawr;
Trodd gwŷr Canaan lân i lawr
Eu golwg o ran gwyledd,
Mewn gwrîd y gwelid eu gwedd.
Y pur fwyn Ior, profi wnaeth
Eu gwiwdeg anrheg odiaeth;
A'i bêr wefus pan brofodd,
Hynod oreuglod a rodd:
Mae yn Nganaan loywlan lwys,
Brodir ail i Baradwys,
Brifwŷdd, mi wn wrth brofiad
Aeron melysion y wlad.
Anrheg eich tad mâd i mi,
Fawrwerth, iawn im' glodfori.
Geinfwyn lywydd, fe ganfu
Orfoledd yn eu gwedd gu.
Ar Juda, iawndda fwynddyn,
Golygodd, holodd fal hyn:
Bu gwr glân o Ganaan gynt,
Hwnnw Abra'm yr henwynt,
Dros fŷr dro 'n teithio 'r wlad hon;
Ni wyddir dim newyddion

Teilwng o'i fywyd dilyth;
Holwyd, ni chlybuwyd byth:
A wyddoch, glywsoch, wŷr glân,
Y cu enw yng ngwlad Canaan?
Yn union, dan fwyn wenu,
Eb Juda hael âg ael gu,
Abra'm yw 'r tad mawrfad mau;
Haelionus Ior, o'i lwynau,
O hwnnw, f' arglwydd hynod,
Yr ŷm ni, 'th weision di, 'n d'od.
Aie 'n wir!—gwr cywir coeth,
Gwr addwyn oedd, goreuddoeth.
Dyw 'ch llwyddo! gobeithio 'ch bod
Yn ddifeth o'r un ddefod,
Yn gyfiawn feibion gwiwfad,
Haeddol o'ch odiaethol dad.
Gwr odiaeth, mewn gwir, ydoedd,
Cyfiawn a ffyddlawn, hoff oedd.
Mewn syndod ei wiwglod wych
Finnau glywais yn fynych:
O'm enaid mi ddymunwn
Fendithion fil i hil hwn.
Hael ddiddig lywydd addwyn,
Tra bu fe 'n llafaru 'n fwyn,
Ei rasawl iaith oreuserch
Ddeffrôdd, wresogodd eu serch:
Pur gysur pêr a gawsant
Wrth glywed fwyned ei fant.
Wed'yn attebodd Juda;
Barchedig bendefig da,
Wron duwiol, wrandewi
Ein ffyddlon hanesion ni?
Mwyfwy am Abra'm wiwfad,
Ein duwiol odiaethol dad,
Fedrwn, f' arglwydd mawrlwydd mau,
Dd'wedyd o ryfeddodau.
Y llywydd arno 'n llawen
Drodd serchus awyddus wên.
Adroddawdd Juda drwyddynt
Eu heres hanes a'u hynt.
Braw garw;—pan glybu 'r gwron
Juda am Syria yn son,
Aruthr orthrymder, irad
Ofnau, cyfyngderau 'i dad,
Yntau yn drist iawn a drodd,
Lawer gwaith fe ddadliwiodd:
Ei lawn-gystuddiawl enaid
A'i bêr wedd gu 'n brudd a gaid.
Diweddodd Juda addien
Ei araith berffaith dros ben.
Ddaionus lywydd enwawg,
Ar hyn mud-fyfyriai rhawg.
Yn llaw gwas Rhên y lluoedd
Cwppan arian eirian oedd:
O'r cwppan, udd ffriwlan ffraeth,
Yr yfai win goreufaeth:
Ynddo f' edrychodd, iawnddawn
Hael Ior, yn ddifrifol iawn.
Ior syber, e roes heibiaw
Y gloyw gwppan o'i lân law.

Fe graffodd ef ar Lefi
Yn daer;—A oes chwaer i chwi,
D'wedwch? ai prïod ydyw,
Ai morwyn fâd? marw neu fyw?
Holiad annisgwyliadwy!
Cyffrôdd, argyhoeddodd hwy.
A Lefi, mewn cyni caeth,
Dd'wedodd, Oes, f' arglwydd odiaeth,
Mae un chwaer: a mynych iawn
Claf ydyw; cêl-ofidiawn
Sy'n ddunych mynych a mawr
I'w mynwes, f' arglwydd mwynwawr.
Burwych Ior, ac heb air chwaith,
E graffodd â gwir effaith
Ar Lefi yn ddifri' ddwys,
A Simeon o naws amwys.
Cymmen at Reuben y trodd,
Fe wrawl fwyn lefarodd;
Drwy 'ch cyffes, hanes hynod,
Clywais, a rhyfeddais fod
Gan eich tad o fawrfad fawl
Bedair gwraig dra gwybodawl:
A oeddynt hwy gynt i gyd,
Heb anferth un bai ynfyd?
A'u crêd yn y Creawdwr?
A ffyddlon galon i'w gwr?
Ni wyddai Reuben addig,
Gan gymmysg derfysg a dig,
A ch'wilydd coch i'w olwg
I'w gythruddo am dro drwg,
Ddu adwyth, beth i'w dd'wedyd,
Erwin boen, air yn y byd.
Golygawdd yr Ior gloywgoeth
Arnaw 'n lwys â gwedd ddwys ddoeth:
Yn helaeth yr wy 'n holi
O chwant ymddiddan â chwi.
Cofiwch, gyfeillion cufad,
A garo ferch gywir fâd,
Rhodded ei grêd yn groywdeg
I *un* gariadus-fun dêg;
Hoff enaid, fe geiff yna
Ffyddlondeb, diweirdeb da.
Y gwr mawreddawg eirioes,
Hamdden i Reuben a roes:
Fe'i holodd yn hyf eilwaith
Yn diriawn mewn mwyn iawn iaith:
Pa rwystrau, pa faglau fu,
Croch-eirwon i'ch carcharu
Gyhyd yn eich gwaelfyd gwan
Anghenawg draw yng Nghanaan?
Holais yng nghylch eich helynt,
Holais, disgwyliais chwi 'n gynt.
Eb Reuben, anniben wr,
Yn addig wrth y noddwr,
Bai ein tad, f' arglwydd mâd mwyn,
Yn uchel rhaid in' achwyn,
Bai na ollyngai y llangc,
Ein dofaidd fwyn frawd ifangc,
I'n dilyn, hyn a'n daliodd
Cy'd yn ôl, anferthol fodd.

Heb ffrwythydd coedydd i'w cael,
A'r ŷd wedi 'n llwyr adael,
Heb lawenydd, heb luniaeth,
Dychryn rhag newyn a wnaeth
Iddo ddanfon, â bron brudd,
Ei aufwyn fachgen ufudd;
Ac o herwydd gohiriaw
Gyhyd mewn brwynfyd a braw,
Yn sŷn gwnaeth y newyn ni,
A gwaelion, fel y gweli.
  Fe drodd yr udd gloywrudd glân,
O'i gariad, olwg eirian,
Mor harddwiw â hoywliw haf,
Ar rywiog wedd yr ieuaf:
Fe drodd dêg wên, hoff rên ffraeth,
Wed'yn ar Juda odiaeth:
A pha'm na wnai 'ch dinam dad
Anfon yr ieuaf iawnfad
I'r daith ychwaith gyd â chwi?
Oedd achos c'wilydd ichwi
Rhag ar led weled ei wawr,
A glaned ei gu lonwawr?
  Y bachgen â'r talcen têg
A wridiodd yn oreudeg.
  Eb Juda, wr gwiwdda gwâr,
A golwg yn llawn galar;
Fy Arglwydd, o herwydd hyn,
Gwir unig yw bob gronyn;
I'n tad ni, 'th was di, bu dau
O'i hygaraf wraig orau,
A hwn yw un o honynt:
Yr hynaf, hygaraf gynt,
I'w ofid tost, yn ifangc,
I'w frwyn llwyr, a fu farw 'n llangc.
Oh adeg hwnnw ydoedd
Ei lygaid, ei enaid oedd;
A hwnnw, f' arglwydd hynod,
I'w gof sydd beunydd yn bod:
Dros ei dad aeth i draws daith,
Ni welawdd mo'no eilwaith.
  Dduwiol udd, trodd ei wedd lân,
Geinwych ar wŷr drwg anian:
Ai felly fu, gyfeilliawn?
Yn wir ni wyddir, yn iawn
Yr awron mewn rhyw orawr
Nad yw 'n fyw, mae 'r byd yn fawr.
  Yna Lefi 'n wylofus
Attebodd, brysiodd heb rus;
Gwyddom, f' arglwydd eurlwydd iawn,
Mwyn bor, gwyddom yn buriawn.
  Yn buriawn?—drwy ba arwydd?
  Ein Ior hael, wrth hyn yn rhwydd;
O fileiniaf alanas
Ei wisg a ddygwyd i'th was,
Ei wiwdlos wisg yn waedlyd,
Ganddo mae honno o hyd.
Geir-dwys, gan fwystfil gwarrdew
Rhwygwyd, fe larpiwyd gan lew.
  Fodrwyawg Ior, fe d'rawodd
Ei fron hoff radlon, cyffrôdd;
Echrydus angau chwerwdost!
Gwir yw, y distryw oedd dost!
Llewod croch, eb y llywydd,
Yng Nghanaan seirian y sydd.
  Ar Juda fwyneiddiaf naws
E hoyw wenodd yn hynaws:
At *bwy*—ofnadwy fu 'n wir
Ei dduloes pan feddylir—
Fwynwr, i *b' le* 'r anfonawdd
Ei dad ef, dan Nef a'i nawdd?
  Juda mewn gwasgfa o gur,
Wr mâd, dd'wedodd i'r modur;
At lon gyfeillion, fy Ior,
I gŵr mynyddawg oror.
  F' allai mai ei gyfeillion
Galarus, (arswydus son!)
Wedi 'i ladd drwy fradawl lid,
Gafodd ei wisg i'w gofid.
  Ior hynaws, gwir, y rhei'ny
Ddaeth hyd i hon ar fron fry.
  Gorwyllt waith! eb y gwron,
A gwaedlyd hefyd oedd hon?
  Fwyn Ior, yr wyf fi 'n eirwir,
I gyd mae 'n waedlyd yn wir;
Ac Oh filain ddamwain ddig!
I gyd y mae 'n rhwygedig.
  Yn wir mae hynny 'n arwydd
Eglur ddigysur i'ch gŵydd
O angau a briwiau 'ch brawd:
E fyddai 'n fawr ryfeddawd
A syndod ei fod yn fyw
Hoywddyn, dan nawdd Nef, heddyw.
  Oh f' arglwydd dedwydd, nid yw!
A didawl wae nad ydyw:
Du alar sydd i'n dilyn,
Oh f' arglwydd, o herwydd hyn.
Torrawdd dagrau 'r gwŷr tirion
Yn frwd o eigiawn y fron.
Diriaid fu eu bradwriaeth;
Eu dagrau fyrddiynau ddaeth
Yn loyw-ferwawg lifeiriant,
A distaw och'neidiaw wnant.
Yn brudd cydwybod mewn braw
Yn wiwffraeth oedd yn effraw;
Gwanodd ei cholyn gwynnias
Drwy gonglau 'r galon gan gas.
  Mewn brawdol fyfyriol fodd
Amlwg y cydymdeimlodd
Calon y gwron têg wedd
A drwg wŷr didrugaredd:
Mae pwys eich galar dwys du
Agos a'm llwyr orchfygu;
Ai iawn im' ofyn yn ŵyl
Bur dyner enw 'ch brawd anwyl?
  Ioseph, f' arglwydd gwedduswawr,
Ac o'i golli gwae ni 'n awr.
  Oes, eb y coeth Ior doeth da,
Nemawr pan fu hyn yma?
  Mae blwyddau maith, tri saith sydd
O leiaf, f' arglwydd lywydd.

A'i dad, ydych chwi'n d'wedyd
Fod ganddo'r wisg honno o hyd?
Ydyw, fy arglwydd odiaeth,
Yr oedd honno ganddo'n gaeth
I'w fynwes pan anfonawdd
Dy waelion weision i'th nawdd.
Tra hynaws wr tirionhael!
Duw'n ei ran, wr gwan a gwael,
Ei eiriau'r lleill a wiriant,
Eu siccrhâu'n un enau wnant:
Didwyll, f' arglwydd, mae'n d'wedyd
Y gwir yn gywir i gyd.
Y gwir, attebai'r gwron,
Bair hedd a goleuwedd lon.
Weithiau, cyn damweiniau mâd,
Neu eirwon farnau irad,
Ffyddlon freuddwydion a ddaw
I'n henaid a ni'n hunaw
Y nos i ddangos i ddyn
Gulwydd neu gosp a ga'lyn:
A fu ym mhlith teulu'ch tad
Un arwydd o'r farn irad
Sydd drymder, sydd brudd-der bron
I'r anwyl fwynwr union?
Gan ofidion geirwon gànt,
Ddu loes, hwy a ddelwasant:
Yn fŷr ger bron ei fawredd,
Attebant, gwyrant eu gwedd;
Ni's medrwn, os gwyddwn gynt,
Ein muner, gofiaw mo'nynt.
Dirybudd, dïarwybod
Yn ei daith mae angau'n d'od.
Cwynfan, ebe'r Ior ceinfad,
Raid am gur tostur eich tad:
Mae hynny'n boen i'm henaid,
I'm bron yn ddwys bwys di baid.
Gwir perffaith yw'ch araith chwi,
Ammhau nid gweddus immi.
Dilys, eb Juda eilwaith,
A'i 'lygon llawnion yn llaith,
Y gwir, f' arglwydd rhagorawl,
Mor bur ac eglur â'r gwawl,
Ydd ydwyf yn ei dd'wedyd
Ger bron ffraeth bennaeth y byd:
Gwirionedd, mewn puredd pwyll,
A dd'wedaf oll yn ddidwyll.
Gwarëidd wyd, f' arglwydd geirwir,
A mwyn iawn wyd i mi'n wir;
Os caf, adroddaf drwyddynt
Ein bywyd a'n gofyd gynt.
A'i hoyw law, yr hael lywydd
Hardd foes a roes gennad rydd.
Yna, eb Juda'n uniawn,
Dêg wr gostyngedig iawn;
Bob odfa, drwy bob adfyd,
Mewn ofnus ofalus fyd,
Duwiolaf ddysg i'w deulu
A roddai'n tad ceinfad cu:
I'w hil adroddai helynt
Ei dadau, a'r gwyrthiau gynt;
Eu dedwydd waredïadau
Rhag creulon wŷr geirwon gau;
Y manwl bur orch'mynion
O oes i oes roes yr Ion;
Ar hyn y gwnai'n dichlyn dad
Ei ddoeth bur goeth bregethiad;
Gweddi ar Dduw trag'wyddawl
A roddai, arferai fawl.
Diwyd ein brawd wrandawai,
Gwrando yn effro a wnai:
Holai, ail holai helynt
Ein tadau, a'r gwyrthiau gynt;
O herwydd, f' arglwydd, ei fod
Wrth nattur yn bur barod
I 'mofyn a derbyn dysg,
Cynnyddodd mewn cain addysg:
I'w dad anwylyd ydoedd,
Mab glân ei hen oedran oedd.
Mae cronfoel, mae cywreinfad
Oleufryn gerllaw tŷ'n tad.
Fel y gwnai'th isel weision
Ddyfod i'r wlad hyglod hon,
Ein brawd oedd dan ofnau'n brudd,
Rhedai ddwr hyd ei ddeurudd;
Yr ydoedd yn gariadol
Yn mynych edrych o'i ôl:
Gwelodd ei dad yn gwyliaw,
A bron drist, ar y bryn draw;
Fe'n ôl troi fynnai eilwaith,
Nid hawdd y deuawdd i'r daith.
Danodd, tu'r dwyrain dyner,
Rhodfa sydd rhwng palmwŷdd pêr.
Dda wr, amser a dderyw,
A'i lon fab anwyl yn fyw,
Mynych gyd â'r wawr wych wèn,
Siriol gyd â'r hwyr-seren,
Yn unawl, ddau fwyn enaid,
Hwy yno'n ymgommio gaid:
Hynod y canent glod glau
Eu deuwedd i Dduw'r duwiau.
Ar ol ei ryfeddol fab,
I gofio am ei gufab,
Fae'r un fan yn wan ei wedd,
Mawr flinai amryw flynedd;
Meddyliai y gwelai'n gu
Ei geinwawr fab yn gwenu:
Deuai'r hen wr duwiol
Oddiyno dan wylo'n ôl.
Ei dra chwerw a'i drwch hiraeth
I'n bronnau ninnau fu'n aeth.
Meddym, Pa le mae addysg
Sylweddol dy dduwiol ddysg?
Cofia, wiwddyn, cyfaddef,
Ufudd-dod yw nôd y Nef;
Angau, er dagrau, ni's dyd
Garwr i neb o'r gweryd;
Dy odiaeth fab clodadwy
Ni ddychwel, ni'th ymwêl mwy:
Gwir, meddai'n hael dad gwael gwan,
Hynny mi wn fy hunan;

Hynny a'i dost ddihenydd
I'm bron sy'n bwys dwys bob dydd.
I mi, tra pery 'mywyd,
Hyn yw 'mhur gysur i gyd;—
Er ei gur, drwy drugaredd,
Ei yspryd mewn hyfryd hedd
Sydd o fewn ceurydd cariad
Ym mynwes Nêr, dyner Dad.
Gu lywydd glân goleuwawr,
Gwridiodd, newidiodd ei wawr;
Torrodd ffynnon natturiaeth,
I'w ruddiau 'n ddagrau hi ddaeth:
Deufab, dau fachgen difyr,
Dau sydd gen' innau, gain wŷr;
Rhag aflwydd, rhag tramgwydd traws
I'r rhei'ny, fy rhai hynaws,
Rhag hynny, y gwŷr ceinwawr,
I'm gruddiau mae 'nagrau 'n awr.
Dymunwn weled mwynwedd
Eich tâd cu fâd cyn cau 'i fedd:
Ddaw unwaith o'i ddaioni
Ar led i 'mweled â mi?
A Juda 'n drymgla' a drodd,
O'i fynwes fe riddfannodd:
Oh y Nefoedd! na ofyn,
Ein Harglwydd hylwydd, mo hyn.
Dy weision iselion sydd
Yn dy law, ein da lywydd,
Ac heb un atteb itti,
Ond parch, a gwneuthur d' arch di.
Os f' arglwydd mawrlwydd a'i mŷn
Roi chwimmwth gaeth orchymmyn
I gyrchu ei gu was gwan
Drwy gyni draw o Ganaan,
Marw ar y daith ry faith fydd
Ei ran, gwae ei garennydd!
Gwyddom mor ddwys mae'n goddef,
Ei gwsg 'madawodd âg ef.
Garw iawn fyd! ei ddagrau 'n faeth
Olynol yw ei luniaeth.
Drwy fawr waith, darfu ei rym;
Wr oediawg, ofni 'r ydym
Yn awr fod ei synwyrau,
Gwae ni o hyn! yn gwanhâu.
Er cariad, f' arglwydd mâd mwyn,
Y dïaledd hyn, adolwyn,
Na thywallt; cosp hallt yw hon,
Rhy ddwys i'th waraidd weision.
Y gwiwdeg Ior a gododd
Yn ddistaw, ac draw fe drodd:
Galar uwch law ei gelu
I'w gynnes fynwes a fu.
Sylwodd yr urddasolion
Ei gystudd, yn brudd eu bron:
Arglwyddi 'r Aipht, wŷr gloywddawn,
A gaid â'u llygaid yn llawn:
Meddant (rhyfeddant yn fawr
Mor brudd ei rudd wareiddwawr)
Pa ryw adfyd, Ior prydferth!
Ei holl nattur mewn cur certh!

Pa eres hanes hynod
Eill hon gan ynfydion fod?
Pa fodd y dygodd i'w dŷ
Fyth weiniaid o'r fath hynny?
Ior hael, i'w gadair helaeth
Myfyriol droi 'n ôl a wnaeth:
Mae 'n eres, eich hanes chwi
Barodd drwm brudd-der immi:
At eich tad, eich cariad cu
Cywirwych bair eich caru:
Gwârddoeth weision y Gwir-Dduw,
Am eich gofal fe dâl Duw.
D'wedwch i'r hen wr didwyll,
I'w gysur, a thrwy bur bwyll,
Weled y gwr yn wylaw
A'i rhoes mewn brwynloes a braw;
D'wedwch, a chofiwch hefyd,
Mai pob coeth gyfoeth ag ŷd
O hon, ein hyfrydlon fro,
Roddir, anfonir iddo;
A d'wedwch, fy mryd ydyw,
Y deuaf, os byddaf byw,
Ryw ennyd, cyn hir, yno,
I'w wlad ef, i'w weled o;
I'r parodfawl wr prydferth,
Gwnaf iddo iawn cyfiawn certh:
Y geiriau a gywiraf,
A chyn hir, yn wir mi wnaf.
Tiriondeb ei wyneb oedd
Yn dweyd ffyddloned ydoedd,
Yn ffraeth, yn eglur draethu
Dirgelion ei galon gu.
Per eiriau y pur wron,
Dwys deimlad ei freufad fron,
Barodd gau genau y gwŷr
Dinerth, a'u troi 'n fudanwyr.
Ni wyddai 'r rhai'n, druain, dro
Ba weddus atteb iddo
A roddant, Ior mawreddawg,
Hwy ânt yn sŷn ar hyn rhawg.
Tirion, mewn dwfn ddistawrwydd,
Y gwron rhadlon a rhwydd
Olygodd, mewn mwynfodd mâd,
Y gwŷr â brawdol gariad.
Yn awr fe fawr fyfyriawdd,
Addwyn wr, am Dduw a'i nawdd.
Ar ol i'r duwiol wr doeth
Roddi da weddi wiwddoeth,
Cododd, bendithiodd ei Dŵr,
Nefol radol Waredwr!
Mawrion frëyron y fro,
O wych haeddawl barch iddo,
Ger ei fron, wŷr gwychion gânt,
I lawr yr isel-ŵyrant;
A'r gweiniaid wŷr o Ganaan,
Ymgrymmu 'n fwyneiddlu wnan'.
Y difyr frodyr dofiawn
Ryfeddant eu llwyddiant llawn.
Pan ddaethan' o'i lydan lys,
Ei foli wnant yn felys;

Mor diriawn, Ior mawr dewrwych!
Mor dyner, Ior geirber gwych!
I'm Ior pwy a gymmarwn?
Pa gâr mor hawddgar a hwn?
Duw a welodd ein duloes,
A rhyddhâd, o'i râd, a roes.
Dan groesau dïau fod Ion
Yn cofiaw hâd y cyfion.
Eu glân frawd bychan yn bêr,
Dan wenu, dd'wedai 'n dyner,
Ni welais o un alwad
Fath lariaidd wr mwynaidd mâd:
Bryd, meddwn, deuwn i'r daith
I'w weled ef yr eilwaith?
  Oes ammhau, meddai Simeon,
Ior hardd, na ŵyr e 'r awr hon
Ein creulon hanesion ni,
A'n gwynnias hen ddrygioni?
Holiadau, pa mor lydain
In' ydoedd rhifoedd o'r rhai'n?
Mae 'n ei fron hoff radlon ffraeth
Ddoniau 'n ail i ddewiniaeth.
  O ddifri', eb Lefi lân,
Wâr Ior, yn ei lestr arian,
Yn gadarn, drwy farn ddi feth,
Oreubor, canfu rywbeth.
  Eb Juda, o fawrdda fawl,
Ior hyddoeth, mae 'n wir-haeddawl:
Fwyn udd, mae 'n fwyaf noddwr,
Mae 'n ddoethaf hygaraf gwr.
Duw Geidwad bendigedig
A'n clybu, e ddarfu 'i ddig.
Prysurwn, teithiwn, mae'n tad
A'i galon mewn disgwyliad:
Ei feibion (hyfrydlon fraint!)
Wna 'n hoenus galon henaint.
  Hael udd, mewn cystudd y caid
Ei fynwes ef a'i enaid.
Carodd y llywydd cywrain
Pan ganfu y cu langc cain:
Ei wir fwyn galon, ryw fodd,
Haelionus wrtho lynodd.
Hiraethlon oedd ei fron frau,
Hael Ior, wedi 'r aml eiriau
Am eu tad, wr mâd, a'r modd
Y nodawl alarnadodd.
Fe alwodd, Ior nefolwawr,
Un o'i lon weision yn awr;
Gwelaist y brodyr gwaelion
Ar giniaw, a braw i'w bron;
Y cu fad was, cofia di,
Olynol pan wnei lenwi
Eu tynnion heirdd ffettanau
Ac ŷd, yna cofia gau
Mewn cilfach, was mwyn celfydd,
Yn sâch y brawd bach y bydd,
Cu fwynddyn, cofia, ynddi
Dod fy nghwppan arian i.
  Y da ystig was distaw
Ymgrymmodd, ac fe drodd draw.
Y gwron mawr ragoriaeth
I'w uchel swydd fawrlwydd f' aeth.

# Y BUMMED RAN.

Israel oedd yn wael ei wedd,
Yn hen, ac mewn anhunedd
Gan ofnau 'n amlhâu o hyd
Yn ei ddifrif fron ddyfryd.
Dros ei feibion, o'i fron frau
E ddeuodd prudd weddïau.
I Israel, eu diwael dad,
A'i galon mewn disgwyliad,
Pob awr oedd yn ddirfawr ddydd,
A'i boenau 'n amlhâu beunydd.
Rhifodd, myfyriodd am fâd
Wych hylwydd ddydd dychweliad
Ei feibion, drwy fyw obaith,
Yn ôl o'u dedwyddol daith.
Ae 'r gwaraidd hen wr gwiwras
Yn sŷn i'r goleufryn glas:
Ei feibion ufuddlon fodd
Yn olaf yno welodd.
Golygodd, disgwyliodd gu
Adweled ei lân deulu.
Yno oriau gwnai aros,
Fwyn dad hael, hyd yn ael nos;
Heb sôn, heb arwydd ronyn
O fod yn dyfod un dyn.
Ae 'r gwâr hen wr rhagorol
Yn glaf, yn araf, yn ôl.
O'r diwedd gorfoledd fâd,
Lonwedd, a fu 'r canlyniad:
Tyrfa weddusa' a ddaeth,
Fe holodd y dorf helaeth;
Fwynion gydwladyddion da,
Chwimmwth y daethoch yma;
Oes hanes, wŷr naws heini',
O'm meibion anwylion i?
Eb un o'r gwŷr oedd bennaf;
Gyweithas anwylwas Naf,
Gwelais hwy 'n y llu gwiwlawn
Oll yn wir yn llawen iawn.
Daw 'th feibion gwiwlon i gyd
Yma 'n union, mewn ennyd.
Cafwyd y llywydd cyfiawn
Yn serchus, groesawus iawn.
Gweled y llengcyn gŵylwawr
A ryngodd ei fodd yn fawr:
Hanesiawn sydd lawn ar led,
E wylodd wrth ei weled.
O'i nawdd fe'u gwahoddawdd hwy
I'w liwdeg lys moladwy:
Anrhydedd rhyfedd i'w rhan
Oddiar arglwyddi eirian;
Purwych anrhydedd parod
O'i fwy ni allasai fod
I'th feibion dedwyddlon di
Gan frawd o gain fawrhydi.
Dorf eiddig, dir ryfeddodd
Arglwyddi mawrfri y modd.
Ior glân, mae 'i deyrnas fawr glod
Yn amryw 'ddiwrth un Nimrod:
Ei deyrnas lawn cadernid
Sy rydd o aflonydd lid;
Gorawr lawn o drugaredd,
Heb arfau, yn mwynhâu hedd.
Cariad i'r mwynfad Ior mawr
A gyrraedd drwy bob gorawr.
Mwy ei urddas na myrddiwn,
Pob graddau 'n ufuddhâu hwn.
Seirian yw ei drysorau,
Amledd yn rhyfedd barhâu.
Mae auaf a haf hefyd
Groesaw rhydd beunydd i'r byd.
Ni wyddir, mae 'n sŷn addef,
P' un yw ei wlad wiwfad ef.
Gwelir pob tebygoliaeth
Mai o'r gain dwyrain y daeth.
Yn rhwydd i bawb mae 'n rhoddi,
Fwyn Ior, ond cyntaf i ni.
Am Abra'm, mewn mwyna' modd,
Ior hael, manwl yr holodd.
Pan glybu, pan wybu 'n wir
Darddu 'th feibion cu cywir
O Abra'm, yna 'n ebrwydd
Llonnodd ei fron radlon rwydd.
Holodd bob amryw helynt
O'th ymdaith hirfaith a'th hynt
Dithau, gan bruddhâu o hyd,
Wr ystig, yn dy dristyd.
Hyn, drwy y gref lwysdref lawn,
Oedd unig ymddiddaniawn
Myrddiynoedd; mawr oedd enwau
Yr holl feibion tirion tau.
Wr gwiwlwys, cyn hir gweli
Dy blant, attebant i ti;
Mynegant ogoniant gwych
A rhinwedd yr Ior hoenwych;
Maen' eisoes ym min nesu;
Bydd lon, y cyfion wr cu.
Ystyriaw, mewn distawrwydd,
Wnai Israel, wr hael, yn rhwydd:
O ffyddlon wŷr Gibeon gu!
Yn deilwng beth wnaf dalu
I chwi am fy llonni 'n llawn
O'm cyni tost a'm cwyniawn?
O'ch plaid, rhag niwaid, rhag nam,
Dibrin fendith Duw Abra'm
A fyddo 'n etifeddiaeth
I chwi ym mhob cyni caeth.
A dd'wedwch, fyddwch mor fwyn,
Roddwch im' enw 'r Ior addwyn?

Ai tybiaid, hwy attebant,
Am y grasol siriol sant,
Fod neb drwy 'r holl fyd na ŵyr
Ei enw newydd dan awyr?
Ei gu enw, dan nawdd gwiwnef,
Y dydd y dyrchafwyd ef?
Mae i hwn, can' myrddiwn a'i mawl,
Henw sydd fwy na brenhinawl:
Syw ddyn, ar y deyrnas dda
Pen yw Saphnath-Pa'nëa:
Gwiwddoeth berffaith ddatguddiwr
Dyfnion ddirgelion yw 'r gwr.
Brenin y wlad loywfad las
I'r noddwr yr enw addas
A roes, can's gwaredwr yw,
A gwiwfrawd heb ei gyfryw.
Mae 'r enwog Ior mireinwawr
Ym mlodau 'i flynyddau 'n awr:
Hael wyneb fel y loywnef,
Gwynfyd yw ei ganfod ef.
I'w cysur pawb sy 'n ceisiaw
Gânt helaeth luniaeth o'i law.
Mewn gair, arnaw mae 'n gorwedd
Fywyd byd, neu ofid bedd.
Fe ballai, edwinai 'r dydd,
Ae gwawr yr haul o'i geurydd
Dirfawr, cyn hanner darfod,
Ior glân, llafaru ei glod:
Ei glod aeth drwy bob gwledydd,
Ei fawl yn anfeidrawl fydd.
Daw 'th feibion hoywlon helynt
Yn ôl, wŷr haeddol, ar hynt.
Wr anwyl mawr ei rinwedd,
I ti dymunwn fâd hedd:
Trugaredd a hedd o hyd,
Tyfont rhwng ein hâd hefyd:
Buddiol i'w gilydd byddont,
Yn unawl bythawl y b'ont.
Yn bwyllawg, wr mwyn, bellach
Bydd lon, bydd ŝon, bydd iach.
  Y gwladyddion mwynion mau
Yn iach weithion i chwithau.
Rhag cyni, i chwi a'ch hâd
Yn gadarn Duw fo 'n Geidwad.
  Yn ddistaw myfyriaw 'n fwyn
Yr oedd yr hen wr addwyn:
Ei brudd drwm gystudd i gyd
Anghofiodd, a'i ing hefyd.
Ei dda enaid feddiannawdd,
Hedd hyber ei Nêr a'i nawdd.
Graslon gysuron y SANT,
Ei Naf oedd yn ei feddiant!
Nattur yn gwenu yttoedd,
Nef fawr dêg yn hyfryd oedd;
A'r ddaear mor liwgar lwys,
Pêr ydoedd fal Paradwys.
Tra siriol oedd, tros eiriau,
Mewn hedd lon-ddistaw 'n mwynhâu
Gwyrthiau trugareddau 'r Ion,
Dda odiaeth addewidion.
Am enw da'r llywydd mwynwawr
Myfyriai, rhyfeddai 'n fawr.
Cariad at y cu eirian
Lywydd mawrfad y wlad lân
I'w fynwes gynnes a gaid,
Ennynnodd yn ei enaid;
O hael odiaeth lywiawdwr!
Drugarog ac enwog wr!
Y doethwr, Duw 'th fendithio!
Dy hil yn fil-fil a fo,
Y mawreddawg! am roddi
Fy meibion mwynion i mi.
Ior digyrrith, bendith byd
Yn gyfiawn a gei hefyd.
Bôr anwyl, ba rïeni,
Lywydd da, 'th genhedlodd di?
O b' le bynnag, abl bennaeth,
Ai o'r gain dwyrain y daeth,
Neu oror eirian arall,
Fy Nuw i o'r Nef wèn all
Ddanfon ei fendithion da
I noddi 'r gwr mwyneiddia'.
O'm calon wresoglon, sydd
Lawen haelionus lywydd!
Yr wy'n rhoddi i ti, fel tad
Geirwir o'm ffyddlawn gariad,
Fendith, nid oes fendith fwy,—
Duw Abra'm fo dy wobrwy!
  Llon-graffu, hiraethu 'r oedd
Lawer, os gwelai luoedd:
Gwelai, 'n ol ei ddisgwyliad,
O draw lu 'n dyfod i'r wlad:
Yn union ei galon gu
A lonnodd, gan hael wenu;
Fy meibion hoywlon helynt!
Af, drwy serch, i'w hannerch hwynt!
  Brysiodd eu mâd haeldad hen,
A chyfarfu 'r llu llawen.
Wrth graffu a nesu 'n wyl
E grynodd y gwr anwyl:
I waelod ei fron wiwlwys
Ammheuaeth a ddaeth yn ddwys:
Gofynodd, Oh gwae finnau,
P' le weithion mae 'r meibion mau?
A glywsoch, a wyddoch chwi
Air o'u hanes, wŷr heini?
  Y dorf, mewn braw diderfyn,
Fudanant, safant yn sŷn:
Gelyn llawn gwenwyn gwynnias,
Un perffaith mewn gweniaith gas,
(Diras ynfydwas y Fall,
Purion ganddo gwymp arall)
Och'neidiodd; gwae 'r modd i mi
Roi 'u hanes i'w rhïeni!
Daliodd y llywydd dilyth
Yn gaethion dy feibion fyth:
A'r ie'ngaf, gwaith rhy anghall
A wnaeth, trwy fariaith y Fall,
Hwnnw ddaeth i rygaeth rwyd,
I farw hwnnw a fwriwyd.

Galar dros bob disgwyliad!
Hanesion tostion i'w tad!
Fe ddelwodd, syrthiodd yn sŷn
A'i dàl wrth draed ei elyn.
Gwr yno'n teimlo fel tad
Lafarodd o hael fwriad;
Gw'radwydd, ac nid gwir ydyw,
Mae 'th gyfion feibion yn fyw!
Ac wed'yn fe a'i cododd
Mewn ofnus gwynfannus fodd.
Clywen' ei ddi lawen lais,
Duw Abr'am! pa'm dadebrais!
Ni wyddai 'r gwr rhinweddol
Beth a wnai dros byth yn ol.
Rhai 'n gwatwor, rhai ae 'n gyttun
Ag 'ef i'w haddef ei hun.
Golygai, gwelai ogylch
Ei feibion gwaelion o'i gylch:
Ei brudd wynebu 'r oeddynt;
Fe 'u galwodd, fe 'u henwodd hwynt.
Wrth weled ei galed gur,
Ei ddu alaeth a'i ddolur,
Ei ddagrau hallt, y gwallt gwŷn
Yn gaerawg ar ei goryn,
Ei fynych ddwfn riddfannau,
Ac archollion ei fron frau,
Gelynion chwerwon eu chwant,
Maleisus, a deimlasant.
Pan y daeth mewn poen i'w dŷ,
Galar a'i rhodd mewn gwely:
E wêl, mewn cwsg, i'w alaeth,
Ei feibion mewn cyffion caeth:
Fe wêl ddeufab nefolwawr
Yn waedlyd ar lychlyd lawr;
Tirion eu dwyfron eu dau,
Engyl hawddgar, yn angau!
Dan gystudd, yn brudd mewn braw,
Rahel a wêl e 'n wylaw:
Clafychodd, f' edrychodd dro,
A'i enaid fu farw yno.
Pa dafod gwiwglod a gân
Gyni 'r brodyr o Ganaan?
Pa derfysgoedd oedd iddynt
Pan ddaliwyd, pan holwyd hwynt?
Oh eu gw'radwydd! pwy gredai!—
Cyhuddiad lladrad;—nid llai
Na dwyn cwppan dewiniaeth
Y llywydd, i'w c'wilydd caeth!
Synnodd y gwŷr dros ennyd;
Meddant, ac unant i gyd,
N' atto Duw i ni wneud hyn
I'n harglwydd hylwydd haelwyn!
Och inni a thrwch anair,—
I'n rhan y cwppan os cair:
A'i lladrattodd, garwfodd gau,
A fyddo farw 'n ddifaddau;
A ninnau, ddynion enwir,
Yn gaethion weision yn wir
Ymrwymwn, a byddwn byth
Wâr deulu i'n Ior dilyth.
Yn glwm cymerwyd yn glau
Y gwŷr yn ol eu geiriau.
Chwiliwyd eu sachau helaeth,
A'r ie'nga' i'r ddalfa ddaeth.
A phan gaed y cwppan certh,
Gwae fron y dynion dinerth!
Modd astrus!—Oh am ddistryw
I'w llyngcu hwy i fynu 'n fyw!
Dibris, mewn gw'radwydd dybryd,
A'u grym yn gyflym i gyd,
Gwae ysawl! hwy rwygasant
Eu dilladau 'n gawiau gànt.
Garw gur ar ol gwir gariad!
Chwerwder ar ol mwynder mad!
Haws teimlo 'u cyffro a'u cur
Na dilys ddweyd eu dolur.
Oh gur dwys! càn' gwae o'r dydd!
Dychwelant gyd â ch'wilydd.
Difrif, mewn galar dyfryd,
Aeth Juda 'n gynta' i gyd
A'i welw frawd, dan fud wylaw,
Caid ar ei lygaid ei law:
Ae 'r lleill a'u golwg i'r llawr
Gan wrid a gofid gwaefawr.
E ddygodd y swyddogiawn
Y gwŷr ar frys i'r llys llawn.
Gwelsant, ofnasant yn wir,
Y gwron mawr a geirwir,
Y cudeg lywydd cadarn
I'w swydd bur, ar orsedd barn;
Haccru, ennynnu wnai 'i wedd
Diriawn yn llawn digllonedd.
Gweddus y rhodd gwas gwiwddoeth
Yn fuan y cwppan coeth
(Oh adfyd! Oh ddyfryd ddydd!)
Yn ddistaw 'n llaw y llywydd.
Wych fodyr dyrchafedig,
Yn ddwys ennynnawdd ei ddig.
Codwch,—attebwch,—ai têg
Am bêr fwynder hufendeg
Yw lledrad?—gwaeth na lladron
Wnai galed hocced fal hon.
I'ch cibddall ddeall ni ddaeth
Fod ynnof ddawn dewiniaeth?
Du echrys oedd eu dychryn,
Hwy godant, safant yn syn:
Gwae inni rai drwg annoeth!
Wrth fy arglwydd dedwydd doeth
Beth dd'wedwn? lafarwn? f' ŵyr
Rodiad pob drwg-weithredwyr.
Gw'radwydd, euogrwydd hagrwawr,
Ein drygau sy 'n olau 'n awr.
Cyfiawn yw Duw, fe 'n cafodd
Mewn drwg, tra amlwg y trodd.
Gwarthus, poenus yw 'n penyd;
I'n harglwydd hylwydd o hyd,
Cur chwerw, oll fe 'n carcharir
Yn gaethion weision yn wir.
Urddasol dynerol nawdd,
Ei loyw rudd a lareiddiawdd:

Rhoes y rhydd lywydd o'i law
Hoywber y cwppan heibiaw:—
Na atto Duw i mi wneud hyn;
Ef,—ef, wyf fi'n ei ofyn;
Y llengcyn penfelyn,—fo
A ddaliwyd yn ei ddwylo
A'r cwppan arian yn wir,
A rhyddion chwi y rhoddir:
Ewch i'ch gwlad at eich tad da,
Yn ôl i'ch gwlad anwyla';
Rhyddion yr wy'n eich rhoddi,
Mewn heddwch dychwelwch chwi.
  Juda gu wnai nesu 'n awr
At yr ynad tirionwawr:
Gwelodd ei bêr dymmer da
Yn ei olwg anwyla'.
Ei ddwylaw, drwy brudd alar,
Estynnodd mewn gwylfodd gwâr:—
Fawreddog enwog ynad,
Dîau tydithau sydd dad;
Gwel adyn dan galedi,
Ior mawr mâd, can's tad wyt ti.
Dy lid na losged i lawr,
Ein hanwyl udd brenhinwawr:
Godidawg a da ydwyt,
Hoff wir Ior, mal Pharao wyt;
D' amynedd yw 'm dymuniad,
Adolwyn, f' arglwydd mwyn mâd;
D' amynedd dod im' ennyd,
A'r gwir agorir i gyd:
Y gwas tau yn feichiau f' aeth,
Fy Ior mâd, i'w dad odiaeth
Am ei fab weithion myfi
Raid atteb, Ior da, itti.
Ymrwymais â'm llais, â'm llaw,
Yn ei olwg, dan wylaw,
Y dygwn i 'n dêg yn ôl
Ei nawsaidd fab mynwesol.
Gwâr y rhodd ei fab gwirion
I'm llaw, â mawr fraw i'w fron.
Dau lygad ei dad ydyw,
Un enaid â'i enaid yw;
Am hyn du elyn dilyth,
Oni ddygaf, fyddaf fyth:
Os na wêl e 'n dychwelyd
Swrth i'r bedd y syrth o'r byd.
Minnau 'n brudd, mewn cystudd caeth,
A welaf ei farwolaeth.
Oh f' arglwydd hylwydd helynt,
Bu'n galed ei golled gynt;
Os cyll, gloes erchyll yw son,
Y ddeufrawd, tyrr ei ddwyfron.
Oh deilwng lywydd dilyth!
I ti y byddwyf fi fyth
Gaethwas; gwna gymmwynas mâd
O fwynder i'm cyfiawndad.
Oh gwel mai mawr yw 'n galar!
Caniattâ, Ior gwiwdda gwâr,
I'n brawd ddychwelyd yn brudd,
Safaf it' yn was ufudd:
O f' ynad derbyn finnef,
Anwyl Ior! yn ei le ef.
P'odd yr âf, ni feiddiaf fi
Droi unwaith, gan drueni,
Adref, rhag braw anfeidrol,
A'm tlawd anwylfrawd yn ôl.
  Dygaf, os âf, gwae fi son,
Dygaf fy nhad i eigion
Trueni, wr tirionwawr,
Mae ef mewn braw 'n wylaw 'n awr:
Yn union ei benwynnedd
A'n llawn gofidiawn i fedd.
  Ond Oh! 'r oedd yno wâr ddyn
Hynaws dros bawb o honyn';
Trodd olygon cyfion cu
Yn fwynion arno i fynu;
Dygn oedd ei grynnedigaeth;
Heb eiriau, ei ddagrau ddaeth
I'w gu ruddiau gwareiddwawr,
O'i ruddiau 'n llynnau i'r llawr.
Golwg a wanodd galon
Yr ynad harddfad oedd hon:
Ydd ydoedd ry doddadwy,
Ry feddal i 'mattal mwy;
Llefodd, fe 'u soddodd mewn sàn,
Bellach eled pawb allan!
Swyddogiawn o'i loywlawn lys
A ddelwant yno 'n ddilys:
Mewn mawr sàn, pawb allan aeth.
Nodedig ynad odiaeth
(Chwerw oedd ofn ei garcharwyr.
Amlhâu 'r oedd gwaeau y gwŷr)
Ior ffraw, a'i ddwy-law ar led,
A'i wyneb cyn dirioned,
Hyd entyrch codai yntef
Wylofus alarus lef;—
Myfi yw Ioseph!—mae f' ais
Ar dorri tra 'r hir daerais!
Ai byw hefyd hyd yn hyn
Yw 'nhad, mewn byd anhydyn?
  Hyn a holltodd eu henaid,
Y gwŷr mewn gwewyr a gaid.
Gwylder, mawr brudd-der a braw,
Oeddynt trwyddynt yn treiddiaw.
Eu dygn ddwfn synnedigaeth
Barodd gau pob genau 'n gaeth.
  Y muner mawr orch'mynodd,
Mewn hawddgar gyfeillgar fodd,
Chwithau dynesweh weithian;
Tan grynu dynesu wnant.
Mi wn na 'dwaenoch mo'nwyf;
Eich brawd llwyd a werthwyd wyf.
  Gwae i'w bron! eu di lon lu
Oedd o'i flaen ar ddifiannu.
  Na 'mddigiwch, na fernwch fod
Y camwedd dros bob cymmod.
Nid chwi, ond Celi, coelier,
Nid chwi, ond ein Tad ni, Nêr
Trag'wyddol, ein nefol Nawdd,
Duw 'n fwyn yma 'm danfonawdd;

A bu er mwyn cadw bywyd
Myrddiynau drwy barthau 'r byd.
Chwithau na 'mddigiwch weithion;
Moler, mawryger yr Ion.
Eu poenau ganfu 'r pennaeth;
O'i orsedd eurwedd e ddaeth;
Gwridog a hawddgar ydoedd,
I'w wedd bêr digter nid oedd.
Hael nawdd, cofieidiawdd yn lân
Ei hynaws frawd ei hunan.
Y gwaraidd langc ro'i 'i ddwy law
Yn dyner iawn am danaw:
Yna, etto, trodd nattur
Yn ddagrau mal perlau pur.
I'w frodyr, frawd hyfrydwedd,
E rodd hael arwydd o hedd:
Cofieidiodd a hoffodd hwynt,
Ior addwyn, fel yr oeddynt.
Yn fwyn arnyn' fe wenai,
Hael iawn udd, a'u holi wnai:
Fy nhad diddan hyd heddyw,
F' athro, mae ef etto 'n fyw?
Y gwŷr, rhwng brawdol gariad,
Rhwng gwylder a mwynder mâd,
Rhwng hynod ryfeddod fawr
Yn derfysg, ac ofn dirfawr,
A ddelwant rhwng ei ddwylaw,
Ymgrymmant, brysiant mewn braw.
Y nefolwawr penfelyn,
Mewn mwyn fodd, waharddodd hyn;—
Mor ddedwydd fy mreuddwydiawn!
Hwy ddaethant â llwyddiant llawn!
Duw 'n tadau, Fe 'n ddïau ddaeth
I hylwydd freintiau helaeth
A'i was yr hwn ddewisawdd;
Bob amser Nêr a fo'm Nawdd.
Dan awyr bydd du newyn
Etto 'n dost i wanhâu dyn
Bum' mlynedd: mewn hedd fy nhad
Ddigonir â gwir gariad;
A chwithau a gewch weithion,
A'ch plant, mewn llwyddiant fyw 'n llon.
Didawl eu syndod ydoedd,
Geiriau, na dagrau, nid oedd.
I ddangaws ei hynaws hedd
A gwirio ei drugaredd,
Dilladawdd, gwisgawdd y gwŷr
Afradawl, fel ei frodyr.
Gweision y ffriwlon udd ffraeth
A huliant fwrdd ehelaeth
A gwin maethlawn ddigonedd,
Pob ffrwyth pêr lawnder, dda wledd.
Yn llon, ebe 'r gwron gŵyl,
Unwn, fy mrodyr anwyl,
A'n gilydd yn un galon,
I fwynhâu pur radau 'r Ion,
Yn arwydd wir o hir hedd
Rhagllaw, a ddaw 'n ddi-ddiwedd.
E weddus archodd iddynt
Eistedd mewn hedd; gyd â hwynt
Hyfwyn eisteddawdd hefyd,
Dda bôr, hael lywydd y byd.
Mewn ffawd, a'u mwynfrawd i'w mysg,
Darfu 'u hannhraethawl derfysg.
Yn ei fawr oleuwawr lys
Nefolaidd, yno 'n felys
Nawsaidd ymddiddanasant
Felysion hen gofion gânt.
Y llywydd hardd a llawen
A'i rym foliannawdd ei Rên.
Rhowch wrandawiad i fâd fawl
Geiriau Ioseph, wr grasawl:—
Mawr Awdur nattur a wnaeth
Gu lan-wych drefn Rhagluniaeth;
Rhod o fewn rhod yn rhedeg
Yn ddirgel, yn dawel dêg,
I ddwyn ym mlaen, fodd yna,
Ddibenion doethion a da.
Y Duw unig adwaenir
Yn ei berffaith waith yn wir.
Nefawl gyffredinawl Dad,
I oreulwys fawr alwad
A'm codawdd, llwyddawdd fi 'n llon
I rwydd rannu ei roddion.
Yr addwyn Ior mawreddawg
Ar hyn mud-fyfyriai rhawg:
Fy mrodyr, mae 'r myfyr mau
Yn hedeg at fy nhadau:
Chwi wyddoch yr iach addysg
Roes ein tad mwynfad i'n mysg:
Gwir ffydd a wna 'n ddedwydd ddyn,
Duw, o wir-barch, a'i derbyn.
Credu yw mawrygu 'r Ion;
I gariad rhoi 'r y goron.
Parchaf fy nhad ceinfad cu,
Hoedlawg, nid o'm cenhedlu,
Ond o ran hynod rinwedd,
Doniau a rhadau Duw 'r Hedd.
Yn odiaeth, ar fwyn adeg
A hauodd, dyfodd yn dêg.
Etto 'n llon, wr cyfion, caf
Weled fy nhad anwylaf.
Fel hyn, gyd â nefawl hedd,
Y muner da 'i amynedd,
Haelaf wron, lafarodd
Ei araith bêr wrth eu bodd.
Rhoddion a roes, rhïeiddwych,
I'w frawd, megis gwiwfrawd gwych;
A'i frawd roes yn hyfrydol
I Juda anwyldda 'n ôl.
D'wedodd, a gwenodd yn gu,
Ior dilyth, ar ei deulu;
Wŷr dawnus, hir y d'unoch,
Yn unawl bythawl y b'och.
Ei frodyr, Ior hyfrydwedd,
A'i carant, teimlant fâd hedd:
Moesawl yr ymgrymmasant,
Yn ddistaw mwyn-wylaw wnant.
Yn ddi oed y newydd aeth
I heulwawr lys ehelaeth

Pharao, ac yno i gànt
O fonedd bu mawr fwyniant.
Yn hael croesawant mewn hedd
Frodyr yr udd hyfrydwedd.
A ffriw lwys, rhodd Pharao lon
A manwl iawn orch'mynion
Am gyrchu teulu eu tad
I'w lesfawr deyrnas lwysfad.
Rhestrau cerbydau, a bwyd,
Yn fuanwych anfonwyd
I'w cyrchu, yn un llu llon
A ffraethlwys, i'r Aipht ffrwythlon.
Hael-ddanfon, lywydd iawnfad,
Anrhegion i'w dirion dad
A wnaeth, pêr luniaeth o'i law
Yn wleddoedd anwyl iddaw.
Yn olaf, udd anwylwedd
Mwyn hardd, llafarodd mewn hedd;
Gwelwch, fy mrodyr gwiwlan,
Mai fi, mewn goleuni glân,
Gwelwch mai 'ch brawd un galon,
Iach o bryd, sydd ger eich bron.
Brysiwch, dygwch fy mwyn dad
Gwâr olwg i'n goreuwlad:
Ceiff ef a'i deulu hefyd
Y parthau gorau i gyd.
D'wedwch i'm diwyd wiwdad
F' anrhydedd a'm mawredd mâd.
Prysurwch, brysiwch, mae 'n bryd,
A deuwch yn dra diwyd:
Iach hedd a'ch dilyno chwi,
A hyfryd iechyd ichwi.
Weis anwyl, na 'mrysonwch
Ar y daith drymfaith yn drwch:
Gwyliwch, na chyhuddwch chwi
Eich gilydd: cofiwch Geli,
A glân drefn ei Ragluniaeth,—
Pa ddaioni i ni wnaeth!
 Fe eilwaith, Ior nefolwawr,
Mewn cariad mwynfad a mawr,
Gofleidiodd, gwasgodd y gwŷr;—
Mor wiwdeg y'ch, fy mrodyr!
 Mewn gwylder a mwynder mâd
Gŵyrant hyd lawr o gariad:
I'w brawd y rhoisant, o'u bron,
Fwyn odiaethawl fendithion:
Ac yna 'n fywiog uniawn,
Yn serchus gysurus iawn,
Ar olwynion weithion ânt,
Pur seirian wŷr, prysurant.

# Y CHWECHFED RAN.

Newydd beth, synnodd y byd!
Wedi odfa du adfyd
Gwelwyd y brodyr gwaelion
Yn hardd lu, yn rhïaidd lon,
O lawenfawr hael wynfyd!
T'wysogion gwychion i gyd;
Ië gwiwlwys fwy galwad,
Brodyr rhydd lywydd y wlad.
Tra 'r ânt, adfyfyriant fyth,
Daliant eu meddwl dilyth
O hyd yn hyfryd mewn hedd
Ar gu Ior pob trugaredd.
Chwerwi 'r oedd drygioni gynt
Eu meddwl yma iddynt.
Meddant (a gwelwant i gyd)
O'u cleifion ddwyfron ddyfryd,
Daionus frawd mor dyner!
Yn maddau'n beiau mor bêr!
Yn deilwng, dim ond wylaw
Ni's medrant, gwlychant fel gwlaw
Eu gruddiau â deigr addwyn,
Dan ddistaw fyfyriaw 'n fwyn.
Dirmyg ga'dd ein brawd ormodd
Ni mewn trueni a'i trodd.
Mawr alar fel marwolaeth
A fu ei ddrwg-werthu 'n gaeth.
O'i gariad rhodd gu eirian
Hedd ac anrhydedd i'n rhan;
Yn dyner â daioni,
Addwyn Ior, gorchfygodd ni.
Bywyd a gwynfyd a gawn
O'i oreudlos law radlawn.
Ymrwymwn mewn mawr ammod
Ei garu, rhyglyddu 'i glod;
Rhown i'r llywydd hoff rydd ffraeth
Burwych dêg barchedigaeth;
Talwn, drwy gariad dilyth,
I'n hael frawd ufudd-dawd fyth.
A Juda drwy bur-dda bwyll,
A dd'wedodd, Oh am ddidwyll
Galon! heb ddirgelion gau,
Gefnog, heb ing nag ofnau!
Gwae, etto daw 'r hen dro drwg,
Er ei gelu, i'r golwg.
I'n tad, wedi 'i benyd hir
Oedd ddidawl, beth a dd'wedir?
I'n llwyddiant mae 'n well addef,
Fawr iawn warth, ger ei fron ef,
Mai erddrym a fu 'n mawrddrwg,
Na dyblu, drwy wadu 'n drwg.
Fel mâd wâr gennad o'r Gwawl
Yw geiriau 'n brawd rhagorawl:
Nid ni, ond Celi, coelier,
Nid ni, ond ein Tad ni, Nêr,
Ein grasawl, ein nefawl Nawdd,
Duw 'n fwyn ein brawd anfonawdd;
A bu er mwyn cadw bywyd
Myrddiynau drwy barthau 'r byd,
Dyma 'r geiriau gorau gaid,
Hynaws fuont i'n henaid!
A dïau cânt wrandawiad
Haeddol gan ein duwiol dad.
Ei frodyr, mewn myfyr mwyn,
A roddant, fal gwŷr addwyn,
Ar Juda, oedd dda ei ddawn,
Hynod eiriol yn diriawn.
I'w bron, fu anffyddlon ffol,
Y deuodd tristwch duwiol,
A phur gur, a phêr gariad,
A hedd a gorfoledd fâd.
Un fryd hwy ânt yn frawdol
I Ganaan eirian yn ôl.
Ac Israel. fu wael ei wedd,
Ef eilwaith ga'dd orfoledd:
Ei radlon galon fu 'n gaeth,
Mawr alar! 'min marwolaeth,
Tannau eurlwys tynerlon
Delynau wnaen' fywhâu hon.
Canfod, adnabod a wnaeth
Y loyw dêg weledigaeth,
Angylion gwynnion yn gôr
Anfarwol drwy nef-oror:
Ym maes Lus, wr moesol iawn,
Y gwelodd y llu gwiwlawn:
Yr un wedd eirian oeddynt,
F' adnabu, a ganfu gynt.
Hyd ysgol wele 'n disgyn
Un gloywbryd, i gyd mewn gwŷn;
Ei lwynau mewn melynaur
Wisgwyd, wregyswyd âg aur.
Y Nefolwawr penfelyn
Areithiawdd yn hawdd fal hyn:
Y mawr Ion a'm danfonawdd
A mâd fynegiad o'i nawdd;
Dy rinwedd bur dirionaf
Obrwyir, yn wir, gan Naf.
Israel, fy ngwas hael hylwydd,
Wr cyfiawn, daw it' lawn lwydd:
Ti'm boddiaist, cerddaist bob cam
Hyd lwybrau duwiol Abra'm;
Fel Abra'm, nefol wobrwy
Fydd dy ran, tarian it' wyf:
Etto 'r wyf yn Dduw itti,
Israel, ni wnaf d' adael di.
O'th annedd, wr doeth union,
Na ddos, wedi 'r hagrnos hon:
Di gei lawn dêg lawenydd,
A hynny efory fydd.

Clywodd y geiriau clauar,
Clywodd, a gwelodd y Gwâr
At y pêr nifer nefol
Claerwyn, yn esgyn yn ôl.
Wed'yn, yn llawen odiaeth,
Dadebru, dan wenu, wnaeth.
Mal gwynt o'r deheubwynt hyll,
Naws oerchwyrn ar nos erchyll,
O frŷ a dery y dòn,
Rwyga fynwes yr eigion,
Y mawrwynt yrr armorau,
Yrr draw fyrdd o eirw dyrfâu,
Yr ewyn yn frigwyn frŷ
O'r wybren ruthra obry;
A'r corwynt ymf mron curo'r
Creigydd a'r moelydd i'r môr:
Gyd â'r dydd daw tywydd têg;
Gloywder yr haul goleudeg
A wasgar y terfysgoedd
A'u hanwar gref-lafar floedd;
Gwed'yn bydd miwsig adar
Yn llawen drwy 'r wybren wâr;
Bydd nef a daear hefyd
Yn gwenu yn gu i gyd:
Yr un modd, wedi 'r ofn mawr,
Enaid y gwr mireinwawr:
Yn lle blinder, trymder trwch,
Duwiolaf lon dawelwch.
Mor hawdd, yn llawn mor rhwydded
A throi'n ddiddym grym ei gred,
I isel awel o wynt
Droi 'r didraul haul o'i helynt.
Pur odiaeth wr, heb bryder,
Fe rodd ei ddwys bwys yn bêr
Ar sail gadarn-fawr Sylwedd
Y Duwdod mewn hynod hedd.
Y prydnhawn, y prydnhawn hwyr
A hoyw lewych haul awyr
O'r ddeutu 'n gwenu 'n geinwawr
Yn ei ddyfr-ddrych meithwych mawr,
Galwai 'r bychan gwiwlan gŵyl
Yn dyner, Fy nhad anwyl!—
Fy machgen!—ei lawen lais
Yn glauar iawn a glywais.
Ar ol i'w ddedwyddol dad
Gwâr-fwyn wasgu 'i fab gwirfad,
Wed'yn, yn llawen odiaeth,
Simeon i'w ddwyfron a ddaeth.
I'w annedd daeth, mewn ennyd,
Ei feibion gwiwlon i gyd.
Ar ol cyfarch, mewn parch pêr,
Eu dawnus dad yn dyner,
Distaw y gwnant gyd-eistedd
O'r ddeutu yn gu eu gwedd.
Hwy ar eu tad, hoyw wŷr têg,
A wenant â mwyn waneg;
Yn fâd, yn annhraethadwy
E wenai 'u tad arnynt hwy.
Juda wareiddia' ei rudd,
O'i nefawl galon ufudd,
A dd'wedodd,—Rhyfedd ydyw,
Mae d' arab fwynfab yn fyw!
Ioseph, dy fab dewisawl,
Byw dy fab mewn byd o fawl!
Duw 'n tadau 'n ddïau a ddaeth
I hylwydd freintiau helaeth
A'i dda was a ddewisawdd;
Bob amser Nêr a fo 'i Nawdd.
Yn ddi-allael Israel oedd
I atteb; synned yttoedd!
Ei lawen wedd oleuai
Rhyfeddu, dan wenu, wnai.
Ac ar yr Aipht, gwir air yw,
Hael ddedwydd lywydd ydyw.
Llesgâodd, ni feiddiodd fo
Yn ei galon iawn-goelio.
Wr cu, pan ganfu geinferth
Roddion ei fab cyflon certh,
Adfywiodd, llefodd yn llon
O dêg waelawd ei galon,—
Goleunef a Rhagluniaeth!
Digon yw, a Duw a'i gwnaeth!
Byw yw fy mab, ceinfab cu,
Cariadus, yr wy 'n credu.
Yn ddïau cyn angau âf
I'w weled, fab anwylaf!
Dy wlad, y mab mwynfad mau,
Glyd anwyl yw 'm gwlad innau.
Ystyriol iawn ddistawrwydd
Dros dro, fu yno 'n ei ŵydd.
Eu tad edrychiad a rodd
Taer iawn ac a'u trywanodd:
Wele! ar ei fron wiwlwys
Pwysodd ei law 'n ddistaw ddwys.
Yn fudion yn union ânt,
Wael weision, hwy welwasant.
Juda fwyn yna 'n union,
Drwy ddu fraw, d'rawodd ei fron:—
Oh 'n tad! dy ddigofaint ti,
Yn helaeth os gwnei 'n holi,
Dry ddydd llawenydd yn llawn
Galar i'th feibion gwelwawn.
Gwedi 'n dwys-brofi 'n gadarn,
Drwy haeddawl ryfeddawl farn,
Liwgar lywydd, amlygodd
Ei hunan, mwynlan fu 'r modd;
Yr hoywdlws lywydd rhadlawn
Oedd ein brawd o ddidlawd ddawn.
Ninnau, heb eiriau 'n barawd,
Yn fudion ger bron ein brawd,
Gan g'wilydd dygn a galar;
Gwnaeth yntau, â geiriau gwâr,
Drosom araith, o'i draserch;
Fe 'n llonnodd, synnodd â'i serch:—
Na 'mddigiwch, na fernwch fod
Y camwedd dros bob cymmod.
Nid chwi, ond Celi, coelier,
Nid chwi, ond ein Tad ni, Nêr
Trag'wyddol, ein nefol Nawdd,
Duw 'n fwyn yma 'm danfonawdd,

A bu er mwyn cadw bywyd
Myrddiynau drwy barthau 'r byd.
Chwithau na 'mddigiwch weithion,
Moler mawryger yr Ion.
Yn ei frawdle hyfrydlef,
Yn hawdd e faddeuawdd ef.
 Gwelodd eu tad eu galar
Difrifddwys am bwys eu bâr:
E dd'wedodd yn ddi-oedi,
Fy meibion anwylion i,
Er mwyn y mab, mawrfab mau,
Synniwch, maddeuais innau.
Dedwydd ryfeddod odiaeth!
Meddyliau fyrddiynau ddaeth
I'm calon; yma coeliaf
Yn wir addewid fy Naf.
Am lon roddion Goreu-Dduw
Ymgrymmwn, addolwn Dduw.
Ar unwaith, wŷr eirianwawr,
Syrthiant, penliniant i lawr.
Eu tad, ger bron iawnfâd Nêr,
Daenodd ei ddwylaw 'n dyner:
Duw'n tadau, mae d' wyrthiau Di,
O'th unig ddoeth ddaioni,
I'n dwyn mewn syndod enaid
Uwch pob geiriau gorau gaid.
Duw 'r Hedd, mae 'th drugareddau
Pur o hyd byth yn parhâu.
Dy radau, 'n da Waredwr,
Sydd fâd, uwch disgwyliad gwr;
Amgylchaist, llawn foddiaist fi,
Duw anwyl, â daioni.
O Geli! gweli 'r galon;
I Ti sydd yn canfod hon,
Oferedd torf o eiriau;
Tydi 'n awr, y Duw mawr mau,
A'th olwg perffaith, weli
Yn olau 'n heneidiau ni
Yn weiniaid a newynol,
Er hyn yn dilyn ar d' ol.
Nertha, perffeithia 'n pur ffydd,
Ein Byw-Nêr graslawn, beunydd.
Myned o'n gwlad ddymunol
Yr ŷm, gan ddilyn ar ol
Glanwych drefn dy Ragluniaeth,
Cadw ni rhag pob cyni caeth.
D' anwyl addewid inni
Gyflawner yn d' amser Di:
Oreu-Dduw, mewn awr addas
Gwrando Di weddi dy was.
Yn weddus, am ein noddi,
Molwn a bendithiwn Di.
 Hwy godant yno 'n gydwedd,
A'u heneidiau 'n mwynhâu hedd.
Prysurant, ac ânt i gyd
Yn hyfwyn-lawen hefyd,
Gan ryfeddu, deulu da,
Y ddamwain ryfedd yma:
Mewn cerbydau restrau 'r ânt,
Pur seirian wŷr, prysurant.

Bŷr seibiant yn Beerseba,
Ar ei daith gymm'rai 'r gwr da.
Gwirfodd aberth rhagorfad
Rodd i'w Dŵr, i Dduw ei dad.
Eirian wr, tra bu 'n aros,
Duw Nêr, yn nyfnder y nos,
A dd'wedodd,—Israel ddidwyll,
Duw 'r Hedd, heb duedd i dwyll,
Duw ydwyf dy holl dadau,
A Duw'r meibion tirion tau;
I'r Aipht gyd â thi yr âf,
A diogel y dygaf
Di oddiyno etto 'n ôl,
Yn fyddin fawr ryfeddol.
Fwynwr, na ofna fyned;
Cei wên wlad Gosen yn gêd;
Cei gyflawn dêg iawn gynnydd,
Tydi heb rifedi fydd.
Yn wir, pan gyrchir di i'r Gwawl,
Ioseph, dy fab mynwesawl,
Esyd ei ddiwyd law dda
Ar dy ael, wr duwiola':
Gwybydd, bydd fyw mewn gobaith,
Mai hedd fydd diwedd dy daith.
 Pan ddeffrôdd, addolodd ef
Hael anwyl Ior y loywnef:—
Duw geirwir, Tydi garaf,
Duw fy Nawdd! dy ofni wnaf:
Gelwaist, deuaf i'th ga'lyn,
Fy Naf, mi ufnddhâf hyn.
Y fendith gynt, o'th fwynder,
Addawaist, ni oedaist, Nêr,
I'm henaid roi mo honi
Y' nghyflawnder d' amser Di.
Dy air fu yn nyfnder f' ais,
Ar dy air yr hyderais:
D' addewid i weddïwr
Sydd fâd, uwch disgwyliad gwr.
Collais, ni's gobeithiais byth
Adweled fy mab dilyth;
Fy anwyl fab, fu unwaith
I'm llonni drwy 'm difri' daith,
A gedwaist, godaist yn gerth
I ddirfawr orsedd eurferth:
Lywydd dedwydd clodadwy,
Ni bu fab gan neb o'i fwy.
Pa fawl it', fy nefawl Naf,
Wir deilwng Ior, a dalaf?
Fawr-Dduw, Tydi yw f' urddas,
Tydi adwaeni dy was.
Gwiw lwyddiant na ryglyddais
A lonnodd, fywiogodd f' ais.
Gwirionedd, trugaredd gu,
D' ewyllys da, dy Allu
Mawr a fu 'n f' amgylchu gynt,
Didawl o barhâd ydynt;
Y Trag'wyddawl, nefawl Naf,
Ar d' Air byth yr hyderaf.
 Y loyw dêg weledigaeth
O'r Nef gu ei nerthu wnaeth.

Mor bêr ei dymmer, wr da,
Ei gain olwg anwyla',
A'i bur rwyddlon bereiddlef,
Mal tawel fwyn angel Nef,
Anfonawdd Juda 'n fwynwawr
Gennad, at ei fab mâd mawr,
At Ioseph, i'w tywyso
I'w ffrwythlawn hyfrydlawn fro.
Pan ganfu 'r cu lywydd cain,
Mawrwych, o'i gerbyd mirain,
Juda fwyneiddiaf ei naws
Yn llawen yn y llïaws,
Fe alwodd, Ior nefolwawr,—
Mae nhad anwylfad yn awr?
Dan ymgrymmu, nesu 'n wâr
Hoywgu wnai Juda hygar:
F' arglwydd hael mae 'n diwael dad,
Heddyw, 'n ol dy wahoddiad,
Yn dyfod â'i lin doflawn,
Yn llon wedd, yn llawen iawn.
Manwl y daethum innau
Yn gennad y mwyndad mau,
I gain wybod yn gynnar
Orchymmyn f' arglwydd gwŷn gwâr,
Pa ran geiff ein diddan dad
O'r wiwlwys bêr oreuwlad.
Ar y gair darfu i'r gwron
Ddewis Heropolis lon;
Ac yno cyfeirio 'n fwyn
Rïeddawg wnai 'r Ior addwyn.
Dyfrysiodd Juda rasol
A'r dedwydd newydd yn ôl.
Llawen iawn oedd y llywydd
Glana' erioed â'r galon rydd:
Bywiog yr aeth a buan
Yn ei gerbyd gloywbryd glân.
Gwelodd Benjamin gulon,
Mewn ffawd, ei fwyn frawd un fron,
Ysplennydd lywydd y wlad
Fawrwych, draw ar gyfeiriad;—
Gwel, fy nhad, fy mrawd mâd mawr
A'i bur wyneb eirianwawr,
Ioseph, dy fab urddaswych,
Dy fyd, yn ei gerbyd gwych!
Israel fâd mewn siriol fodd
A fyw-wresog ddyfrysiodd
O'i gerbyd gyd â gwirbarch
At y modur o bur barch.
Ei loywgain eglur lygad,
Lywydd doeth, welodd ei dad:
Disgynnodd, rhedodd, Ior hael,
At yr henwr tirionael.
Clau rhwng ei freichiau a'i fron
Gulwys, ei dad hael-galon
Gofleidiodd, wylodd yn wâr
Y gloywon ddagrau 'n glauar.
Ei lon dad mewn mwyn fâd fodd
Ei liwdeg fab gofleidiodd;
Llesmeiriodd, soddodd mewn serch,
Bur enaid, â'i bêr annerch:
Dedwydd leferydd ei fab,
Ei wŷn aelfwyn anwylfab,
A'i hoenus lon ddihunawdd,
Y' nghanol mynwesol nawdd.
Bywiogodd, d'wedodd ei dad,
Fy manwl ddwys ddymuniad
A gefais, fy mab gwiwfwyn,
Tydi a welaf fi 'n fwyn!
Ioseph, fy mab urddasawl,
Rhyfedd yw 'th fawredd a'th fawl!
Da ragorol drugaredd!
Boddlon âf weithion i fedd!
Ac wele 'mreichiau 'u gilydd,
Wŷr nefawl, hwy 'n siriawl sydd:
Gwâr wylant ddagrau eilwaith
O'u henaid, o'u llygaid llaith.
Mud amlwg gyd-ymdeimlad
A fu 'mhlith teulu eu tad;
Rhyfedd, y brodyr hefyd
Wylant, ac unant i gyd.
Hael ddedwydd lywydd odiaeth,
Ei deulu o'i ddeutu ddaeth
Gan ymgrymmu 'n gu eu gwedd
I'r gwron llawn trugaredd.
Rïeddawg funer addwyn,
Henwodd, cyfarchodd hwy 'n fwyn.
Ym mreichiau eu mammau mâd,
Rai gwirion, o wir gariad,
Bywiol iawn eu tyner blant
A nawsaidd estynnasant
Wynnion feddalion ddwylaw,
A gwâr drem, at y gwr draw,
Rinweddawl eirian noddwr;
Yn ei freichiau 'r gorau gwr
Mawrwych a'u llon gymmerodd,
Bendith bron raslon a rodd:
Yr udd iddynt a roddawdd
Brofiad anwylfad o'i nawdd;
A mwyn iawn i'w mammau 'n ôl
Gwiw roes wirioniaid grasol.
Y cyfryw (pwy 'n fyw un fawl?)
Oedd Ioseph, Ior urddasawl.
Daeth ar air, fab diwair doeth,
I gwrdd â'i dad gwiw eurddoeth,
I lwyddawl orfoleddu,
A hynod gyfarfod fu!
Gwleddoedd y llywydd gloywddawn
Ei deulu, yn un llu llawn,
Hyfaeth weision Iehofa,
Mewn plas yn y ddinas dda.
Wedi i'r Ior hael, ag ael gu,
Fanwl gwbl-benderfynu
Y drefn o'i sefydliad rwydd
I'w dad a'i deulu dedwydd,
I'w wych alwad dychwelawdd
Yn ôl, a'i dad dan ei nawdd,
A phump o'i frodyr hoff iawn
Yn agwrdd wŷr enwogiawn.
Y gwron pur ei gariad
Ddygodd, dywysodd ei dad

I'w gerbyd hyfryd ei hun
O heulwawr berffaith hoywlun.
Ddau unawl, tra 'mddiddanant,
Ei olwynion weithion ânt
Yn araf, radlawn wron,
Hyd brif-ffordd fâd y wlad lon,
A'r rhesymmau gorau gaid
E ddiddanodd ei enaid.
Ein Duw graslawn, diriawn Dad,
Gywirodd air ei gariad:
Rhoes fy mâd ddymuniad maith,
Dy weled, fy nhad, eilwaith;
Gweled yr hyn ddisgwyliais
A lonnodd, adfywiodd f' ais.
Bu rhyngom, da gwyddom, gaeth
Dywyll hir ymneillduaeth:
Yn dêg ein Duw a'n dygawdd
Yn unol dan nefol nawdd.
Dywenydd, fy nhad anwyl,
Oedd dy berffaith araith ŵyl.
Amryw dymmor da immi
Fu 'th nefol ddysg dadol di.
Degwm fy rhwymedigaeth,
Fy nhad, am dy fwynfad faeth,
Fi ni fedraf yn hydrefn
Dalu, na 'i draethu 'n iawn drefn.
Nêr, sy 'n rhoi doethder a dysg,
A lwyddawdd dadawl addysg:
O lawnedd ei haelioni
Noddawdd, a chyfodawdd fi
O gamwedd byd yn gymmwys
I'm helaeth lywodraeth lwys.
Ef, Ior y wiwnef, a roes,
O'i dirion gariad eirioes,
Hoff ddoniau a ffydd ddinam
A'i bur hedd i Abraham.
Dywenydd ydyw inni,
Dan nawdd Duw ein tadau ni,
Yn awr, â mwynion eiriau,
Ymddiddan yn ddiddan ddau.
Dedwyddwch i'w dad addwyn
Oedd gwrandaw, myfyriai 'n fwyn:
Hir-graffai, rhyfeddai 'n fawr
Weled ei fab anwylwawr:
Wrth weled, wrth glywed glân
Fyw buriaith ei fab eirian,
Ei hylon ael a'i hoywlef
Oedd fel mwyn angel o Nef.
Eb ei lwysber dyner dad
A geiriau o bur gariad;
Ar ol oer hir alaru
Am danad, fab ceinfad cu,
Hyfryd yw 'myd wrth fy modd,
A Duw 'n fwyn a'i danfonodd.
Meddylion llawnion sy 'n llu
Cain hirfaith i'm cynhyrfu;
F' anwyl fab, beth ofynwn,
Neu dd'wedaf gyntaf, ni's gwn.
Dedwydd i'th wrando ydwyf,
I'th wrando ymrwymo 'r wyf.

Bôr hael parabl-bêr, e hawdd
Ail fyfyriol lafarawdd:
Dunych fu 'n fynych dan f' ais,
Mynych, fy nhad, dymunais
O'm calon hiraethlon rwydd
Dy weled mewn da wiwlwydd.
I'm dwyfron hen gofion gynt
Yn chwyddawg mynych oeddynt.
Teilwng gref law attaliol
Y Nef a'm cadwodd i'n ôl.
Naf y loywdeg nef lydan
Sydd Ri 'n rheoli pob rhan
O'r Gre'digaeth helaeth hon
Eirianwedd â'i Air union,
Bôr mâd, Efe biau 'r mawl,
Trwy foddion tra rhyfeddawl
O dra anial drueni,
O w'radwydd i fawrlwydd, fi
A gododd â'i law gadarn,
Rhodd eglurhâd o'i fâd farn:
Hefyd ein Duw 'n ddeheufodd,
A bwriad da, barottôdd
Yr amserau gorau i gyd
In' gyfwrdd wedi 'n gofyd:
Ior hael, goruwchreolawdd
Fwriad fy mron hen yn hawdd.
Doeth reol fu d' athrawiaeth
Gywir i mi, gorau maeth
I fynych nerthu f' enaid
A'r siamplau gorau a gaid.
Yn daer y dymunai dyn
Dda wirbarch, ddiboen dderbyn
Mawrion fendithion bob dydd,
A byw 'n helaethwych beunydd.
Yn ehedwyllt anhydyn,
Yn rhy hyf y deisyf dyn
Bŷr synwyr, ryw bresennol
Degan yn llawn ffwdan ffol;
O chyll, drwy wag ddichellion,
Daw ar frys chwerwder i'w fron:
Os ffynna,—dyna ddyn doeth
Gwiwfawr, yn nerth ei gyfoeth.
Y gwr bo Duw 'n ei garu
Fydd foddlon, o galon gu,
Dda was, yn y radd isaf,
Dan nawdd Rhagluniaeth Duw Naf,
Heb anghymmwys gynnwys gau
Ofidus ddeisyfiadau.
Os y Tad, o'i râd, a rydd
Wych enwog lwydd a chynnydd,
Rhydd gwr cyfion fwynlon fawl
I'r Rhoddwr yn dra haeddawl;
Y gwiwlwys ffrwyth a ga'lyn
A ddengys yn hyspys hyn.
Gwr da a ddefnyddia 'n iawn
Dêg rodd y Duw goreuddawn
Drwy rannu i drueiniaid
Yn ol doeth reol wrth raid.
Da iawn mae Duw 'n ordeiniaw
Pob peth mewn trefn lefn o'i law:

Gwirffordd i ddyn gael gorphwys
Yw llafur a dygn-gur dwys.
Cariad sy 'n danfon cerydd;
Gwynfyd, heb adfyd, ni bydd;
Mor ammhur yw 'n nattur ni,
Addas yw 'r drefn hon iddi.
Ion gwiwlwys sydd yn gweled
Ei berffaith lawnwaith ar led,
Trefnodd, parottôdd y Tad
Wych reol o'r dechreuad;
Gosod rhod nattur, bob rhan,
I'n tynnu atto 'i hunan:
Ei Allu 'n hoff rwyddgu ffraeth
Y dêg fawr Greadigaeth
Sy 'n dadgan, mal diddan dês
Y cannaid huan cynnes.
A'i helaeth Ragluniaeth lân
Sydd effro 'n cofio 'r cyfan.
Gweddus ei addysg wiwddawn,
A'i Air oll sydd yn wir iawn.
Ei ddedwydd addewidion,
I'w dda was, gyflawnodd Ion:
Abra'm, byddaf Dduw ebrwydd
I ti a'th hâd, iawnfad lwydd;
Bôr geirwir, o'i bur gariad,
Yn ddïau mae e' n Dduw mâd.
O 'r dedwydd fyfyrdodau
Mae 'r fron yn hylon fwynhâu
Dan addysg Duw ein Noddwr!
Yn dêg iawn fe wrendy gwr
Da 'i bwyll leferydd di baid
Yr Ion yn ei wâr enaid:
Hyn o hyd gyfyd y gwan
O'i hen nattur ei hunan
I undeb â chyfiawnder
Trag'wyddawl y nefawl Nêr,
A thradoeth gydweithrediad
Rhwydd â santeiddrwydd y Tad.
Adwaenir Duw y wiwnef
Yn ei waith a'i feibion Ef:
Fe ddwg hyn fyd cyndyn caeth
O bydew anwybodaeth
I weled rhyfedd olau
Rhinwedd a hedd yn amlhâu.
A golau, bawb, y gwelwn
Bod Duw 'n rheoli 'r byd hwn.
Gwaraidd fal hyn bu geiriau
Sylweddol y dduwiol ddau.
I Israel hael, ehelaeth
Hedd yn ei ddiwedd a ddaeth:
Ar ol annedwyddol daith,
Gyrfa flinderawg arwfaith,
I dda orphwysfa, drwy ffydd,
Y daeth y gwiw ymdeithydd.
Mawrion newyddion oeddynt,
A glybu gan geinlu gynt;
I'r wlad weddusfad pan ddaeth,
Mawrion, dros bob cydmariaeth,
Oedd llon fendithion di dawl
Yr odiaeth wlad gariadawl:
O ddedwydd ryfeddodau!
Mewn hedd fe fu 'n eu mwynhâu.
Gwir grefydd y llywydd llon,
A'i ddawnus ymddiddanion,
Fal mâd anadliad y Nef,
Dêg antur, gyd âg yntef
A godawdd ar dêg edyn
Ei dad siriawl i'r Gwawl gwŷn.
O roddfawr fab gwareiddfad!
O dduwiol ddedwyddol dad!
Drwy lon fawrion niferoedd,
O amryw fro yno oedd,
Yn gŵyraw o fwyn gariad
Ger bron rhydd lywydd y wlad,
I'r fam-ddinas addàs ânt,
Gu geinwych, mewn gogoniant;
Eurawg lïosawg lysoedd
Yn disgleirio yno oedd:
Na llysoedd, na lluoedd llon
O weddus ddawnus ddynion,
Ni thynnent unwaith ahwyl
Olwg ei dad gwiwfad gŵyl
Oddiar oleuwedd eirian
A bywiog lais ei fab glân,
Ei wŷn aelfwyn anwylfab,
Ei fyd, ei fywyd, ei fab!
E ddifrif aeth ar ddyfrys,
Ior tiriawn, i'w loywlawn lys,
A'i dad yn ei lwysfad law;
Gwir rasol oedd ei groesaw.
Dygodd, i'w hael fendigaw,
Ei ddau langc yn ei ddwy law,
Rai anwyl, dan wâr wenu;
A'i dad, mewn cariad mwyn cu,
A hawdd adnabyddawdd bêr
Donnen y plant oedd dyner;
A thyner gwnaeth eu hannerch
Mewn dedwydd wresogrwydd serch;
Yn ei freichiau, hwythau 'n hawdd,
Gu flodau, a gofleidiawdd:
Bendithion mawrion Duw mau,
Fu 'n hyder i fy nhadau,
A ddelont i chwi 'n ddilyth,
F' anwylblant, yn feddiant fyth;
Eich hil, mewn hybarch alwad,
Ffrwythlono, a lenwo 'r wlad,
A channoedd yn eich henwi,
Gwŷr cyfion, meibion i mi.
Gweled byth ni ddisgwyliais
Mo'th liw, na chlywed mwy 'th lais;
Ac wele, fy Nuw 'n gulon
I mi yn rhoddi 'r awr hon
Gymmaint braint, ganfod dy bryd
Hyfwyn, a'th feibion hefyd!
Ior glân, yn ei lydan lys
Nefolaidd, yno 'n felys
I'w dad a'i frawd y d'wedawdd
Waith gwyrthiol ei nerthol Nawdd,
Odiaeth Ragluniaeth Ior glân
A'i gofal drosto 'n gyfan

Addolant Dduw yn ddilyth
Mewn siccrwydd o fawrlwydd fyth.
I'w nefol Dad mawrfad mawl
Gu seiniant yn gyssonawl;
Y difri' bêr gerddi gynt
O Ganaan a gyd-genynt:
Gwiwferth oedd eu hen gofiawn,
A'u mawrlwydd oedd ddedwydd iawn.
  A Pharao, yn hoff eirian,
At lywydd mâd y wlad lân
Gynnes anfonodd gennad,
Gu was doeth, i geisio 'i dad.
Y gwron, cysurlon swydd,
Ei dad a'i frodyr dedwydd
Osododd ger bron sywdeg
Frenin doeth y fro wên dêg
Yn eistedd ar orsedd aur,
Gu bôr, mewn gwisg o buraur.
Llon graffu 'u fwyneiddlu wnant,
A gweddus ymogwyddant.
Disglair hardd gâdair dêg iawn
Roddwyd i'w tad goreuddawn,
O lwysaf hoywliw asur,
Drwy fawr-barch i'r patriarch pur;
A'i ffyddlon feibion gwiw fawl
Yno o'i ddeutu 'n unawl.
Holodd Pharao ei helynt,
A'i hirfaith dêg ymdaith gynt.
I Pharao, mewn hoff eiriau,
Traethodd, eglurodd yn glau,
Yn onest drefn ei einioes,
A'i fechan anniddan oes.
Drwy weddus ymadroddion
Buddiol ei ddifrifol fron,
Dywiriodd mai tad arab,
Haeddol o'i ryfeddol fab,
Ydoedd; a Pharao wed'yn
A hael lafarodd fal hyn:
Croesaw i ti, bri a braint
Hynod gei yn dy henaint;
Wr gwiwlwys, croesaw 'r galon
I ti i'r anwyl-wlad hon.
Mae 'm gwlad, a'i holl fawrfad faeth,
Synniwch, at eich gwasanaeth:
Dewis, y gwr da diwyd,
Y parthau gorau i gyd.
  Gwlad Gosen glyd a geisiant;
Gwlad lawen Gosen a gânt:
A siriol ddinas* eirian
Yr haul a gawsant i'w rhan.
Ac Israel ddi wael ei wedd,
Wr enwog mawr ei rinwedd,
O'i gadair hardd a gododd,
Hyfryd ei fyd wrth ei fodd!
Y doethwr a fendithiawdd
Y brenin iesin am nawdd;
A'r gwr da, mewn mwyna' modd,
Duwiol, a ymadawodd.

* *Heliopolis,' dinas yr haul,* lle yr oedd teml iddo.

  Siriol fu 'r llys o herwydd
Eu bri, yn llonni 'n eu llwydd.
  Ioseph dangnefedduswawr,
Wedi gwledd gorfoledd fawr,
A lefarodd hael fwriad
Ei fron wrth ei dirion dad:
On'd gorau, fy nhad geirwir,
I ti fwyn heini' fyw 'n hir,
Da gysur y' ngwlad Gosen,
Lawn o barch, i'th deulu 'n ben?
Duw Waredwr, Awdwr oes,
A ranno it' hir einioes:
Da i'w mysg fydd d' addysg di,
A diddan fydd dy weddi.
Siampl olau dy foesau fydd
Bennaf ger eu bron beunydd
Yn tywys dy blant diwair,
F' anwyl dad, i fyw 'n ol d' air.
Manwl bydd raid i minnau
Gyflawni 'r swydd fawrlwydd fau,
Fy nedwydd ddyledswydd lân,
Hynod drefn Naf ei hunan.
O'r saith flwyddyn newyn aeth
Dwy weithion, a daw waethwaeth
Bum-mlwydd anhylwydd o'u hol
O fawr ofid difrifol:
Ein hudol fyd anhydyn
Am bechu sy 'n haeddu hyn.
  Eb Israel hael a hoywlon,
Hyn hefyd fu 'mryd fy mron:
Cwbl-berffaith yw d' araith di,
Un enaid rodd Ion inni.
Duw 'th lwyddo, a'th gadwo 'n gu
Yn d' alwad, a'th gain deulu.
Cawn lân ymddiddan aml ddydd,
A gweled etto 'n gilydd.
  Y llywydd a'i dad llawen
Aethant i'r wlad wiwfad wên
Dirion, mewn cerbyd eurwaith,
I Gosen, diben ei daith.
Yr oedd ar ddarpar iddo
Lawnder o frasder y fro.
Ei deulu 'nghyd a alwodd,
Yn ol ei arferol fodd,
I aberthu 'n fwyngu fawl
Gweddus i'r Duw trag'wyddawl.
Gobaith bêr, hyder a hedd
Groyw iawn yn Nuw 'r gwirionedd
Yma lesol deimlasant,
Weision grasuslon y sant,
A chariad, perffeithiad ffydd,
O galon bur i'w gilydd.
  Rheolwr yr oreuwlad,
Ei frodyr difyr a'i dad
Seirian a lawn-gysurodd
A'i araith bêr wrth eu bodd.
A gwylaf barch o'r galon,
Hygar frawd, hwy ger ei fron
Ymgrymmant, bendithiant ef
Ganwaith, yn Enw Ior gwiwnef.

Yntef, dan Nef â'i da nawdd,
I'w wych alwad ddychwelawdd.
Hir fwynhâu dyddiau diddan
Ga'dd Israel, wr gloyw-ael glân,
Yng Ngosen, oleuwen wlad
Gadarn, dan nawdd Duw Geidwad.
I'w enaid ef yno daeth
Rhywiog lân drefn Rhagluniaeth;
A graddol ffordd Goreu-Dduw
Ystyriodd, addolodd Dduw.
Mynych at ei fab mwynwawr
Ei dad i'r ddinas fâd fawr
Dramwyodd, derbyniodd bur
Iachusol barch a chysur:
Mynych ae'i fab dymunol
A'i dad anwylfad yn ôl
Yn llawen i Gosen gu
I adweled ei deulu.
O gulwys wraidd y galon
Molant, mawrygant yr Ion.
Dduwiol wr, fe gafodd lawn
Fywioliaeth heb ofalawn:
Ond y mwyaf llawnaf lles
I'w fwynaf ddirgel fynwes,
Pefraf fawl ei fab hyfryd,
Lon dda bôr, lanwodd y byd.
Dan Dduw gwŷn y newyn wnaeth
Hylwydd ddaioni helaeth.
Ym mhen saith hirfaith o hyd
O ddrudfawr fiwyddau 'r adfyd
Y deuodd lluoedd daear,
Oedd wylltion, weithion yn wâr;
A'r liwgar ddaear a ddaeth
I gnydio yn gain odiaeth.
Yn enwog yn ei annedd,
Mewn di haint henaint a hedd,
Bu Israel, a'i fab hael pur,
Gu Ioseph, iddo 'n gysur.
Henaint difraw 'n ddistaw ddaeth
O ledol Israel odiaeth:
Nattur, heb na chur na chŵyn,
A ddiwreiddiodd wr addwyn!
Ei einioes oedd yn neshâu
I ryddid a mawr raddau;
Addfedodd i fwy odiaeth
Fuchedd, ei ddiwedd pan ddaeth;
E goeliodd yn ei galon
Addewid bur eglur Ion;
Fe wybu, mewn cryf obaith,
Mai hedd f'ai diwedd ei daith.
Hael anwyl Ior y loywnef
Ei enaid bendigaid ef
Oleuodd; canfu lawen
Ddisgleirbryd y Byd uwch ben;
A chadarn lu gwarcheidiawl
O feibion gwynnion y Gwawl
Oedd yno yn addwynion
I'w ddwyn ef i'r lwysnef lon,
O'i lydan ddedwydd loywdŷ,
At seintiau mawr-freintiau fry.
Pa ofid i'w fab hyfaeth!
Poen ddwys fu 'r newydd pan ddaeth
I'r enwog Ior eirianaf,
Fod ei dad glwysfad yn glaf.
Gyd â'i ddeufab arab aeth
Rheolwr y fro helaeth
I weled wyneb ei dad
Duwiol cyn ei 'madawiad.
I Israel, ei fab hael pur,
Fwyngu Ioseph, fu 'n gysur;
Pan glywodd ef ei lef lân,
Llawenodd ei holl anian.
Mewn hedd yn gorwedd yn gaeth
Ar wely ei farwolaeth,
Mewn ing, ac ym min angau,
Cysurion oedd ei fron frau;
Y gwiwdeg wr a godawdd
Yn siriol dan nefol nawdd:
Am yr Ion mawr eirianaf,
Holl-drugarawg nerthawg Naf,
Y soniodd, o'i lwys enaid,
Yn y geiriau gorau gaid.
Ad-ddychweliad mâd a mawr
Ei lawen hâd goleuwawr
I Ganaan dan nawdd gwiwnef,
Ragwelodd, ragdd'wedodd ef;
A ffrwythlon feibion ei fab
Hoff eirian, Ioseph arab,
Fendithiodd, a rhodd i'w rhan
Wledydd, a'r gyn-fraint lydan.
A chyn y dyfyn i'r daith
Na welid mo'no eilwaith,
Ei deulu 'nghyd a alwodd,
I'w mysg pur addysg a rodd.
Safant, wrth ei ddeisyfiad,
Lu têg, o gylch gwely 'u tad.
Ardderchawg y rhodd archiad
Iddynt hwy gyd-ddwyn â'u tad
Yn adrawdd gwir nawdd gair Naf,
Golau'r dyddiau diweddaf,
Prophwydoliaeth helaeth hir
Olynol a gyflawnir.
Ei feibion rhadlon yn rhwydd
Ystyriant mewn distawrwydd,
A'u distaw ddagrau 'n dystion
O lwyr brudd alar eu bron.
Cu fendith eu cyfiawndad
A gawsant, llwyddiant pen llâd:
Gwiw dd'wedodd ddigwyddiadau
Cywir, i bur hir barhâu,
I deulu 'i feibion dilyth,
A meibion ei feibion fyth.
Mawrion bethau 'n ddïau ddaeth
O'i dadol enaid odiaeth,
Mor gadarn mewn mawr gudab,
Am Juda ei fwya' fab.
Agwrdd lew anorchfygawl
Fydd Juda;—ei fawrdda fawl
Ei lon frodyr gwychion gânt
A gu haeddawl gyhoeddant;

O'i flaen syrth ei fileinwawr
Greulon elynion i lawr.
Nid â'r wên deyrnwialen wych
O'i law, fy mab goleuwych,
Yng Nghanaan, hyfrydlan fro,
Sylwer, hyd na ddêl SILO:
Dyna 'r Hedd a'r Mawredd maith,
Goreu-Bôr, a'r gwir Obaith:
Cenhedloedd, holl bobloedd byd
A ddeuant atto 'n ddiwyd.
Golygodd ei dad gloywgoeth
Ar y llywydd dedwydd doeth:
Hoff udd! mae Ioseph addien
Mal deiliawg a brigawg bren
O îr-lawn dwf ar làn dôl
Afonydd mewn gwerdd faenol,
A'i gangau 'n llawn ffrwythau ffraw
A pheraidd yn hoff ŵyraw.
Y saethyddiawn chwerwlawn chwant,
'Sywaeth, Ioseph saethasant:
Elynion Tad y loywnef,
On'd tost y casasant ef!
Ond Duw Israel, (pa fael fwy?)
Gun nerthawg, fu 'n gynnorthwy
Rhag braw, ei ddwylaw ddaliodd,
Nerth clau 'n ei freichiau fe rodd.
Bugail Israel i hael hedd
Dywys Ioseph o'r diwedd.
Duw 'th dad a'th fendithia di;
Bendithion cu-lon Celi,
Mal aneirif rif yr ôd,
O'r iachus awyr uchod,
A'r isod ddaear oesawl,
A feddienni di 'n ddi dawl:
Dy hâd, drwy'u gwlad, drwy'r gwledydd,
Nerthawl annifeiriawl fydd.
Ffyddlon fendithion dy dad
Ragorodd, drwy wir gariad,
Ar rif a maint, braint a bri
Rhai hynod, fy rhieni,
Hyd frynniau golau gwiwlwys
Meithdeb trag'wyddoldeb ddwys;
Gorphwysant, byddant ar ben
Ffyddiawg hâd Ioseph addien,
Dan Nef neillduwyd yn ŵr,
Brydiau, oddiwrth eu brodyr:
Drwy fendith y' mhlith fy mhlant,
Hwy wych hylwydd ddychwelant.
Wedi iddo fendithio 'n dêg
Ei ddiddan feibion ddeuddeg,
Rhodd orchymmyn dichlyn doeth
I'w gladdu, wr goleuddoeth,
Yng Nghanaan, yn ei lân wlad
Wych rywiog o'r dechreuad:
Arwydd dychwelai 'i ŵyrion,
Drwy Dduw Dad, i'r un wlad lon.
Ei fawr Ior, Duw y Nef fry,
Folawdd ar ei glaf-wely;
Ac iddaw 'n hunaw mewn hedd
Agorwyd porth trugaredd.
Ar wyneb mwyn eirianwawr
Ei dad anwylfad yn awr
Ioseph syrthiodd o wiwserch;
Wylodd, cusanodd o serch.
Gorchymmyn dichlyn ei dad
A lanwaith ga'dd gyflawniad.
Drwy drefydd a gwledydd glân
Ydd aeth prudd newydd weithian:
Rhyfedd fu 'r galar hefyd
Drwy 'r deyrnas geinlas i gyd;
Oer loes! hir arwylasant
Israel oedd was hael y SANT.
Dyna ddiwedd y doniawl
Batriarch mewn mawrbarch a mawl.
Ar ol profi hir alaeth,
Hir galedi, cyni caeth,
Ca'dd hir ddyddiau fwynhâu hedd,
A llon farw 'n llawn o fawredd.

# Y SEITHFED RAN.

RHAG llid y gwelid y gwŷr,
Yr euawg fradawg frodyr,
Yn awr mewn ofnau irad
Ar ol eu hodiaethol dad:
Llewyg, rhag ofn y llywydd,
Iasau dan eu 'sennau sydd.
Weithion cydwybod waeth-waeth
Gyffrôdd, a ddeffrôdd yn ffraeth:
Ni's geill euawg ddiflawg ddyn
Ochelyd rhag ei cholyn;
Hagr alwodd wŷr rhy greulon
Yn ddidaw, mewn braw, ger bron;
Delwant rhag pwys ei dialedd,
Trymhâu mae gwaeau 'n eu gwedd.
Y gwŷr gau, mewn gwaeau gânt,
Gysson ddychymmygasant
Bêr araith, mewn bŷr eiriau,
Fuddiol hud, i feddalhâu
Calon eu brawd têg hylwydd,
Heb feiddio etto i'w ŵydd.

Dydd o g'wilydd a galar
Yw hwn fyth am eu hen fâr.
Ystyried eu gweithred gynt,
Anoddef yw hyn iddynt.
Daethant y' nghyd un dwthwn
Yn yr hagr gyfyngder hwn;
Hwy ddwys ufudd ddeisyfant
Ar enwog wr,' un o gânt,
Cyfaill rhydd lywydd y wlad,
Dd'weyd a archodd ei wiwdad
Wrth ei fab, mewn araith fwyn,
I wareiddio 'r Ior addwyn:
Ac yntef aeth, wiwffraeth wr
A diddan gymmrodeddwr,
At y llywydd celfydd eu,
Eu brawd, oedd yn bwriadu
Yn hynaws iawn eu hannerch
A mawrion gysuron serch.

D'wedodd eu cyfaill didwyll
Yn araf, mewn puraf pwyll,
F' arglwydd, boed it' rwydd roddi
Gwrandawiad mwynfad i mi.

Ebe 'r llywydd dedwydd da,
Dy holl fwriad llafara.

Garedig wr gwir odiaeth,
Dan ymgrymmu nesu wnaeth:—
Geiriau dy dad rhagorawl
I ti 'n rhwydd, f' arglwydd pur fawl,
Adroddaf, a'i daer weddi,
O'i enaid hael, arnat ti;
Ei fâd ddeisyfiad o'i serch
Yn dyner iawn i d' annerch;
Gorchymmyn dichlyn dy dad
Duwiol cyn eu 'madawiad:
Dy frodyr, ni fu wŷr waeth,
A lunient gudd elyniaeth,
A ddygent, drwy eiddigedd,
Dy fywyd o'r byd i'r bedd;
Maddau eu beiau mawr bwys
O'th galon, mae'n waith gwiwlwys;
Maddau, er mwyn d' addwyn dad,
Maddau ddu-gas ymddygiad
Gweision y tirion Dduw tau,
A didwyll Dduw dy dadau.
Doeth wyt, fy mendith itti,
Gwr têg maddeugar wyt ti.
Dyna, o'i fron radlon rwydd,
Ddymuniad dy dad dedwydd.

Gwridiodd eu brawd gwâr odiaeth,
Pan glybu, tyneru wnaeth,
Ac wylodd ddeigr o'i galon;—
Ai rhaid mawr ammhau 'r awr hon
Fy nghariad at fy ngheraint,
Beunydd na fydd e 'r un faint?
Ar ol byw 'n gyfryw â gwŷr
Brawdol, pa ham i'm brodyr
Glân iawn byth wan-galonni?
On'd tost na'm hadwaenant i!
Parod wyf, er mwyn pur dad,
Mewn gwiredd a mwyn gariad,
Ufuddol wyf i faddau,
Drwy gu a rhwydd drugarhâu.

Y brodyr, mewn bèr adeg,
At y muner tyner têg,
Yn unawl i'w fwyn annerch
Brysurant, syrthiant drwy serch
Ger ei fron:—Dy weision di,
Ein Ior hael, i'n rheoli,
Dy ffyddlon weision yn wir,
Ein gwiwlwys Ior, i'n gelwir;
Deiliaid it', arglwydd dilyth,
A'th weision ufuddion fyth.

Eu mwynaf anwylaf nawdd,
Eu cudeg frawd a'u codawdd;
Tirionodd hwynt ar unwaith
A serchus gysurus iaith:
Yr udd mwyn rodd i'w mynwes
Sicrwydd o bob llwydd a lles;—
Fy mrodyr pybyr eu pwyll,
Dywedaf eiriau didwyll,
A dïau rhowch wrandawiad
Gwiw a llawn er eich gwellhâd.
Chwi 'n ddi wâd, mewn brâd a broch,
A nawswyllt amcanasoch
Yn ffol ddrwg marwol i mi;
Culwydd a drefnodd Celi,
Ein Ior, yn ei dymmor da,
Hael lwyddiant i hil Adda.
Fy ngwarth, fy ing, fy ngwerthu,
I'r byd yn fywyd a fu;
Y dirfawr Dduw diderfyn,
Fy Nawdd hael, a drefnodd hyn.
Haeddawl ia' gofiaw heddyw,
A chofiom tra byddom byw,
Er mor dywell dichell dyn
Gwaelaidd, er rhuthrau 'r Gelyn,
Er rhwystrau, poenau, penyd,
Er hyn, gwn, drwy 'r rhai 'n i gyd,
Amcanion mawrion Duw mâd
Ddeuent i ben yn ddi-wâd.
O lygredd tardd camwedd cas,
Iddo trefnwyd barn addas;
A phur iawn gydwybod ffraeth,
Drwy ddistawrwydd ystyriaeth,
A gyfyd mewn trymfryd trwch
Adferol edifeirwch;
Hir rydid fwynhêir wed'yn,
A hedd dêg at Dduw a dyn.
Medd ein profiad, teimlad da,
Gwir iawn yw 'r geiriau yna.
Wedi rhedfa hir adfyd
Y mae hedd rhyngom o hyd.

Drwyddynt ei ymadroddiawn,
Dêg wr, fu 'n garedig iawn.
Dan bêr anwylder ei nawdd,
Oleuddoeth Ior, fe wleddawdd
Ei frodyr o'i fawr radau,
Gwledd bair i hedd hir barhâu:
Cyd-wledd oedd sicrwydd hedd hir
O gariad rhwng rhai geirwir.

Cwynfan, fy mrodyr ceinfad,
Ar ol ein duwiol iawn dad
Ni wna les: yn unol iawn
Y cofiom gwblhâu cyfiawn
Addysg a siampl rinweddawl
Ein tad; i'n Duw rhown fâd fawl.
I'n mysg yr addysg a roes
Ein hynaif yn eu heinioes,
Dan rwymau'r ŷm ninnau'n awr
Roddi i'n plant gwareiddwawr
Yr hyddoeth unrhyw addysg,
A rhwydd daw mawrlwydd i'w mysg.
Y Ragluniaeth helaeth hon,
O ddinystr noddawdd ddynion,
Sy 'n arwydd i'r synwyrol,
Rhag ffrawdd, fod mwy nawdd yn ôl
I'w roddi etto 'n raddawl,
Mawrion fendithion heb dawl.
Naf erfawr y Nef eurfad!
Ymostyngi Di, Oh Dad,
I weled llu'r Nef wiwlon,
A rhoi hedd i'r ddaear hon.
Duw anwyl, byth boed inni
Fod dan d' ofal dyfal Di.
Distaw chwilliaw a cha'lyn,
Gwau bydd myfyrdodau dyn
Yn fanwl yn ei fynwes
Y' nghylch gwawl a didawl dês
Yr helaeth awyr heulwawr,
A rhodau 'r nef olau fawr.
Dangos mae y nos i ni
Fydoedd dros bob rhifedi.
Mawl i'r Trag'wyddawl!—â gair
Addasglod y nef ddisglair
A wnaeth; mae cynhaliaeth hon
Beunydd ar Dduw, heb uno'n.
Rhyfedd i'r Naf doethaf da,
Rhyfedd i'r mawr Iehofa
(Dirfawr gariad di-derfyn,
Di dawl) ymweled â dyn;
Mor reidiol yw, fy mrodyr,
I ni ragori fal gwŷr
Gweddus, ym mhob gwiw addysg,
A Duw 'n Tad, Ion mâd, i'n mysg.
Rhinweddol, rheidiol barhâu,
A santaidd megis yntau.
Yn bennaf o'n blaen beunydd
Ein tadau yn siamplau sydd.
Hynaws, fy mrodyr heini',
Rhowch wrandawiad mâd i mi.
Eb Juda, F' addfwynaf Ior,
Dy reswm sydd dda drysor;
Yn wir, fy arglwydd tiriawn,
Yn ddïau d' eiriau wrandâwn.
A golwg dêg, o'i galon
Lawn ffydd, eb y llywydd llon;
Gan i Ion pob gogoniant,
Drag'wyddawl orseddawl Sant,
Ddewis Abraham dduwiol,
Drwy ras, a'i hâd ar ei ôl,
A'n tad wneud cyfammod hedd,
Drwy gu eirian drugaredd,
Dïammau effeithiau ffydd
Gannaid gânt ddirfawr gynnydd;
O'i waith helaeth, ni wnaeth Nêr
Y Nefoedd ddim yn ofer.
Goruchel, dirgel a da
Yw hyfawl ffyrdd Iehofa;
Ei dda arfaeth ni dderfydd,
Ond dyn fel glaswelltyn sydd.
O Adda i hâd Adda daeth
Du agwrdd lygredigaeth:
Digrefydd beunydd yw 'r byd,
Heb awydd am gael bywyd,
Ond gorwedd mewn camwedd caeth,
Enbydus anwybodaeth!
Y Naf sydd uwch na 'r Nefoedd
Ei berffaith geinwaith ar g'oedd
A wêl, tra mae 'r dirgel Dad,
Fyw Nawdd, yng nghyfanneddiad
Anfeidrol Drag'wyddoldeb,
Fe 'n wir ni welir gan neb:
A thradoeth mae 'n gweithredu,
Fawr Ior, yn ol cyngor cu
Ei dêg 'wyllys, da gallaf
Ymddiried yn nodded Naf,
O Abra'm, mewn goreubryd,
O'n plith daw bendith i'r byd:
Ys hyrwydd fe 'i prysura,
Dduw doeth, mewn amseroedd da.
Nid aethai 'r fath fendithiawn
Tramawr drwy 'r un ddoethfawr ddawn
I galon dêg ein glân Dad,
Gwyddom, ond drwy ddadguddiad.
Gan i Naf, oruchaf Rên,
Egluraw, o'i Nef glaerwen,
I'n Tad, ei wirfad arfaeth
I ddwyn dyn o gadwyn gaeth
Llygredd a phob hyll hagrwaith,
Mor bêr dylai 'r mwynder maith
O gau fyd adgyfodi
Serchiadau 'n heneidiau ni;
A llenwi ein holl anian
A chariad goleufad glân.
Pa hynod ryfeddod fwy
O 'mrodyr cymmeradwy,
Na 'r Trag'wyddawl, nefawl Nêr,
Wych Hael-Dad, o'r Uchelder
Ddanfon yn weision i ni
Gu lân Engyl Goleuni!
Gwyliant i'n dïogelu,
A'n llwyddaw, ar bob llaw 'n llu.
Daear a Nef dirion iawn,
Ufuddol, drwy 'r fath foddiawn
Dwyfawl ordeiniodd Dofydd,
Yn cu ymgysylltu sydd.
Rhyfedd anrhydedd i'n rhan
A roes Ior o'i ras eirian;
Llwyr unodd ni â llu 'r wiwnef,
I gyd-weithredu ag Ef.

Mae hedd, mae gorfoledd fawr
I'r enaid yn yr unawr
Y teimlir yn wir fod Naf,
Yr unig Farnwr iawnaf,
Yn cyfri 'n gwaith, i'w faith fawl,
Wir Bennaeth, yn dderbyniawl:
Gwelir rhyngom â'n gilydd
Heddwch, dedwyddwch bob dydd,
Ac iawnferth ddeisyf gwynfyd
I luoedd pob oesoedd byd.
Fy mrodyr difyr eu dawn,
Cofiwch ein tadau cyfiawn,
A'r addysg ddwys oreuddoeth
Gawsom gynt ganddynt mor goeth;
Rhoddwn yr unrhyw addysg
I'n plant, fal meddiant i'w mysg;
Heb uno 'n, i'n plith beunydd
Duw 'n tadau ei radau rydd.
Hyfrydol oedd i'w frodyr
Ei eiriau golau; y gwŷr
A garant, barchant yn bêr
Eu dawnus frawd bron-dyner.
Drwy uno 'n frodyr anwyl
I gyd mewn hyfryd iawn hwyl
Yn gôr, drwy ffyddlawn gariad,
Addolant, molant Dduw mâd.
A gwên lawen, gain lywydd,
Ac â chalon rasion rydd,
Cofleidiodd, gwasgodd yn gu
Ei frodyr, gan hyfrydu.
Cawsant ganddo bob cysur,
A'u cyfarch â phob parch pur:
Hwythau i'w hanneddau 'n ôl,
Tan wenu, ânt yn unol.
Dan nawdd rhydd lywydd y wlad
Ei deulu diddidoliad
A lïosawg hiliasant,
Yn fawr lu 'n foreuol ânt.
Y brodyr, amryw brydiau,
Pur hir y bu hynny 'n parhâu,
Eu gruddiau mewn deigr oeddynt
Wrth son am hen gofion gynt.
Ar ol ein hanferthol fâr,
Ein camwedd heb un cymmar,
Er bod awdurdod bob dydd
Yn ei law, anwyl lywydd,
Ein tawel fwyn frawd diwair
Ni rodd wg, golwg, na gair
O gerydd, ond gwir gariad
I ni, a phob mawrfri mâd.
Un tra doeth, holl nattur dyn
Yn odiaeth iawn a edwyn:
Gŵyr fod cydwybod bob dydd
Ac awr i ni 'n ddu gerydd:
Gŵyr fod ein ceudod, fal Cain,
I'n hynod gospi 'n hunain.
Ond yn awr gan i'n Duw ni
Ddwyn y cyfryw ddaioni
O'n drygau, ninnau a wnawn
Gofio ei garu 'n gyfiawn:

Ni wnawn byth, drwy ennyn bâr,
Mwy ddigio 'n brawd maddeugar.
I'r cenhedloedd, pobloedd pell,
Drwy barthau'r dëau dïell,
A'r dwyrain, wlad gain i gyd,
Lon iawnfraint, yn lân unfryd,
Aml son, o ddwyfron ddi ddig,
Am Ioseph oedd fel miwsig
Hynodawl i'w heneidiau,
Gwiw a hoff oedd ei goffâu.
Tadau wrth eu byrddau 'n bêr,
I'w dawnus blant a dyner
Adroddynt helynt eu hoes,
A'r gwr trugarawg eirioes
Mewn odfa trwm iawn adfyd
Waredodd, a faethodd fyd.
O ei wên hoff lawen fflwch!
Têr wyneb llawn tirionwch!
Eu plant, pan glywsant hwy glod
A rhinwedd yr Ior hynod,
Hiraethant na welant wedd
Y gwron llawn trugaredd.
Gan mor lon eu meibion mâd
Yn diwael roi gwrandawiad,
Eu tadau, gan fwynhâu hyn,
Adroddant, o'i fâd wreiddyn,
Wir hanes yr Ior hynod
Grasawl, a'i ryglyddawl glod:
Addefant fod ei glod glau
O gyrraedd grym pob geiriau.
Drwyddaw pa fodd adroddwn
Fawredd y rhyfedd Ior hwn?
Ar ddaear pa gymmar gwych
I'r hylwydd funer haelwych?
Ei ddoniau, yn ddiweniaith,
Mawrion ŷnt uwch meriawn iaith.
Gwelir ef, y' mhob galwad,
Yn gyfiawn, ac yn llawn llâd;
Yn rasawl ufuddawl fab,
A thirion frawd doeth arab;
Rhywiog wr i'w wraig eirian,
Hael dad i'w blant glwysfad glân;
Gwas ffyddlawn, llywydd llawn lles,
Pêr funer pur ei fynwes.
Rhodd gyfraith berffaith i'r byd
A hyfawl siamplau hefyd:
Dan berffaith gyfraith dêg iawn
Ei ddeiliaid ufuddoliawn
Beunydd yn ddedwydd ydynt,
Ym mhob swydd mewn hylwydd hynt
Gwr mwyn â gwir amynedd,
A gwr yw hwn a gâr hedd.
Yn unawl yn ei enaid
Pob dawn yn gyflawn a gaid.
Ni anwyd ef, hynod Ior,
I un genedl yn gynnor;
Ei lywodraeth ddiledryw,
A'i gariad, pob gwlad a glyw;
Udd hyfawl haeddai hefyd
Lwyr barch, a rheoli 'r byd.

Goleuddysg i hil Adda
Fe roes trwy dduwiol foes dda:
Os pêr i lawer mawr lu
Yn weinion ar newynu
Yw bara, y mae 'n berach
Athrawiaeth bur eglur iach:
O gu radau 'r gwr odiaeth
Pob un o'r ddau 'n ddïau ddaeth.

Sarrug gynt fu 'r amseroedd,
A therfysglyd enbyd oedd
Yr holl fyd dan waedlyd wŷr
Dewrion a elwid arwyr.
Fraw dwys, rhoi trefi ar dân
Yn llidiog drwy 'r byd llydan;
Rhuthro, caethgludo gwledydd
Oedd eu gwaith diffaith bob dydd.
Ffol lu o wragedd a phlant
A ganai wag ogoniant
I'r agwrdd chwyrn loerigiawn,
Mawrygant eu llwyddiant llawn.
Wrth son am eirwon arwyr,
Ffyrnig felldigedig wŷr,
Gohilion dynion dinerth
A dyngent, gablent yn gerth
Gan falchder, digter di dawl
Yn iasiau o dân ysawl.
Gwydlawn genhedloedd gwaedlyd
Oedd wedi gwalligofi i gyd.
Caeth-reolwyr cythreulig,
Llawn gwŷn, heb derfyn i'w dig,
Dêl iddynt oll dâl addas
Am eu twrf a'u cynnwrf cas;
Na henwer byth hwy unwaith,
Lofruddion gwylltion, na'u gwaith.
Trown at wr tra natturiawl,
Udd yw fe a haeddai fawl:
Ni welwn, i ddynoliaeth
Yn wir anrhydedd a wnaeth.
Llwyr dduwiol oll yw 'r ddaear
Pan ddaeth dan lywodraeth wâr
Y noddwr mawr mwyneiddiaf,
Daeth dynion yn weision Naf.
Addurnaw, pereiddiaw 'r oes
O'i gofid mae pob gwiwfoes.
Celfyddydau golau gânt
A dawel dêg-flodeuant,
Dan Ioseph, drwy 'r dinasoedd,
A thrwy 'r byd i gyd ar g'oedd.
Yn ddilyth boed fyth hyd fedd
I'w bêr enw a'i bur rinwedd
A gwâr heddwch gyrhaeddyd
Cenhedloedd pob oesoedd byd.

Hyn, a mwy na hyn, mewn hedd
Eirianaf a gwirionedd
A dd'wedynt am udd odiaeth
Roes addysg i'w mysg a maeth.

Gu flaenawr, pan gyflawnodd
Waith ei Naf, mewn mwynaf modd,
Wr glân, yn nhrefn Rhagluniaeth,
Mewn hedd ei ddiwedd a ddaeth:
Dan dyner law Nêr, hael Nawdd,
I dda Fyd fe addfedawdd.
Ddarllenydd, gwybydd a gwel,
A dewis dithau dawel
Ymadawiad ceinfad cu
Y gwr oedd Duw 'n ei garu;
Dïau ei ymadawiad
Fu 'n ddydd da i deulu 'i dad;
Gan filoedd, gwn, fe welir
Yn ddydd annedwydd yn wir.

Pa alar dwys, pa wylaw?
Pa gystudd llwyr brudd a braw?
Ubain drwy lydain wledydd!
Tristân hyd angau mae 'r dydd:
Oh alarwisg haul eurwawr!
Mae 'n brudd dan orchudd yn awr.
Cwynaw y mae pob cenedl
Wrth glywed chwerwed y chwedl:
Mae ein noddwr mwyneiddiaf,
Gwae 'r byd, o'i glefyd yn glaf!
Yr hwn i bawb fu 'n rhannu
Sydd dan bwys dwys angau du:
Ioseph anrhydeddusawl,
Hir y rhyfeddir ei fawl.
Ior anwyl, dod hir einioes,
Oh Dduw gwŷn, estyn ei oes!

Yn Awdwr annewidiawl
Pob rhadau, doniau di dawl,
A'i ddedwydd addewidiawn,
Mae ffydd y llywydd yn llawn;
Ar Dduw Ior, mawr Bôr y byd,
Efe rodd bwys ei fywyd;
Rhodd bwys ei gulwys galon,
Yn awr ing, ar ei Nêr Ion.

Ei frodyr, ar fèr adeg,
Pennaeth cu pob teulu têg,
O'r wlad, ddaeth i araul lys
Y duwiolaf wr dilys.
Mawr alar, brawdol gariad,
Parch tyner a mwynder mâd,
Welid yn eu gwedd wiwlwys,
Dan fyfyriaw 'n ddistaw ddwys.
Gweled eu brawd hael-galon
A'i nefawl hyfrydawl fron
Mewn awr brudd, mewn cystudd caeth,
Ar wely ei farwolaeth,
Barodd i genllif berwawg
Dywallt yn ddeigr hallt y rhawg.
Mawr gyni colli pob cêd!
Golwg lwyr brudd oedd gweled
Marwol ing yn cymmeryd
Ymaith eu gobaith i gyd!

Y gwr addwyn gwareiddwawr
A'i nerth ymgodawdd yn awr,
O'i ddeutu dan wenu 'n ŵyl
Ar wyneb ei rai anwyl.
Ei hael ddwylaw a ddaliawdd
Ar led, anwyled ei nawdd!
Rhodd fendith i'w plith, da 'u plaid,
A thyner iaith ei enaid:—

Na wylwch, fy anwylion,
Fy Nuw hael sy 'n y fan hon.
Myned yr wyf, o'm annedd,
At fy nhadau 'i fwynhâu hedd,
Yn awr at y Duw mawr mau,
Da 'i wych waith, a'ch Duw chwithau.
Yr un Duw rydd wrandawiad
I'ch taer weddi chwi a'ch hâd
Ag y sydd yn agoshâu,
Ion anwyl, i'm dwyn innau
I'w wèn wlad anweledig,
Iawn drefn byth yno a drig.
Cofiwch am ein tad cyfiawn,
Am Abra'm ddinam ei ddawn;
Dedwydd fu 'r diwrnod odiaeth
A Duw mewn cyfammod aeth;
Gwiwfawr ddiwrnod i'w gofio
Yn dragywydd fydd y fo.
Y tywyllwch dyfndrwch du
Oedd chwerw iawn i'w ddychrynu,
Oedd drom arwydd aflwydd yn'
A galar dan iau gelyn,
Gorthrymder lawer ar led
A thywyll dost gaethiwed.
I gynnal gobaith geinwych
Rhag marw dan arw a du nych,
Gan Ior y caeth dymmor dig
Nodwyd yn derfynedig:
Dewrion ânt i'w gwlad eirioes,
Drwy Dduw, 'n y bedwaredd oes:
I Ganaan, ein gwlad geinwawr,
Yr â 'n plant mewn mwyniant mawr.
O herwydd mawr ddihirwch
Ein nattur dra ammhur drwch
Y mae cystudd yn fuddiol
At Geli i'n dwyn ni 'n ôl.
Pair ein Ior ein puraw ni,
Drwyddom, o'n holl fudreddi;
A Duw 'n Pôr, wedi 'n puraw,
A'n dwg i'w fâd wlad â'i law,
I Ganaan mewn gogoniant;
Rhydd fendith i'n plith a'n plant.
Pur deilwng ein Pôr dilyth
Fawrygir, a folir fyth.
Pan ddêl dydd yr ymweliad,
Ddydd têg addawodd y Tad,
Ac ar frys dilys y daw,
I'ch gwiw wlad cofiwch gludaw
F' esgyrn innau;—lladau llon
Fwyn weloch fyth, f' anwylion.
Ei ddwylaw, wr gweddolwawr,
Blethodd ef; i Nef yn awr
Golygodd; d'wedodd, Oh Dad!
Fawr Funer, clyw f' erfyniad!
Buost, pan oedd dost y dydd,
Dduw Ion, i mi 'n Ddiddanydd:
Fy un Tad, fy Naw wyt Ti,
A diau ni 'm gadewi;
I'm enaid, mi ddymunaf,
Bydd dyner, fy Nêr, fy Naf.
Fe welid gwir orfoledd
Ddistaw 'n newidiaw ei wedd.
O Hedd ar adanedd daeth
Gwynnion genhadon odiaeth:
Hylon oedd eu deheulef
Ym mherffaith anwyliaith Nef;—
Y gwr cu, darfu d' yrfa!
Ti, wr Duw, haeddaist air da;
Ymddattod! mae hedd itti,
A ffawd, ein hanwylfrawd ni!
Ei galon glyw 'r ddirgeliaith;
O 'r nefol ddedwyddol daith!
Ei enaid aeth yn union,
Dan wenu, at y llu llon.
Oerlef sydd drwy 'r ddaearlawr,
A llawen yw 'r Nef wèn fawr.
Oddiar wybrennydd eirian
Mae ceinfad oleuwlad lân;
Is law 'r Nef wèn, ysplennydd
Orseddau y seintiau sydd.
Wedi alaeth y dulawr,
Eistedd, mewn gorfoledd fawr,
Geinion luoedd Gogoniant,
Yn ol eu rhinwedd a wnant.
Wr dawnus, ar adanedd,
Fe aeth i Fyd hyfryd Hedd.
Pan ddêl gwr uchel o ryw
I'w oedran, gwŷr diledryw
O fawrddysg ddeuant fyrddiwn
I eurwawr lys rhoddfawr hwn.
Mewn llwyni gerddi gwyrddiawn
Y bonedd a gânt wledd lawn.
Fe welir, mewn gorfoledd,
Yn tywynnu 'n gu eu gwedd,
Lampau ar gangau y gwŷdd,
Ail i ser, ar las irwŷdd;
I'w plith clywir yn plethu
Gerddorion, felyslon lu:
Fe welir yn nef wiwlan
Y lleuad oleufad lân,
A ser mewn anfesurawl
Bellder, ac amlder eu gwawl,
Lampau glân nef eirian fawr
Ennynnwyd oll mewn unawr;
T'w'nnant, goleuant bob gwlad,
Hyd fore 'r mawr adferiad.
Fel mae 'r wèn ffurfafen fawr,
Di weli, 'n fwy na 'r dulawr
A'i hynod rwysg brenhinawl,
Felly mâd geinwlad y Gwawl,
Paradwys yr ysprydion,
Ragora 'r gaer harddglaer hon.
Llon wlad yn llawn o loywder
Heb huan seirian na ser.
Tywynniad eglurfad glân
O Lys Ior, yn lwys eirian,
Belydra, oleua 'r wlad
Lon gywrain, lawn o gariad.
Yn y lon iawn oleunef,
Yn hyfryd ei yspryd ef

Ei fwynwedd drodd i fynu
I ganfod (rhyfeddod fu!)
Helaeth, uchel a heulwawr
Gynteddau'r Nef olau fawr:
Angylion gwynnion gannoedd
Yn amlwg i'w olwg oedd,
Haelionus lu'r oleunef,
Seraphiaid, pennaethiaid Nef,
Dorf siriol felysol iawn,
Aneirif delynoriawn!
O gaerau y Nef gywrain
Hedant, disgynnant yn gain.
Gwenodd meibion Gogoniant,
A gwir serch, ar y gwâr sant:
Laned, medd plant goleunef,
Wynned yw ei enaid ef!
Croesaw ein câr mwynwar mâd
I geurydd nefawl Gariad!
Y gwr mawr ei drugaredd,
Croesaw i Fyd hyfryd Hedd.
  Ei lu yr Ion oleuodd
I wel'd ei waith, maith fu'r modd:
Duw Yspryd goleubryd glân
Wawriodd ynddynt yn eirian.
Filiynau hwy foliannant,
Telynu a nablu wnant.
Ysprydion cyfion fil cànt
Lïosawg gyd-eiliasant.
Raphael, Seraph hael seirian,
Oedd Flaenor y gloyw-gor glân.
Iawngoeth oedd eu hawengerdd,
A hon oedd y gysson gerdd:—
Moler y mawr Nêr a wnaeth
Gaer dêg y Greadigaeth,
Yr haul glân a'r seirian ser,
A'r nefoedd â'u mawr nifer:
E dd'wettodd,—ac o'r ddeutu
Myrddiynoedd o fydoedd fu!
Galwodd Ion i'r golau ddydd
Ddynion o ddiddym ddeunydd;
Ymwêl â hwynt i'w hamlhâu
A graddol drugareddau.
Didolodd Duw o'i deulu,
Ac o'i wlad, wr ceinfad cu,
Gan addo mawr gynnyddiad
I Abraham a'i bur hâd.
Y dêg addewid wiwgerth
Gyflawnir, yn wir, mewn nerth.
I Ganaan lon etto'n ôl
E ddaw y genedl dduwiol:
Cyfryngwr a deddfwr da
Eirianwedd a'u harweinia.
Yr eigion mawr a egyr,
Trwyddo, heb gyffro, â'r gwŷr:
A'u bolwynawg elynion
Dan nerthoedd dyfroedd y dòn.
Ym mhob tir y clywir clod
Y ddewrfawr dorf ddïorfod,
Dychryn i bob gelyn gau
A gwewyr fydd a gwaeau.
Fe ddwg Ion, er troion trwch,
'I anwyliaid drwy'r anialwch,
I Ganaan, gwlad y gwinwŷdd,
Helaeth etifeddiaeth fydd.
Gwiwfawr frenin a gyfyd
O fugail, heb ail drwy'r byd;
E bryda fwyn barod fawl
Yn ufudd i Dduw nefawl.
Ar ei eursail glaer orsedd
Daw Iesu cu D'wysog Hedd,
O'i Ogoniant, Ion gwiwnef,
I lawr, Dduw noddfawr, o Nef:
Fe ddaw o'r Nef i'r ddaear,
Ysprydawl drag'wyddawl Gâr:
Fe gyfyd oleubryd lu
O ddynion i feddiannu
Gorseddau golau bu gynt
Deyrnawl Gerubiaid arnynt.
Dan fâd arweiniad yr Ion
Dygir y gwaredigion,
Fyrddiynau drwy barthau'r byd,
I lonfawr nefawl Wynfyd;
I Ganaan y Gogoniant
D'od o nerth i nerth a wnant.
Duw'n Tad, a'n Llywydd mâd mawr,
Nefawl Ion, gadarn Flaenawr,
Uchel wyd, anchwiliadwy,
Dy ffyrdd sydd gan' myrdd, a mwy!
Pa fawl attebawl i Ti
A luniwn, Dad Goleuni!
Am râd gariad rhagorawl
Gweddus a melus yw mawl.
  Dyrchafu, dan ganu'n gain,
I Lys Ior wnai'r côr cywrain;
Croyw nifer, ae'r côr nefol
I Nef y nefoedd yn ôl.
Eu mawl rhagorawl ar g'oedd
Aeth hefyd i'r eithafoedd.
Ysprydion gwiwlon i gyd
Y cyfiawn accw hefyd,
Lu eirian, drwy'r loyw orawr,
A ddyblant y moliant mawr.

# Y MIL BLYNYDDAU,

SEF

# Y SEITHFED FIL:

## Sabbath Cyffredinol yr holl Ddaear.

---

Yr hwn a wrandawo, gwrandawed; a'r hwn a beidio, peidied.
EZECIEL iii. 27.

Then the Earth
Shall all be Paradise, far happier place
Than *that* of Eden, and far happier days.
MILTON.

Pan fo 'r Côr yn clodfori,
Cydlef llu Nef oll â ni,
Ac atteb Cân yn gyttun,
Daear a Nef a dry 'n un.
GORONWY OWEN.

## AT Y PARCH. THOMAS JONES,

O SIR NORTHAMPTON.

FY NGHYFAILL,—Yr wyf yn cymmeryd y rhydd-did i gyflwyno hyn o lyfryn bychan i chwi. Er eich bod yn gwladychu er ys llawer o flynyddau yn mro Sais, etto chwi a ddangosasoch lawer o garedigrwydd a ffyddlondeb i Gymru oerlom, ac i minnau hefyd. Mi a ddymunwn, tra byddo i'm gwaith i barhâu, fod ein henwau ni yn anwahanol. Tangnefedd Duw i chwi yn y byd hwn, a thragywyddol orphwysfa i'ch enaid yn byd a ddaw. Hyn yw difrifol ddymuniad eich hen gyfaill ffyddlon,

DAFYDD IONAWR.

# Y RHAGYMADRODD.

---

Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ronyn o hâd mwstard, yr hwn a gymmerodd dyn, ac a'i hauodd yn ei faes. Yr hwn yn wir sydd leiaf o'r holl hadau; ond wedi iddo dyfu, mwyaf un o'r llysiau ydyw, ac y mae efe yn myned yn bren; fel y mae adar y nef yn dyfod, ac yn nythu yn ei gangau ef.—MATTHEW xiii. 31, 32.

MEGIS mai at yr annysgedig yn fwyaf pennodol yr wyf yn cyfeirio fy ymadrodd, mae yn angenrheidiol dywedyd i'r cyfryw fod *teyrnas nefoedd* yn y ddammeg hon o eiddo ein Hiachawdwr yn arwyddoccâu yr Eglwys Gristionogol yn gyffredinol hyd wyneb yr holl ddaear ym mhob gwlad ac oes. Yr addewid mai *Hâd* y wraig ysigai ben y sarph (Gen. iii. 15,) yw dechreuad neu wreiddyn y grefydd Gristionogol. Ni a allwn ystyried yr *addewid* hon megis y "*gronyn o hâd* mwstard" yn y ddammeg uchod. Yr oedd Eglwys Dduw er cwymp Addaf hyd alwedigaeth Abraham, dros yspaid dwy fil o flynyddau, yn gynnwysedig naill ai mewn teuluoedd unigol neu gymmanfäoedd bychain a gwasgaredig hyd wyneb y ddaear. Nid oedd yr un *genedl* bennodol cyn dyddiau Abraham yn addoli y gwir Dduw. Daliwn sylw fel y cynnyddodd Eglwys Dduw, yr hon a gymmarodd ein Hiachawdwr i ronyn o hâd mwstard, yr hwn a hauodd dyn yn ei faes. Ar ol dyddiau Abraham, yr Eglwys, o fod yn gynnwysedig mewn teuluoedd unigol neu gymmanfäoedd bychain, a gynnyddodd yn ddirfawr, ac a aeth yn genedl ardderchog ac annifeiriol. Yr addewid a wnaethpwyd i Addaf ar ol ei gwymp, mai *Hâd* y wraig ysigai ben y sarph, a gadarnhâodd Duw i Abraham ar ol profi ei ffyddlondeb. "I mi fy hun y tyngais, medd yr Arglwydd, Yn dy *hâd* di y bendithir holl genhedloedd y ddaear." (Gen. xxii. 18.)—"I Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion, ac i'w *hâd* ef. Nid yw yn dywedyd, Ac i'w *hadau*, megis am lawer; ond megis am un, Ac i'th *hâd* di, yr hwn yw *Crist*." (Galat. iii. 16.) O ddyddiau Abraham hyd ddyddiau ein Hiachawdwr fe barhaodd Eglwys Dduw ym mhlith y genedl Iuddewig yn unig. "Hynod yw Duw yn Juda; mawr yw ei enw ef yn Israel." Tra yr oedd y genedl Iuddewig yn bobl santaidd i'r Arglwydd, yr oedd yr holl genhedloedd eraill mewn tywyllwch dudew o anwybodaeth mewn perthynas i'r wir grefydd. Ac yn y drefn hon y parhâodd Eglwys Dduw hyd ddyfodiad ein Hiachawdwr, *Hâd* y wraig, pan oedd oed y byd o ddeutu pedair mil o flynyddau. Ar ol dyddiau ein Hiachawdwr, mawr a rhyfeddol yn wir y cynnyddodd Eglwys Dduw, sef y grefydd Gristionogol. O fod yn gynnwysedig mewn *un* genedl, fe orchymmynodd Awdwr a Sylfaenydd y wir grefydd bregethu ei Efengyl Ef, newyddion da o lawenydd mawr i holl genhedloedd y ddaear, i bob creadur dan y nefoedd. Ar ol esgyniad ein Hiachawdwr, fe gyhoeddwyd yr Efengyl i'r cenhedloedd yn gyffredinol. Ac o'r oes honno i'r oes heddyw, y mae y gwir Gristionogion,

rhagrithwyr, ac erlidwyr, yn gymmysgedig drwy amryw genhedloedd y ddaear. Ac yn y modd yr wyf fi yn deall y prophwydoliaethau sydd etto i'w cyflawni, o ddeutu dechreuad y seithfed fil o oes y byd y rhwymir Satan, ac a'i bwrir ef i'r pydew diwaelod dros fil o flynyddau. Ac yna yr adferir yr Iuddewon i'r Eglwys Gristionogol, a chenhedloedd lawer na's derbyniasant yr Efengyl hyd yn hyn a ddylifant i Eglwys Dduw: ac yna y bydd teyrnas gwirionedd, cyfiawnder, a heddwch, yn flodeuog iawn ar y ddaear. Ond y cenhedloedd sydd yn myned dan enw Gog a Magog, am wrthsefyll a dirmygu yr Efengyl, a ddidolir i bedair congl y ddaear; a phan ddidolir y drygionus oddiwrth y duwiol, yna fe fydd un gorlan ac un Bugail. Ni bydd ym mhlith praidd Iesu Grist na rhagrithiwr nac erlidiwr. "A phan gyflawner y mil blynyddoedd, gollyngir Satan allan o'i garchar; ac efe a â allan i dwyllo y cenhedloedd sydd ym mhedair congl y ddaear, Gog a Magog, i'w casglu hwy ynghyd i ryfel; rhif y rhai sydd fel tywod y môr. A hwy a aethant i fynu ar led y ddaear, ac a amgylchasant wersyll y saint, a'r ddinas anwyl: a thân a ddaeth oddiwrth Dduw i wared o'r nef, ac a'u hysodd hwynt." (Dat. xx.) Ar y rhan brophwydoliaethol hon y sylfaenwyd y gwaith canlynol. Y sawl a ddymuno weled cyflawn eglurhâd ar y testun pwysfawr hwn, darllenned Esponiad y Dr. Bryce Johnston ar y Datguddiad, yn enwedigol yr hyn ysgrifennodd ef ar y tair pennod olaf o'r llyfr. Y mae cyssondeb rhyfeddol rhwng Esponiad y Dr. Bryce Johnston ar y tair pennod olaf o'r Datguddiad â Thraethawd rhagorol ein cydwladwr dysgedig y Dr. Worthington ar Brynedigaeth Dyn. Y maent yn amrywio yn wir mewn rhai pethau amgylchiadol, ond o ran y sylwedd y maent yn gyttunol â'u gilydd.

Fe allai y bydd rhai gwŷr synhwyrol yn rhyfeddu pa fodd y bum cyn ffoled a danfon *ail* lyfr i'r byd, o herwydd y derbyniad gwael a dirmygus a gafodd fy llyfr cyntaf.* Nid oes gennyf ddim i'w ddywedyd am hyn ond mai galarus meddwl fod trigolion unrhyw wlad, o bob gradd a galwad, yn hytrach yn fwystfilod nac yn ddynion. O herwydd y tywyllwch dudew o anwybodaeth a'r anfoesoldeb gwaradwyddus o'r naill gŵr o Gymru hyd y cŵr arall y dydd heddyw, mae yn angenrheidiol dywedyd i'r darllennydd at ba *ddibennion* y mae prydyddiaeth. Y meddwl cyffredinol yw mai rhywbeth i ennill ceiniog yw prydyddiaeth, ac i wneud i ynfydion fwyfwy ynfydu. Camgymmeriad mawr yw hwn, fy nghydwladwyr. Mae cymmaint o wahaniaeth rhwng *prydyddu* a *lobbio* ac sydd rhwng y *goleuni* a'r *tywyllwch*. Mi wn fod hyn yn ymddangos yn syndod ac yn rhyfeddod anferthol i chwi; ond y mae y peth yn wirionedd difrifol. Gan hynny, at ba ddibennion y mae prydyddiaeth? Yr wyf yn atteb yn hyderus,—at ddibennion mawrion yn wir; sef y rhai canlynol:—i oleuo y dyall;—i wresogi y serchiadau;—i ddangos tirionwch rhinwedd, ac ammhrydferthwch drygioni. Llaw-forwyn crefydd yw Awen. Fe fu ei gwasanaeth hi mewn llawer gwlad ac oes yn dderbyniol gan Dduw, ac yn fuddiol i ddyn. Yr wyf yn gobeithio y bydd i'r gwaith canlynol mewn rhyw radd atteb y cyfryw ddibennion daionus, pa cyn waeled bynnag y bernir yr iaith a'r cyfansoddiad gan greaduriaid a elwir *criticyddion*. I'r *lliaws*, sef y cyffredin bobl, yr wyf fi yn ysgrifennu. Fe a ddywaid eich rheswm natturiol wrthych fod yn ddyledus arnoch gadw eich Iaith er mwyn lles cyffredin eich gwlad. Os collwch eich Iaith enedigol, chwi a gollwch eich crefydd; ac os collwch eich crefydd, chwi a gollwch eich eneidiau. Fel y mae prydyddiaeth yn tarddu yn hytrach o nattur

* Cywydd y Drindod.

na dysgeidiaeth, y mae yn rhesymmol feddwl y dichon darllennyddion yn meddiannu synwyr natturiol, heb gymmorth dysg, *ddeall ystyr a theimlo grym* prydyddiaeth. Y mae y pennaethiaid gwledig ac eglwysig, fel trigolion y lleuad, yn gwbl anadnabyddus i mi; gan hynny, ni ddywedaf na da na drwg am danynt. Diammau gennyf mai corph y wladwriaeth, sef y cyffredin bobl, ym mhob cenedl, yw y sylfaen sydd yn cynnal i fynu bob rhyw ddaioni; ac os palla pob gwybodaeth, rhinwedd, a chrefydd o'u plith hwy, yna yn wir truenus fydd trigolion y wlad honno. Ym mhlith y radd isaf o'r trigolion y gwelodd rhagluniaeth yn dda fod fy sefyllfa i; ac yn y radd isel honno, drwy gymmorth gras Duw, myfi a iawn ddefnyddiais, hyd eithaf fy ngallu, y dalent a ymddiriedwyd i mi.

Yr wyf yn canfod digonedd o bregethwyr, offeiriadau, ac ysgolfeistriaid o bob math a maint yng Nghymru y dydd heddyw; ond prinder mawr iawn yn wir o o brydyddion. Doed a ddel, myfi a wnaethum fy rhan tuag at gadw y gelfyddyd brydyddawl rhag llwyr ddiflannu o'r wlad. Mi a wn yn dda ddigon mai mewn cenedl ardderchog yn unig y cyfyd prydydd ardderchog: ond er fy mod yn gwybod hyn, etto myfi, o herwydd i mi gyflawn gredu mai fy nyledswydd oedd hynny, a lafuriais yn helaeth ym mhlith ysgubion y Greadigaeth.

Afreidiol i mi grybwyll am ardderchawgrwydd a hynafiaeth yr Iaith Gymraeg. Mi a ddymunwn pe gallwn adfywio rhai o drigolion Cymru o'u marweidd-dra a'u hoerfelgarwch mewn perthynas i'w Hiaith enedigol. O ddiogi ac anobaith dim ni ddaw; o ysmaldod ac ysgafnder meddwl ni ddaw ond chwerwder a blinder yspryd; o ddirmygu a *lobbio* pob cynnyg tuag at wneuthur daioni distryw tymhorol a thragywyddol a fydd y canlyniad. Er cariad at eich eneidiau anfarwol eich hunain, fy nghydwladwyr, ystyriwch y pethau hyn yn ddifrifol.

Y mae Duw, yn ei Air, ac yn nhrefn ei Ragluniaeth, yn galw am ddifrifwch meddwl, ac am ufudd-dod i'w gyfreithiau santaidd; yr ydych chwithau yn newynu ac yn sychedu am wagedd ac ynfydrwydd. Pan y mae barnedigaethau Duw mor amlwg ar y ddaear; pan y mae tymhestloedd rhyfelawg yn dadwreiddio teyrnasoedd o'u seiliau; ai amser i *lobbio* ac ynfydu, meddwch chwi, ydyw y cyfryw amser a hwn?

Wrth ganfod y gwallgof a'r annhrefn anferthol sydd wedi meddiannu pob gradd o ddynion yr oes hon, mi a fernais mai y ffordd orau i mi oedd ymryddhâu hyd eithaf *fy ngallu* oddiwrth ynfydion a'u hynfydrwydd. Wrth chwilio Llyfr santaidd Duw mi a ddeuais o hyd i addewidion cysurus, sef addewidion am deyrnas gwirionedd, cyfiawnder, a heddwch. Y sawl sydd yn hiraethu am burdeb a santeiddrwydd, i'r cyfryw y mae yn hyfrydwch meddwl fod amser gwynfydedig yn sicer o ddyfod. Nid ar ymddangosiadau presennol, ond ar addewidion Duw yn ei Air datguddiedig, yr ydym i sylfaenu ein ffydd a'n gobaith. Ni fedraf ond rhyfeddu wrth ddifrawch ein hathrawon ysprydol, o herwydd nad oes ynddynt nac yspryd na thueddiad i wneuthur na chynnorthwyo unrhyw beth er y lles cyffredin. Os parhâu a wnewch yn eich anystyriaeth a'ch syrthni ysprydol, naill ai ni ymddengys unrhyw fath o lyfr yn yr Iaith Gymraeg, neu ni ymddengys dim a fyddo yn werth amser ei ddarllen. Mi a fuaswn yn dymuno, tra yr oeddwn o ddeutu fy ngwaith, fy mod yn byw mewn gwlad Gristionogol; sef ym mhlith creaduriaid rhesymmol, hawddgar ac addfwyn, tueddol i wneuthur a chynnorthwyo yr hyn sydd dda a chanmoladwy, megis y gwêddai i ddynion sydd yn galw ac yn proffesu eu hunain yn Gristionogion. Mynych y daeth geiriau y prophwyd i fy meddwl; "A mi a ddywedais, Yn sicer tlodion ydyw y rhai hyn, ynfydion

ydynt: canys *nid adwaenant* ffordd yr Arglwydd, na barn eu Duw. Mi a âf rhagof at y gwŷr mawr, ac a ymddiddanaf â hwynt; canys *hwy a wybuant* ffordd yr Arglwydd, a barn eu Duw; eithr y rhai hyn a gyd-dorrasant yr iau, ac a ddrylliasant y rhwymau.', (Jer. v. 4, 5.) Yn y cyfryw amser, ac ym mhlith y cyfryw drigolion, y bum ac yr wyf yn cyfansoddi barddoneg Gristionogol ar destun pwysfawr a difrifol yn wir.—"Minnau a ddywedais, Yn ofer y llafuriais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth; er hynny y mae fy marn gyda'r Arglwydd, a'm gwaith gyd â'm Duw." (Esay xlix. 4.) Mi a wn mai am Iachawdwr y byd yn bennodol y llafarwyd y geiriau hyn; ond fe ellir eu cyfaddasu, mewn rhyw radd, i amryw o aelodau ei Eglwys Ef, yn enwedigol mewn amseroedd drygionus a llygredig iawn. Fel na byddo i'r mwyaf anllythyrennog na'r gwannaf ei ddyall dramgwyddo wrth y gwaith canlynol o herwydd na's gellir dangos pennod ac adnod am bob peth a gyfarfyddir ag ef ynddo beed i'r cyfryw ystyried a oes yma unrhyw athrawiaeth *newydd*, yr hon nad ydyw yn gynnwysedig yn y Bibl santaidd, neu unrhyw athrawiaeth *groes* i'r Efengyl; a dïammau gennyf na bydd achos dychryn cydwybod o'i herwydd. Y mae yn ddyledus arnaf gyfaddef fy rhwymedigaeth i Mr. Thomas Jones o Ddolgellau. Trwy gymmorth y gwr da hwn, yn nhrefn rhagluniaeth, y cefais rydd-did oddiwrth bob gofalon bydol. Heb rydd-did dim ni wneir mewn prydyddiaeth. Tra bu eraill yn casglu ac yn tyrru sothach darfodedig y byd yma, myfi a ymroddais yn ddifrifol i gyfansoddi prydyddiaeth Gristionogol. Er nad yw fy ngwaith yn gyfattebol i ardderchawgrwydd fy nhestynau, etto yr wyf yn gobeithio ac yn credu ei fod ef yn rhagbarottôad, drwy gymmorth daionus Duw, tuag at lawer amgenach caniadau mewn Byd o annhraethawl ddedwyddwch. Fe ddichon hefyd yng ngyrfa amser ac yn nhrefn Rhagluniaeth ddangos i'r Cymry wirioneddol nattur prydyddiaeth megis dawn Duw. Pa ammherffeithrwydd, pa feiau bynnag a fernir eu bod yn y gwaith canlynol, y mae dan beth i'w dywedyd o'i blaid ef: Yn gyntaf, mae ef wedi ei adeiladu ar seiliau tragywyddawl y Gwirionedd; ac yn ail, yr wyf yn ei ddanfon ef i'r byd yn gyfan-gwbl dan ofal Rhagluniaeth.

A FYNNO DUW A FYDD.

Gyda phob dymuniadau daionus yr wyf yn gorphwys ar hyn:

DAFYDD IONAWR.

# Y MIL BLYNYDDAU.

## Y RHAN GYNTAF.

**Taer ddymuniad am gymmorth gan Dduw i ddarlunio teyrnas cyfiawnder, gwirionedd, a heddwch. Y gwaith yn dechrau; Pabyddiaeth, Mahometaniaeth, a Phaganiaeth wedi eu dadwreiddio allan o'r byd, a Satan wedi ei gadwyno a'i garcharu yn y Llyn diwaelod dros fil o flynyddau. Y mae teyrnas Iesu Grist, yn ol ei addewid, yn dechrau. Y Mil Blynyddau yn ymddangos i'r prydydd ar ddull mil o dduwiesau disglair, law-law â'u gilydd, ym mharthau y dwyrain. Gwasgaredigion Israel yn derbyn yr Efengyl, ac mewn modd gwyrthiol yn cael eu cynnull i wlad Canaan. Amledd mawr iawn o bob cenhedloedd yn dylifo i'r Eglwys Gristionogol. Y cenhedloedd a elwir Gog a Magog yn dirmygu yr Efengyl, ac o herwydd hynny, mewn barn, yn cael eu didol i bedair congl y ddaear. Caersalem yn ogoniant yr holl deyrnasoedd. Brawdgarwch yn cynnyddu; nattur, sef y nefoedd a'r ddaear, yn tirioni ac yn ffrwythloni yn feunyddiol ac yn raddol. Y trigolion o bob gradd yn adnabod ac yn addoli y gwir Dduw mewn yspryd a gwirionedd.**

**Duw 'r Heddwch, Dad a Rhoddwr**
**Pob graslawn eurddawn i wr,**
**Dedwydd wyf mai 'm Tad ydwyt,**
**A Thad f' Awen addien wyt;**
**Trefna, rheola, mae 'n rhaid,**
**Fynych derfysgoedd f' enaid;**
**Goleua, â 'th dêg lewych**
**Drwy bur-ffydd, f' Awenydd wych,**
**Y modd y gwelwyf, Dduw mau,**
**Dra odiaeth gylch-droadau;**
**Adferiad byd o'i farwol**
**Annhrefn i'w iawndrefn yn ôl;**
**Daear a Nef, gyd-lef gu,**
**Yn weision ffyddlon Iesu.**
**Hafaidd fydd nattur hefyd**
**O'r ddeutu 'n gwenu i gyd.**
**Wnei gynnyg, f' Awen, ganu?**
**Dewis y gwaith, duwies gu.**
**Pabyddiaeth helaeth, fu 'n hir**
**Lwyddo, yn llwyr a leddir;**
**Tynnir Mahometaniaeth**
**A'i llym gledd o'i gorsedd gaeth;**
**Duwiau Paganiaeth dywyll**
**Yn haid ânt i Annwn hyll;**
**Ac yno, T'wysog Annwn,**
**Cadwynir a rhwymir hwn**
**Yn ei oddaith flynyddau**
**Ddeg cànt, a gwarant i'w gau:**
**Ac yna teyrnasa 'n Ior**
**A'i *Gariad* ym mhob goror.**
**Chwimmwth, pan ehêd chwe'-mil,**
**E ddaw y fâd santaidd fil**
**O flwyddau gorfoleddawl,**
**Byd o ddedwyddyd heb dawl.**

**Rhyfeddawl! mae 'r gwawl mor gain**
**Ar dorri draw o'r dwyrain!**
**Pa dduwies gynnes ei gwên**
**Hoyw a welaf fal heulwen.**
**Duwiesau cariadusawl**
**Sy 'n amlhâu o gaerau 'r Gwawl,**
**Yn raddol, olynôl lu**
**Daionus, dan dywynnu:**
**Yr olaf, hoywaf hefyd,**
**Sydd lanaf harddaf o hyd.**
**Mil sydd draw, law-law, o lân**
**Chwïorydd yn wych eirian.**
**Arwyddion dedwyddlon da**
**O lwyddiant i hil Adda,**
**O gariad pur, a gwiredd,**
**O lawnder, haelder, a hedd.**
**Mawr urddas, drwy ras yr Ion**
**Dygir gwasgaredigion**
**Israel i dderbyn hael hedd,**
**Gair union Duw 'r gwirionedd:**
**Ac yna Messïah, 'r Sant,**
**Wir Bennaeth, a dderbyniant:**
**Drwy gariad rhad, yr awr hon,**
**Iesu dderbyn ei weision:**
**Fe 'u dwg yn amlwg yn ôl**
**I Ganaan lân olynol,**
**Yn rhestrau fyrdd, ni's rhwystrir,**
**Yn ôl yn wyrthiol yn wir.**
**Cenhedloedd, luoedd lawer,**
**Ganlynant anwylblant Nêr;**
**Eu galwad, gyd â'u gilydd,**
**Fal mâd adgyfodiad fydd;**
**Mâd adgyfodiad o fedd**
**Trueni i fyd rhinwedd.**

X

Rhydd Ion i Sïon oes hir,
Salem etto breswylir.
Ioan, y cysurlan Sant,
Ar fynydd, mewn mawr fwyniant,
Welodd y ddinas wiwlwys,
Helaeth adeiladaeth lwys,
Yn disgyn, mewn da osgedd,
O'r Nef, wir haddef yr hedd,
I'r byd, i'w hyfryd fwynhâu;
O Salem hardd ei seiliau!
Hi elwir, dinas hylwydd
Y Duw byw, ei Llyw, a'i Llwydd;
Yn ddinas cyfiawn ddynion,
On'd hardd fydd gogoniant hon!
Bydd llon ddynion y ddinas
Yn feibion i'r Ion drwy ras;
A'r Tad, fal o'i gariad gynt,
I'w addef yn Dduw iddynt.
Yno 'n eu hoywfro hyfryd
Brodyr fydd y gwŷr i gyd:
A swydd y dinasyddion,
Lwys lu, fydd mawrygu 'r Ion.
Aberthant foliant, filoedd,
Yn unfryd i gyd, ar g'oedd,
I'r Hwn a wnaeth drugarhâu,
A'u galwodd i'w dêg olau.
  Pan geglir, mewn gwir gariad,
Y duwiol wŷr da i wlad
Eu tadau, o'u halltudedd
Hir ddyddiau, i fwynhâu hedd,
Hwy fyddant mwy ufuddol
I ddwyn yn addfwyn yn ôl
Genhedloedd, holl bobloedd byd
I'r rhyfedd wawl pur hefyd.
Fe fydd ffyddlon weision Nef
Yn niwedd y cynhauaf
Fwy gwresog, bywiog, di ball,
Yn burach na neb arall;
A geiriau Duw egurir,
Pur a da, ym mhob rhyw dir.
Dïau, fal y gwrandawant
Hwythau lwys eiriau y Sant,
I lydain fawrion wledydd
Bendith neu felldith a fydd.
Os eu hynod wrthodiad,
Oesoedd, i filoedd fu 'n fâd,
Mwy mâd fydd eu galwad, gwn,
Mawrdda i lawer myrddiwn:
O feirw mil myrdd adferir
I fâd hedd, i fywyd hir.
O d'w'llwch dudew allan,
Mawr fri, i'r goleuni glân,
Myrddiynau'n ddïau ddeuant,
A chredu yn Iesu wnant.
Beunydd O na dderbynier
Ni'n ffyddlon weision i Nêr!
I bwy mae Gair y Bywyd?
On'd i bob gweiniaid y byd?
Hwnnw yr Iesu henwir,
Eich Duw chwi yw'n Duw ni 'n wir.
Glynwn â 'n holl galonnau,
O Dduw hael, i'th ufuddhâu.
  Llywiawdwyr y byd llydan
I'r Eglwys oleulwys lân
A fyddant yn ufuddion
Dadmaethod hyglod i hon.
Hynaws y dwg brenhinoedd,
Gànt, eu gogoniant ar g'oedd,
Eu hamledd a'u mygedd mawr,
I Salem, ddinas heulwawr.
Gwychder ac ehangder hon,
Ei thyrau, muriau mawrion,
Clod a rhyfeddod fyddan'
I'r byd, drwy ei bedwar ban.
Undeb a moesoldeb sydd
A chariad yn ei cheurydd.
Yr Eglwys yn harddlwys, hi
Dêg lanwyd â goleuni:
Un ydyw; ymranniadau
Mwy nid oes, nag anfoes gau.
  Ni bu 'n wir, ni chefir chwaith
Bur-ffydd oes gyfiawn berffaith.
Gog a Magog ddirmygant
Lân Eglwys wenlwys y Sant.
Ynfydion! gâlon y gwir,
Rhei'ny draw a wahenir:
Ffy 'r gâlon beilchion â'u bâr
I dywyll gonglau daear,
Mewn gwagedd, llygredd a llid,
Ymrafael a mawr ofid.
Mae weithian un gorlan gu,
Ddewisawl, dan Dduw Iesu,
Un gorlan lydan, ddi lid,
Hir-lwydd, heb flaidd i'w herlid;
Un Bugail i'w harail hi
Yn weddus, ac i'w noddi:
Dan ei nawdd treiddiawdd y trwch
A'r niwlog fawr anialwch.
  F' Arglwydd! dyma ddedwydd oes
O rinwedd a hir einioes.
Bured oes baradwysawl!
Pob calon rydd fwynlon fawl.
Crefydd ar gynnydd a gaid
I gynnal corph ac enaid.
Yn lle melldith, bendith bur
Sy 'n gwenu 'n neutu nattur.
Sabbath y byd, a'i seibiant
O boenau a gwaeau gànt!
Y tir ffrwythlonir gan wlaw
Tyner; pawb sy 'n cyttunaw;
Hafaidd yw 'r wybren hefyd,
Tirioni mae hi o hyd.
Mae 'r gwŷdd a'r meusydd, Ior mau!
Fel Eden, oll yn flodau!
Y ddaear foddlongar lân
A ddyrydd ffrwythydd eirian;
Eu ffrwythydd beirdd goedydd gànt
I'r casglydd a rydd roddant.
Pwy'n lân a gân ogonedd
Yr oes hon o ras a hedd?

Ba luniaeth, ba haelioni,
Ba lwydd yn y Jubili!
O hyd eu bywyd ni bydd
Oer gŵyn i'r un trigiannydd,
Na chwerwedd, na chledd, na chlwyf;
Ni dd'wedir, gwannaidd ydwyf.
Y llon drigolion i gyd,
Hyfawl, ni ddysgant hefyd
I'w gilydd grefydd; mae gras
Eu Noddwr yn llawn addas
I gynnal y rhai gwannaf;
Hwy ddysgir, yn wir, gan Naf.
Yn olau ei anwylion,
Ei blant a adwaenant Ion.
Ffodiawg eiriau 'r prophwydi
Sy 'n ddïau'n olau i ni:
Teyrnas dêg y garreg aeth
Yn hylwydd fynydd helaeth,
Rhyfedd, a dirfawr hefyd,
Uwch bannau holl barthau 'r byd.
Gwelwch, a rhyfeddwch fâd
Fwyn odiaeth gyfnewidiad:
Carnolion, gwylltion fu gynt,
Hynodawl ddofion ydynt,
Weithian, heb riddfan na braw,
Y llon oen a'r llew 'n unaw!
Hwy a rywiog wareuant
Hyd feusydd, drwy 'u gilydd, gânt,
Beunyddiol, bawb o naddun;
Fe chwardd y llew hardd ei hun.
Clywch adar cerddgar y coed!
Melysgerdd aml o lasgoed;
On'd da inni, on'd tyner,
Yw mwynhâu eu pyngciau pêr?
Pa fawl o hyfrydawl fron
Is awyr sydd? ai Sïon
Lawenaf sy 'n moliannu
Yr hael Ior, yn un côr cu?
Hi, yn wir! mewn hoen eirian
Y clywir y gywir gân.
Santeiddlon ganeuon ŷnt,
Puredig fawl pêr ydynt,
Didawl orfoleddawl floedd
I Naf daear a nefoedd!
Têr-ddoeth foliant yn tarddu
Yn union o galon gu.
O fâd Ior dyrchafedig!
Dod i'm bron galon o gig,
Ac yna minnau ganaf
I Ti'n wir, etto, fy Naf.
Pechod, mae'n resyndod, sydd
I fynych ddwyn f' Awenydd,
I ddwyn pob rhyw ddaioni,
Y mae 'n dost, o'm henaid i.
Oh 'm c'wilydd! mae i'm calon
Ryw oerni 'n dihoeni hon.
Diddan destyn prydyddawl
Wna i'r mud yn wir roi mawl.
Mae 'r ddaear hawddgar o hyd,
Ddi-efre, 'n laswerdd hyfryd;
Yn llwyr y mae 'r awyr iach,
Olynol, lanach lanach.
Eres a hael, yr oes hon
Y daeth pob rhyw fendithion;
Mâd adferiad i fawredd,
I dirion hinon a hedd,
Feddiannwyd, a gollwyd gynt
Yn Eden;—mor lân ydynt!
I'w fwynhâu 'n ddïau fe ddaeth
Dy'gwyl y Greadigaeth!
Oes dda heb un traha trwch,
Wir haeddawl o Dduw'r Heddwch:
Oes hefyd i'w deisyfu
Gan gannoedd o filoedd fu:
Gwir oes Iesu grasusawl
Yw hon, i'w ryfeddlon fawl:
Y radd ail i rïeiddwych
Ddiddiwedd Ogonedd gwych.

# YR AIL RAN.

Yn niwedd y Mil Blynyddau, gollwng Satan yn rhydd drachefn. Ef a'i luoedd uffernol yn esgyn i'r ddaear. Wrth ganfod delw Duw yn eglur yn wynebpryd myrddiynau annifeiriol o drigolion yr hyfryd wlad, y mae ef a'i luoedd yn ffoi mewn dychryn a digllonedd i gonglau tywyll y ddaear, yn fwyaf enwedigol i'r gogledd, gwledydd Gog a Magog, hiliogaeth y Tartariaid. Y prydydd yn danfon ei Awenydd i'r parthau hynny. Bèr hanes o gelfyddydau a moesau, neu yn hytrach anfoesau trigolion y wlad erchyll honno. Ymddiddanion eu seneddwyr hwynt ar amryw destynau. Planedydd dysgedig yn dangos i'r senedd, yn ol rheolau planedyddiaeth, eu bod hwy i orchfygu a meddiannu holl barthau y ddaear. Satan a'i luoedd yn cynhyrfu trigolion gwlad Gog, rif tywod y môr, i ymgynnull ynghyd. Araith eu penllywydd wrthynt cyn cychwyn. Y planedydd, yn ol rheolau ei gelfyddyd, yn dangos dydd dedwydd i osod allan; y maent hwythau yn cychwyn ar feirch, oll yn arfogion, heb rifedi. Satan ac angylion y Tywyllwch yn disgyn liw nos i wersyllau Gog, ac yn ennyn eu meddyliau hwynt mewn breuddwydion, gan ddangos iddynt ddinasoedd eu gelynion ar dân, ac iddynt hwythau bob mwyniant a mawredd daearol. Llu Gog yn prysuro yn danllyd ac yn lloerig i'r yspail.

Ai o Annwn wenwynig
Mae cwmmwl dyfnddwl a dig
Yn esgyn?—Y Gelyn gau
Ollyngwyd gyd â llengau
O ddieifl, ei luoedd aflan,
Yn rhydd i'r goleuddydd glân.
Gweled yr holl drigolion,
Dduwiol rawd, ar ddelw yr Ion,
A'i Enw mawr glwyswawr yn glau,
Cannaid, yn eu talcennau,
Gwnaeth hyn i'r Gelyn giliaw
Mewn euog afrywiog fraw:
Buanwyllt ffodd o benyd
Gyd â'r chwern Gethern i gyd.
Satan, fal saeth, f' aeth â'i fâr
I dywyll gonglau daear.
Yn ddewr iawn rhydd ar unwaith
Ei greulon weision ar waith.
Hed, f' Awen, ar adenydd
Disgywen drwy 'r wybren rydd
I gyrrau y byd gorwyllt,
I berfedd y gogledd gwyllt.
Gwae 'r olwg hagr a welir!
Gwlad Gog sydd niwlog yn wir!
Dudew niwl cauadedig,
Mal dyfn-nos, sy 'n dangos dig.
Ia, ac eira, ac oerwynt,
Cuchiawg a bygythiawg ŷnt:
Toi pennau 'r mynyddau wnant,
Mawrion, byth ni ddadmerant.
Hagr ruthraw 'n gryf a gorthrwm,
A rhuaw mae 'r môr draw 'n drwm.
Ond bod, rhag erchylldod chwyrn,
Cydiad cadwynau cedyrn,
Rhew mawr yn rhwymo 'r moroedd
A chryfder blyngder eu bloedd,
Dan ymchwyddo 'r dyfnfor dig
A gladdai 'r byd gogleddig.
Anwybodaeth hagrgaeth hyll,
Duach na 'r awyr dywyll,
Sy 'n meddiannu llu 'r holl wlad;
Goror yw hon heb gariad,
Heb hedd, gwirionedd, na gras;
Darn o'r uffernol deyrnas.
Dïserch, di-brïodasau
Yw du wlad Gog waedlyd gau.
'Gorchest (mae 'n olwg erchyll)
Gan bob gwr mawr hagrwawr hyll,
Fod tŵr bastardiaid dyrys,
Putteiniaid lonaid ei lys:
Pob rhemmwth, mewn budrfwth baw,
Tin-noeth, pawb yn putteiniaw!
Gwenwyn rhy ddrwg yw unwaith
Goffhâu mewn geiriau eu gwaith.
Y gwylltion drigolion gau
Addolant amryw ddelwau.
Duwiau na ront wrandawiad,
O feini, wnaeth lenwi 'r wlad.
Rhai gwŷr o fwy synwyr sydd
A galwad uwch na 'u gilydd.
Gwyddant astrologyddiaeth
Yn wych iawn; y ddawn a ddaeth
O dad i dad, a dedwydd
Ryfeddawl yw 'r serawl swydd.
Wŷr hynod, rai o honynt,
Cyfreithwyr, areithwyr ŷnt.
Y rhai 'n, mewn hyfrydgain fri,
Wŷr hylwydd, sy 'n rheoli.
Beth sydd ger llaw mynydd mawr?
Ai castell cadarn costfawr?
Mae 'r lân ddôr lydan ar led,
I mewn pa ddrwg yw myned?
Llwyr wagedd! ai lloerigion
Fu 'n darnio, 'n tanio hyd hon?
Oh na 'dawen' eu duwiau
Syfrdan, yn gyfan, wŷr gau!

Duwiau di bennau, di barch,
Geir yma, mewn garw ammharch,
O ran oedran yn edrych
Yn welw drem, yn wael eu drych.
Rhai, rhag c'wilydd, sydd yn son
Y naddant rai newyddion.
Meddwyn dŵl, dyma ddyn du,
Pur gaeth, ar fedr pregethu.
Gwelwch (Oh anferth g'wilydd!)
Haid o bersoniaid y sydd,
Wŷr beilchion bol-drymmion draw,
Gwageddus, yn gogwyddaw,
Gan chwerthin dan din;—ai 'r Diawl
Y sydd yma 'n orseddawl?
Wŷr ynfyd, iechyd ichwi;
Ar unwaith âf ymaith fi.
Mewn gwlad anwastad yn wir,
Niwlog, a haul ni welir,
Da iawn yw bod adenydd,
Adeiniog yn fywiog fydd.
Mi welaf draw gymmylog
Brif ddinas ac urddas Gog.
Llawn o ddyniawn yw 'r ddinas,
Hyllion i gyd, llawn o gâs.
Dyma 'r senedd, ryfedd rawd,
A'u mwynder â'u cymmendawd:
Gweniaith, rhagrith ddigonedd,
Bygddu, sy 'n gwenu 'n eu gwedd.
Mae areithydd mawr ethawl
Yn cael pur ddifesur fawl:
Y senedd sy 'n cydseiniaw
Ei fawl ef, a'r fawr dref draw!
Rhyfeddol anferthol fâr!
Ac etto mae rhai 'n gwatwar.
I'w gu lys o fynor glân,
Lonweilch, hwy a'i canlynan'.
Yn hyf canlynaf o'u hôl
I neuadd yr annuwiol.
Nawdd Ior! mae 'r neuadd eurwawr
Nerthol, yn anfeidrol fawr.
Eisteddant, gànt o wŷr gau,
Dewrion, ar heirdd gadeiriau.
Daccw wr tew ac eurwych,
Parawd i wneud arawd wych.
Gorau i mi, mewn gwir mâd,
Dewi, a rhoi gwrandawiad.
Iawn hâd Gog fawreddog rym,
Didarf fal ein tad ydym.
Mae gwlad Gog oludog lân
Oddiar bob gwledydd eirian,
Rhufain a Groeg fawr hefyd,
Uwch oesau holl barthau 'r byd.
Ffraeth araithyddiaeth heddyw
Sydd a'i lleferydd yn fyw:
Diddym ydyw 'n prydyddiaeth,
Mudanu a nychu wnaeth.
Fe daniodd a llidiodd llangc,
Ryfedd seneddwr ifangc:—
Clywch yn awr, wŷr clodfawr clau,
On'd dinerth yw 'n testynau?
Er mil o fiwyddau, er mwy,
D'wedwch, wŷr mawr clodadwy,
A welwyd gweithred wiwlan
Haeddawl o drag'wyddawl gân?
Mae 'r byd heb ysbryd yn byw,
Yn haeddu gogan heddyw.
Yn amser gwasgwychder gynt,
Rhïeiddawg arwyr oeddynt:
Miloedd y byd a'u molant,
A mawl trag'wyddawl a gânt.
Am wrawl arwyr mawrion
On'd eres yw 'r hanes hon?
"Troïa fawr mewn twrf eirias
O draw 'n goleuaw 'r môr glas!
Y tad Iau rhwng tyrfau tân,
A'i folltau yn fyw wyllt-dân!
Crynfa yn treiddiaw 'r crwnfyd
Mawr hwn, ac Annwn i gyd!"
Ar sylwedd o ryfedd rym,
Geinwych, ai rhyfedd gennym
Fod ffraeth brydyddiaeth yn dân?
Y duwiau a'i gwrandawan'.
Y seneddwyr sy 'n addef
I gyd mai ardderchog ef:
Mae 'n berffaith araith eirwir,
Ragorol, nerthol yn wir!
Gwr gweddus oedrannus draw,
Da ei ystyr a distaw,
Golwg lawn diriawn a drodd,
E fyfyriawl lefarodd:
Clywais, a rhyfeddais fawl
Y fawr ddinas farddonawl,
Sef Caersalem geindrem goeth,
Wych hefyd, fawr ei chyfoeth.
Ieithydd, ymdeithydd dethawl,
I mi fynegodd ei mawl.
Cyfaill a thad mâd im' oedd;
Ei lon addysg flynyddoedd
A gefais; ond i'm gofyd
Fe aeth gwybodaeth o'r byd:
O'r byd caeth fe aeth o'i fodd,
Mewn henaint y mwyn hunodd.
Fy nghyfaill, ni 'th anghofiaf,
Dy gofio, dan wylo, wnaf.
Yma maddeuwch immi,
Trech yw pur nattur na ni.
Mae son am eirwon arwyr,
Llofruddion gwylltion, a gŵr
Lwyr agwrdd o loerigiawn,
Mewn terfysg, heb ddysg, heb ddawn,
Drwy wyrthiau arfau erfawr
Yn lladd byddinoedd i'r llawr,
Mae hyn yn ennyn ynnom
Wyllt ddigter a ffraethder ffrom.
Er cân o felyslan flas,
Ar dân a raid rhoi dinas?
Drud yn wir gwelir y gân,
Rhaid addef, y gwŷr diddan.
Am Gaersalem,—gwir sylwedd
Cerddi hon yw hoywlon hedd,

A gwir, a pherffaith gariad,
A mawl cyttunawl i'r Tad.
O'u heneidiau geiriau gaid,
Pêr iawn, yn puro enaid:
A chodant y serchiadau
Fry o hyd, gan lwyr farwhâu
Llygredd, gwagedd a gogan,
A bywhâu rhinweddau wnan'.
Santeiddlon gysuron sydd
Hynod yn eu hawenydd.
Beunydd hwy a dderbynian'
Y bywiawl brydyddawl dân
O'r Nef, ac i'r Nef yn ôl
Beunydd y mae 'n dderbyniol.
  Wrth wrandaw'n ddistaw ei ddoeth
A'i hygar addysg hoywgoeth,
E wna 'r llu hanner-llawen
Ddirmygus watworus wên.
  Yr ethawl brif areithydd
Mewn gormod o syndod sydd:
Er maint yw gloywfraint ei glod.
Ei ddirmyg sydd braidd ormod.
Drwy 'ch cennad, y gwr mâd mwyn,
Deliwch dafod, adolwyn:
Dïau clywais innau son
Am Salem, a'i moesolion;
Am fawl rhagrithiawl, a gras,
A doniau gwŷr eu dinas.
Maent yn canfod (syndod son,)
Degwch anweledigion!
Ammherffaith yw eu hiaith hwy,
Llediaith annëalladwy!
Wŷr ynfyd â mawr anfoes,
I'w temlau duwiau nid oes.
Pa ffraeth farddoniaeth a ddaw
O hagr iaith a rhagrithiaw?
Pa fywiawl brydyddawl dân
A ddeilliodd, neu ddaw allan,
Heb dduwiau ac arfau 'n gerth
I gynnal y gerdd geinwerth?
  Y senedd a gydsyniant;
Dadwrdd yn agwrdd a wnant:
Dyna araith berffaith bur,
A gwiwglod addysg eglur!
  Y rhïeiddgu wr hawddgar,
Glân ripwedd yn ei wedd wâr
Ennynnodd:—Ai dan wenu,
Mewn rhyfyg, mae 'ch dirmyg du?
Gwatworwyr disynwyr sydd
A golwg lwyr ddig'wilydd.
Gwatwar a dirmyg etto,
A brâd sydd ormod i'n bro.
Yn ddilys chwyrn ddïalau
A gwae sydd yn agoshâu.
Y gwir ni fynnwch ei gael;
Da im' ydyw ymadael.
Odidawg wŷr clodadwy,
Mi wn na welwch fi mwy.
  A'i wedd lân ddi-elyniaeth,
Wr myg, o ddirmyg ydd aeth.
  Mawr swn berwddwfn, tabyrddu
Mewn dig, yn lloerig wna'r llu.
Y gwŷr tanbaid a gerwin,
Mewn ffoledd gwagedd a gwin,
Fawrygant, ffrostiant yn ffraeth
Eu nifer a'u hynafiaeth:
Terwyn dorf o Dartariaid,
Mal byllt ehedwyllt, yn haid
Gref fywiog, a orfuant
Rufain uchelgain, a chânt
O wledydd Ewrop lydan;
Drwy eu dig, rhoi 'r byd ar dân!
Yn arfog ardderchogiawn,
Mal hwythau ninnau a wnawn.
Daw 'n celfydd blanedydd ni
Ag eres hanes inni;
Syw arwyddion seryddawl
A rydd o geurydd y Gwawl.
Y ser yn rhagdraethu sydd
Dreigliadau drwy y gwledydd.
  Y melltennog lidiog lange,
Ryfedd seneddwr ifange,
Wna graffu mewn gorhoffedd
Ar wyllt ac anhawddgar wedd
Yr ethawl brif areithiwr,
Drwy barch, gan gyfarch y gwr:—
Y gwron llaw-egored,
Parodlon ei gyflon gêd,
Golau y llusernau sydd,
Dêg olwg, gyd â'u gilydd,
Yn cylchu, dan d'w'nnu 'n dêg,
Y lydan neuadd liwdeg,
Debygol i siriol ser
Y loyw nef lawn o nifer,
Yn ddilys mae 'ch harddlys chwi,
Fwynwr, fal y Nef inni.
Mwy o bris nac ambrosia*
Yw 'ch bwydydd; diodydd da,
Mal nectar† lliwgar, wna 'n llon
Ddirgelaidd wreiddiau 'r galon.
Nid mwy rhyfedd eurwledd Iau
Ddedwydd, pan fo byrddeidiau
O'u hyfion dduwiau hefyd
Yn gôr, yn feddwon i gyd.
Er haeddu clodydd cu cànt,
Gweniaith, na gwag ogoniant
Ni fynnwch, ni wnaf finnau
Goeg araith, na gweniaith gau.
  Medd y gwron llon, eu llyw,
Cymmariaeth odiaeth ydyw!
Mae'n eglur, mae 'n ddoethbur dda;
Dewr Awen bardd‡ Caerdroia,
Ar hyd ei gwaith rhuadwy,
Ni wnaeth gymmariaeth o'i mwy.

* Ambrosia, ymborth tybiedig y duwiau Groegaidd a Rhufeinig.
† Nectar, eu diod.
‡ Homer, prif fardd Groeg, a thad gwir farddoniaeth: testyn ei ganiadau oedd gwarchae a dinystr dinas Troy, neu Caerdroia.

Mae 'r ddôr yn agor mewn nerth:
Ddirfawr blanedydd eurferth
E ddaeth ef! ac yn ddoeth iawn
Hwy goeliant ei ddirgeliawn.
Ddewrion ardderchogion, chwi,
Wŷr, alwyd i reoli
Pob rhan o bedwar ban byd;
A chyfion i chwi hefyd
Ddinystrio, a darnio 'n deilch
Dorfoedd dinasoedd dewrfeilch.
Chwi hâd Gog mewn arfog nerth,
Wŷr hawddgar, chwi 'n rhïeiddgerth
A lwyr oll elwir allan
O'ch tudwedd, o'r gogledd, gan
Fydoedd a'u cydffurfiadau,
I fyw 'n hir, ac i fwynhâu
Golud a gwlad y gelyn;
Y ser sy 'n rhagddangos hyn.
Y planedau 'n olau wnant
Y modd y cewch y meddiant.
Synnu mae pawb o'r senedd,
Llon i gyd, llawen eu gwedd:—
Gwelwch hwn, y memrwn mâd,
Yn lanwaith rhydd ddarluniad,
A dengys eglur dynged
Cenhedloedd, luoedd, ar lêd.
Manwl greffwch, wŷr mwynion;
Yn bur bell o'r llinell hon
Hedwn tu â'r cyhydedd,
I'r parthau fu 'n mwynhâu hedd:
Ond yn awr llid mawr a maith
Rennir iddynt ar unwaith.
Tew-dew lid tywalltedig
O'r Nef lân a ddaw 'n dân dig.
Sadwrn* sydd i'w arswydaw,
A'i wedd ffrom, ac ael drom draw.
Mawr froch rhwng Mawrth† goch ac Iau,‡
Byd o wrthwynebiadau!
Hagr aeliau wnant yn greulawn,
Yn guchiawg fygythiawg iawn.
Gwae 'r ffolion drigolion gau
O fewn eu holl derfynau.
Eu tir ddinystrir drwy nerth
Arfau, a'u dinas eurferth,
Lwysgain, â thân a losgir
Yn wreichion hyllion, cyn hir.
I'w nawdd oll, planed ni ddaw,
Na seren i'w cysuraw.
Ein planedau ninnau wnant
Gynnyg in' bob gogoniant:
Galwant ni i fuddugoliaeth,
Galwant, deffroant ni 'n ffraeth.
Gwelwch Sol§ anfeidrol fawr,
A Luna,‖ ei wraig lonwawr,
A'u mwyn wên arnom ninnau,
Yn siriol heddychol ddau;

* Saturn, duw amaethyddiaeth.
† Mars, duw rhyfel.
‡ Jupiter, y prif dduw paganaidd.
§ Yr Haul. ‖ Y Lleuad.

Yn dyner mae Gwener* gu,
Gannaid, ar Iau yn gwenu;
Ac ar Wener gywreinwen
Mae yntau 'r tad Iau â'i wên.
Mae Merchur† yn eglur nawdd,
Yn gu-hael yn ein gwahawdd.
Y seren gerth seirian gu,
Loywgoch, y'ch chwi 'n olygu,
Wŷr addwyn, mae 'n arwyddaw,
Heb os mae 'n dangos y daw
Rhyw loywdeg wr i wlad Gog
O radd uchel fawreddog:
Penllywydd y gwledydd glân
A fydd, pawb a'i rhyfeddan'.
Yn union pob un yno,
Rhyfeddodd, edrychodd dro
Yn llon ar y gwron gwych,
Hylaw areithydd haelwych.
Rhyfedd yw 'r senedd â'u swn
Mileinig, croch mal Annwn:
Ynfyd rhy 'r senedd anferth,
A'u nerthoedd, dair garwfloedd gerth.
Pa fonllef drwy 'r holl dref draw,
Drwy 'r awyr, sy 'n adruaw?
Ynfydion llawn anfadwaith,
Mae 'n syndod ganfod eu gwaith.
Goddeithiau wna 'n olau 'r nen,
Ebrwydd dreiddiant y wybren.
Llawen groch-lefau 'r llïos,
Chwerw nâd, sy 'n dychrynu 'r nos,
Hagr iawn gyfiwr gerwinawl;
On'd tost bod ym meddiant Diawl!
Tyrru a wna 'r Tartariaid
Gorwylltion hydron yn haid,
O diroedd uchelderog;
Mor chwyrn yw holl gedyrn Gog!
Satan a'i lu hagrddu 'n hawdd,
Yn wynnias, a'u hennynnawdd.
Aneiri' gawri, ar g'oedd,
Dyrrant o'r arfordiroedd.
Cynhyrfodd dygodd y Diawl
Fawrwyllt dorf annifeiriawl.
Senedd Gog synnodd i gyd
Weled edlym wlad waedlyd
Mor barod i'r mawr berwyl,
Yn unfryd mewn tanllyd hwyl.
Nodawl eiriau 'r planedydd
O ddifri 'n cyssoni sydd;
Eisoes hwy ddechreuasant,
I rym gyflawnder yr ânt.
Ar bennodol ddethol ddydd,
Yr ethawl brif areithydd
O'i orsedd gochwedd i gyd,
Loywfawr, ac uchel hefyd,
Wnaeth fywiog eurog arawd
I'r arfog fawreddog rawd.
Llydain restrau sy 'n llidiaw,
Mor drwm yw 'r mawr furmur draw!

* Venus, duwies prydferthwch a chariad.
† Mercury, duw masnach ac elw.

Yn hy-ffriw, wron hoywffraeth,
A'i law amneidiaw a wnaeth:
Mae dyfndeg osteg astud,
Mae 'n awr y dorf fawr yn fud.
Lwyddiannus luoedd enwog
Ardaloedd amgylchoedd Gog,
Bennaethiaid tanbaid pob tir,
Heddyw chwi a wahoddir
I lydain ffrwythlawn wledydd,
Ac i wres a gloyw dês dydd.
Duwiau a phlanedau wnant
Ein galw, a'n dïogelant,
A roddant in' arwyddion
Mai blwydd dra hylwydd yw hon.
Tynghedaf, galwaf hwy i gyd
Yn hyfion dystion hefyd.
Ni oll o'n gwlad awn allan
A mawr lu, mal Tamerlan;*
Ehedwn drwy 'r deheudir
Yn ddewrion âlon yn wir.
Ni gurwn, darniwn geurydd
Rhagrithwyr disynwyr sydd
Yn mwynhâu gwleddau, a gwlad
Ddirfawr, lawn ffrwythydd eurfad.
Yno, bawb, adferwn bur,
Iawn yttyw, grefydd nattur.
Yn dêg iawn ein duwiau gânt
Gennym fawl a gogoniant.
Yn llawn hyfiawn ddihefeirch,
Yn arfog ar fywiog feirch
Yr awn, un nifer â'r ôd,
Tewach o rif na 'r tywod
Sy 'n cau ymylau y môr;
Gwrawl dorfoedd pob goror
Ofidiant rhag rhifedi
A nerth ein byddinoedd ni.
Ni bïau, myn ein bywyd,
Ni bïau holl barthau 'r byd.
Cofiwch dyner arfer oedd
Gennym drwy 'n cenedl, gannoedd:
Tyner ieuengctid, henaint,
A phob claf hyllaf ei haint,
Rhown hwy 'n dêg yn yr un dydd
Ar finion yr afonydd
Mewn bythau mân, er glân glod,
A'u dewis fwyd a dïod.
Hwy ânt, pan fynnant, i fedd
Yn hyfwyn mewn tangnefedd;
Ant o lwm fyd gorthrwm gau
I dawel wlad y duwiau.
Cofiwch, uwchlaw y cyfan,
Os mynnwch lwydd rhwydd i'ch rhan,
Offeiriadau, cyffredin
A choledd gwagedd a gwin,
Lladder hwy, fel bo llwyddiant,
Heb ragrith, i'n plith a'n plant,
Rhag iddynt, drwy wageddu,
Yn llwyr ddifwyno y llu:
Hwy, ym mhlith gwenith a gwin,
Feddwant, lygrant y fyddin.
A dd'wedais, yn ddioedi
Cyflawnwch, cychwynnwch chwi.
Cleddyfau o'u gweiniau, gânt,
Yn nawswyllt a dynnasant,
Fyrddiynau 'n rhoi golau gwyllt;
A gawrio wna 'r llu gorwyllt,
Hwy fileinig gyflawnant
Ei eiriau 'n chwyrn, o'r un chwant.
Ac wedi i'r cawri certh,
Swnfawr, wneud gwaith traws anferth,
Y planedydd celfydd call
A ddeuodd, drwy fawr ddyall,
Hyd i ddydd dedwydd i'r daith,
F' â'r ammhur dorf fawr ymaith.
Am ddinystr mae ymddiddaniawn
Yr arfog dorf lidiog lawn.
Ddrygweis, ymgynddeiriogant
Mewn creulon fygythion gânt.
Eu bywiog feirch tra buain,
Carlammau rhestrau o'r rhai 'n
A wnant i'r ddaear, drwy nerth
Ennynfawr, grynu 'n anferth.
Mal cigfrain am filain faeth,
Gwyddant lle bo cigyddiaeth,
Yn canlyn gelyn i gâd,
Eu llwyddiant hwy yw lladdiad,
Felly 'r dieifl, hyll rawd aflan,
Yn ffyrnig â'u dig ar dân,
Yn heidiau chwyrn ehedant,
Gyd â Gog ruthrog yr ânt.
Magant ddrwg ddychymmygion
Yn llu Gog fradog ei fron.
Gwelant, mewn trymgwsg, wiwlan
Ddinas prif deyrnas ar dân,
A'i chaerau, gan dyrfau dig
Rhuadwy, 'n chwilfriwedig;
A gwelant y trigoliawn
Yn feirw oll, yn dorf fawr iawn.
Glân wragedd, amledd o win
Yn ffrydiau anghyffredin,
A welant, pob mwyniant mawr
A hylwydd sydd dan heulwawr.
Cerddorion â thôn a thant
Yn geinwych a gydganant,
Gan fawrhâu 'r holl dduwiau ddaeth
A gwiwlon fuddugoliaeth.
Llammant, deffroant yn ffrom
A gwŷr-draws olwg arwdrom.
Yn chwannog hwy gychwynnan'
O'u gwersyll yn deryll dân.
I gyd rhuthrant yn gedyrn
Arfogion farchogion chwyrn,
Mewn balchder a dyfnder dig,
A llaweroedd yn lloerig.

* Tywysog Tartaraidd dewr a rhwysgfawr yn y bedwaredd ganrif ar ddeg.

# Y DRYDEDD RAN.

Awenydd y prydydd, wedi llwyr flino ym mhlith ynfydion gwallgofus, yn ehedeg yn ôl i'r hyfryd wlad. Meibion Duw, wedi clywed hanes am Gog a'i fyddinoedd, yn danfon cenhadon i fan bennodol i ymgynghori er mwyn y lles cyffredin. Gorseddau wedi eu gosod at y diben hwnnw ar làn afon. Un o'r tadau yn cyfodi, ac yn datgan yr achos o'u cydgynnulliad:—bod Gog a'i fyddinoedd, yn ol Gair prophwydoliaeth, yn dynesu i'w gwlad hwynt:—a ydyw yn fuddiol i'r seintiau drwy holl barthau eu gwledydd ddynesu at Gaersalem fal y caffont waredigaeth? Hwn yw y pwngc y maent i'w benderfynu. Gwr ardderchog arall yn cyfodi, ac yn llefaru;—mai afreidiol caerau i weision y Duw byw;—yr Hollalluog ei hun sydd Gaer a Noddfa iddynt. Yn ol siampl Hesecïa, y mae ef yn cynghori yr Eglwys yn gyffredinol i daer weddïo am gymmorth o'r Nef, ar ddydd pennodol;—os cafodd gweddi un gwr da ei gwrando ger bron Duw, mwy o lawer y ceiff gweddïau myrddiynau eu gwrando er mwyn haeddiant Iesu Grist, Archoffeiriad mawr eiu heneidiau. Yr holl gymmanfa yn cydsyniu â hyn yn unair. Trydydd wr yn cyfodi, ac yn deisyfu, ac yn cynghori, er cariad at Dduw, i ryw nifer o honynt fyned i gyfarfod byddinoedd Gog i'w croesawu i'w gwlad, ac i ymddiddan â hwynt;—fe welwyd gynt rai o honynt yn wŷr hawddgar, addfwyn, a graslawn;—pwy a ŵyr na's gellir gwaredu rhai o honynt o ddistryw?—o herwydd hynny fe geiff Gwaredydd eneidiau fwy-fwy o fawl. Y gymmanfa yn cwbl gydsynio â hyn hefyd;—yn diweddu â chaniad o fawl i Dduw am ei drugaredd, ac yn ymadael gyda phob arwyddion o frawdgarwch i gyflawni yr hyn a benderfynwyd ganddynt. Byddinoedd Gog, wrth ddynesu at yr hyfryd wlad, yn canfod y nefoedd a'r ddaear yn tirioni fwy-fwy; eu tymherau hwythau braidd yn llarieiddio. Gwr arfog o faintiolaeth anghyffredin ar farch tanllyd yn ymddangos iddynt, gan eu cyfarch fod llu o ragrithwyr gwenieithus yn dyfod i'w cyfarfod megis i'w croesawu;—yn eu hannog i'w darnio hwynt heb drugaredd, fel y byddai y wlad yn etifeddiaeth iddynt hwy a'u hâd ar eu hol; ac yn diflannu o'u golwg mewn modd erchyll. Dychryn mawr yn llu Gog;—amrywiol feddyliau ynghylch y ddrychiolaeth ofnadwy honno. Byddinoedd Gog yn bygwth lladd y sawl a grybwyllai unwaith am heddwch;—yn prysuro rhag eu blaen dan anadlu distryw. Pan ddaethant i olwg cenhadon heddwch, eu llidiawgrwydd a ddïarfogwyd dros ennyd wrth ganfod gwirionedd a chariad yn amlwg yn eu hwynebau. Meibion Duw yn cyfarch byddinoedd Gog gyda phob hawddgarwch. Hwythau yn addaw na ddistrywient mo honynt hwy y pryd hwnnw; ond yn bygwth rhoddi Caersalem ar dân, a dinystrio ei thrigolion a'i chaerau. Meibion Duw yn eu gwahardd yn garedigol, canys eu Duw hwy sydd dân ysol. Llu Gog yn ymgynddeiriogi, ac yn parottoi i ruthro arnynt. Llaw anweledig yn attal eu cynddaredd; hwythau yn ymderfysgu, ac ar fin dinystrio eu gilydd. Satan a'i luoedd yn esgyn o'u mysg hwynt i'r awyr. Ymrysonaeth ym mysg y cythreuliaid. Satan yn eu gostegu. Ei araith ef. Cenhadon heddwch, wrth ganfod mor anfuddiol eu cennadwri, yn ymadael mewn mawr ryfeddod, ond yn ddiofn. Byddinoedd Gog, mewn llidiawgrwydd tanllyd, yn cyfeirio rhyngddynt a Chaersalem;—yn rhyfeddu tirionwch y nefoedd newydd a'r ddaear newydd. Pan ddaethant i olwg y Ddinas santaidd, eu crochfloeddiadau cableddus hwy yn rhwygo yr awyr. Trigolion Caersalem yn anfon eu gweddïau i'r Nefoedd, ac yn rhoddi eu holl hyder yn Nuw eu Hiachawdwr. Pan fachludodd yr haul, fe welid yr awyr yn cymmylu yn ofnadwy uwchben Caersalem, ac megis dinas ar dân yn y cymmylau yn fflammio hyd entrych y nefoedd. Y chweched dydd, rhai o drigolion Caersalem, wrth ganfod byddinoedd annifeiriol ac arfau angeuol Gog yn amgylchu y ddinas, ac o herwydd y dychryniadau awyrawl, ac heb un arwydd o waredigaeth, yn ymofidio ac yn ofni rhag distryw cyffredinol. Eu brodyr yn eu cysuro, ac yn cadarnhau eu ffydd drwy amryw resymmau. Holl drigolion y ddinas yn canu cydgerdd o fawl i Dduw am fuddugoliaeth ar eu gelynion. Penllywydd llu Gog, ym mhlith ei gyfeillion gwallgofus, wrth glywed llef gorfoledd o'r ddinas, yn llefaru yn watworus iawn; ac yn rhith-ofidio nad oedd y seneddwr oedrannus o wlad Gog, yr hwn a fyddai yn arferol o ganmol caniadau Caersalem, yn fyw, ac yn bresennol i gydganu â hwynt;—yn bygwth mewn llidiawgrwydd tanllyd lwyr ddinystrio y ddinas a'i thrigolion dranoeth. Pan ddaeth y geiriau cableddus o'i enau, yntau yn marw o angau dieithrol a dychrynllyd. Ei gyfeillion yn ei gladdu ef yn ddirgel liw nos, ym mysg tyrfau a dychryniadau uffernol. Y seithfed dydd, pan dywynnodd yr haul, Satan a'i angylion yn diflannu o'r wybren. Byddinoedd annifeiriol Gog, wedi gosod eu harfau rhyfel mewn trefn, yn barod i danio a darnio caerau y Ddinas santaidd ar unwaith;—yn crochfloeddio, yn dirmygu ac yn cablu Enw y Goruchaf. Meibion Duw yn sefyll ar y caerau;—yn taer weddïo am gymmorth eu Tad nefol yn y cyfyngder mawr hwn; ac yn lledu ei addewidion o'i flaen Ef. Y ffurfafen yn cymmylu mewn digllonedd mawr;—tân yn disgyn o'r nefoedd, ac yn difa holl fyddinoedd Gog ar darawiad llygad. Y seintiau yn syrthio ar eu hwynebau. Goleuni rhyfeddol yn tywynnu o'u deutu. Caniadau gorfoledd annhraethawl yn llenwi yr awyr. Y seintiau yn cyfodi ar eu traed;—yn canfod myrddiynau o angylion Duw, cedyrn o nerth, yn

**entrych yr wybren, a chadwynau yn eu dwylaw;—yn prysuro ar unwaith o'u golwg hwynt. Y seintiau yn derchafu llef mewn gorfoledd, ac yn clodfori Duw y duwiau. Mihangel, Tywysog llu yr Arglwydd, yn ymddangos iddynt, gan sefyll ar un o dyrau y ddinas;—yn eu cysuro âg addewidion o heddwch tragwyddol;—bod eu milwriaeth wedi ei chyflawni;—bod yr ymweliad mawr hwn yn arwydd ac yn dystiolaeth o ail ddyfodiad y Messïah, mewn gogoniant, i farnu y byd mewn cyfiawnder. Yr Archangel yn esgyn. Y nefoedd yn ymagor. Angylion heb rifedi yn ymddangos o ddeutu yr wybren;—yn gogoneddu Duw;—yn gorfoleddu o herwydd bod heddwch cyffredinol ar y ddaear;—yn esgyn yn orfoleddus i Nef y nefoedd. Y seintiau ar y ddaear yn mawrygu ac yn moliannu Duw am ei holl drugareddau, ac am y waredigaeth fawr hon yn bennodol;—yn gweddïo ac yn hiraethu am ail ddyfodiad y Messïah, fel y gallont ei groesawu â chaniadau gorfoledd am ei holl ddaioni i feibion dynion.**

F' Awen, ehêd yn fywiog,
Mae 'n bryd, o dir gwaedlyd Gog.
Ym mysg rhawd ciwdawd o'u cof,
Fy enaid oedd glaf ynnof.
Dwyre, O ferch y daran!
Hed yn rhydd i'r gwledydd glân.
O Israel ddi wael ei wedd,
Dirioned yw dy rinwedd!
Ior ei hun sydd i'th fawrhâu,
Noddwr dy gyfanneddau.
Meibion santeiddlon y Tad
A gofiant eiriau gwiwfad
Celi, ac yn eu calon
Credant bur Air eglur Ion.
Daeth sôn yn brydlon i'w bro
A'i gwên waraidd, gan wirio
Fod ynfyd lu gwaedlyd Gog,
Wŷr gerwin amhrugarog,
Yn dynesu 'n dân ysawl,
Arfogion dewrion y Diawl.
Meibion cysurlon y Sant,
Lïosydd, ymgasglasant
I hyrwydd ymgynghori
Rhag gâlon creulon eu cri.
Ar diredd hyfryd eirian,
Wrth fin croyw afon loyw lân,
Yno 'n euraid y caid certh
Gronfawr orsedd gywreinferth;
Cenhadon hedd geinwedd, gânt,
Addwynion ymddiddanant.
Un gwr mwyn hygar a mâd
A gododd, ac mal gwiwdad
Golwg lon radlon a rodd;
Di druth arawd a draethodd:—
Urddasol rinweddol wŷr,
Unfrydawg fwynion frodyr,
Terfynau 'r amserau sydd
I ben yn neshâu beunydd:
Y mae Gog a'i arfog wŷr,
A Magog, ein dirmygwyr
Geirwon, yn d'od i'n goror,
Ri 'r tywod ym margod môr:
O'r ddeutu ai nesu wnawn
I dda achles heddychlawn,
I Salem, rhag traws elyn?
I gaer hedd? ai gorau hyn?
Rhag pob gelyn cyndyn caeth
Dïogel waredigaeth
I'w weision yr Ion a rydd,
O'i gariad, yn ei geurydd.
Pa arwydd rŷ 'n Harglwydd hael
I'w ddewis genedl ddiwael
Y bydd Waredydd wrth raid,
Tra enwog, rhag estroniaid?
Duwiol wŷr, rhowch wrandawiad
I les cyffredin y wlad.
Y nefolwawr benfelyn
Wr hardd eisteddodd ar hyn.
Gwron, o berffaith gariad
I les cyffredin ei wlad,
A gododd, a'i wirfodd wên
Oleuodd ei wedd lawen.
Heddychlon weision Iesu,
Ein Tad ydyw 'n Ceidwad cu.
Rhyfedd yw 'r mawr Iehofa!
A'i air y nef ddisglair dda
Fe wnaeth, a'r byd helaeth hwn
Alwodd; pob peth a welwn.
Er nifer a gyrdd-der Gog,
Y Llywydd hollalluog
A gair, mal tanllyd gorwynt,
A'u difa, a'u hysa hwynt.
Afreidiol caerau, frodyr,
I dduwiol ddewisol wŷr
Yn credu 'n eu Creawdwr;
Yr Ion da yw 'n cadarn Dŵr.
Mae 'n Harglwydd hylwydd o hyd
Yn Gaer, ein Duw a'n gweryd.
Coeliwch addewid Celi,
Ei nawdd sydd ddigon i ni.
O'i noddawl law, gan Dduw lwyd
Arwyddion i ni roddwyd;
Mawrion arwyddion a rodd;
Olynol Fe gyflawnodd
Ei odiaeth addewidion,
Wir Ior hael, hyd yr awr hon.
Dduw Noddwr, Fe ddaw 'n addien
A'i waith yn berffaith i ben.
Gwr cyfion dedwyddlon da,
Cywir, fu Hesecïa:
Yn ufudd y rhodd dan ofyd
I'r Ion ei galon i gyd.
Am anfarwol nerthol nawdd
I fynu fe ddanfonawdd
Ei gŵyn, ei weddi 'n gennad
Ryfedd at orsedd y Tad.

Mewn grym yn gyflym daeth gwych
Gennad o'r Nefoedd geinwych:
Gelynion hydron, yn hawdd,
Astrus, a lwyr ddinystriawdd.
Os cri, os gweddi un gwr,
A'i grêd yn ei Greawdwr,
Drwy nerthawl effeithiawl ffydd,
A lwyddai'n y Goleuddydd,
Dïau gan Dduw gwrandewir
Myrddiynau, mae'n olau'n wir.
Gariadlon weision Iesu,
Clywch yn awr fy'm cyngawr cu:
Pennoder dydd, pan ydym
I ddeisyf urddas, gras, grym
O Nef, a lledu a wnawn
Ei ddedwydd addewidiawn
Ger bron yr Ion ar unwaith;
Trosom ni gweddi wna'r gwaith.
Gennym mae'n y Nef Gynnawr,
Archoffeiriad mâd a mawr;
Ei hyglod awdurdod Ef
A lanwodd yr oleunef:
Mae teyrnas wynnias Annwn
Dan awdurdod hynod hwn;
Mae'r ddaear hawddgar o hyd
Yn ufudd i'r Ion hefyd:
Iesu, Fab anwylgu Naf,
Ac Iesu, 'n Câr agosaf.
Er mwyn y Câr hawddgar hwn,
Er ei fwyn yr erfyniwn,
Drwy wir grêd, am nodded Naf,
Hael anwyl Dad ffyddlonaf.
Er pur Enw'r Hwn a'n prynawdd,
Daw gweddi i ni â nawdd.
Dadseinied, moled pob mant
Ac enaid ei Ogoniant.
Y gymmanfa geindda gaid
Yn unair, yn un enaid,
Weis anwyl, yn cydsyniaw;—
I'r cyflon, nawdd Ion a ddaw.
Mawl am ragorawl gariad,
Nef a llawr i'w Enw mawr mâd.
Ar hyn eisteddant yn rhwydd,
Weis tirion, mewn distawrwydd.
Cododd gwr enwog gwed'yn,
Gan draethu'n harddgu fel hyn:
I ddynion, da oedd eni
Ein Ceidwad anwylfad ni.
I'r duwiol mae'n fuddiol fod
Ei Feichiau'n y Nef uchod.
Ar groes, drwy fawrloes, o'i fodd,
Ein dyled Ion a dalodd.
Mae gallu'r Iesu a'i râd,
Lyw geirwir, fel ei gariad.
Daeth Cariad â'r mâd Ior mawr
O ogoniant Nef geinwawr
I'r ddaear wael, â'i hael hedd
I'w elynion creulonwedd.
O feibion tirion y Tad!
Gwiriwn ein perffaith Gariad:
Yn hael eled rhai'n hylwydd,
O galon gariadlon rwydd,
I gwrdd â byddinoedd Gog;
Y Llywydd hollalluog
Fydd bresennol nerthol Nawdd
I'w weision a ddewisawdd.
Er eu gwg a'u hagrddrwg hynt,
Ni wedir, dynion ydynt.
Er torfoedd dyfnderoedd dig
Annwn, a'u llid gwenwynig,
Yn Enw Duw, pwy ŵyr nad oes
Rhai gwŷr yn rhywiog eirioes,
Parod i dderbyn puraf
Gariad ein hanwylfad Naf?
Rhyfeddasom, gwelsom gynt
Rai hynod wŷr o honynt,
Rhinweddol, a rhan addas
O fendith, o groyw-wlith gras.
Er cariad y Duw mâd mawr,
Wyrennig wŷr eirianwawr,
Ni awn yn hyfiawn mewn hedd,
Rai o honom, mae'n rhinwedd,
I gwrdd annhrugarog wŷr
Magog, ein hen ddirmygwyr.
Os gellir o'u mysg allan
Waredu, tynnu o'r tân,
Ryw nifer, ceiff Ior nefawl,
Drwyddynt hwy, fwy-fwy o fawl.
Gweision cysurlon y Sant,
Mewn cudeb mwyn y codant,
Gan draethu'n groyw mewn hoyw hedd
Ar unwaith,—Mae'n wirionedd!
Hyfawl yw'r cyngor hefyd,
Mae'n gyfiawn gyfiawn i gyd.
Y nefawl brydyddawl dân
Ennynnodd; hwy Ion unan'
Ym mawl rhesymmawl y Sant,
A'i Fawredd gyd-glodforant.
Eu mawl pan glybu miloedd
O'r dynion gwiwlon ag oedd
O draw yn gwrandaw, daeth gras
Mewn cyflawn eurddawn urddas
I'w mynwes; cân ddymunawl
O'r ddeutu a fu o fawl.
Molant drwy ddiffuant ffydd
Hoff Enw eu Hamddiffynnydd:—
Hawddgar Iesu, Dduw grasawl,
Gwrando Di'n gweddi'n y Gwawl.
A golygon ffloywon fflwch,
Burdeg wŷr, llawn brawdgarwch,
Nawsaidd ymgusanasant,
A phawb i'w taith ymaith ânt.
Drwy wledydd dedwydd a da
Hyfawl weision Iehofa,
Gweddïau bunâu a wnant
Gynnu at Dduw'r Gogoniant,
I ddeisyf am nawdd Iesu
Rhag Satan a'i lydan lu.
Gog a'i wŷr, mewn gwg eirias,
A mawr swn, ac Annwn gas,

Beunydd y sydd yn neshâu,
Drwy niwl, i dirion olau.
Nodant fawr gyfnewidiad
Ym mlas-ber lawnder y wlad.
Yr haul sydd eglur hoywlwys,
A'r wybren sydd lawen lwys.
Wyneb nattur, dan wenu,
Wnaeth braidd yn llariaidd y llu.
  Gwelant, synnant dros ennyd,
Y mawr-lu ganfu i gyd
Wr arfog, ar fywiog farch,
Naw cufydd, yn eu cyfarch:
Fawreddog lu Gog, loyw gâd,
Ar fŷr daw gwŷr digariad
I'ch croesawu 'n gu eu gwaith,
Ag wyneb yn llawn gweniaith.
Er moliant, arwyr milain,
Derniwch a rhwygwch y rhai'n:
Rhuthrwch, a lleddwch eu llu
Yn hawdd, can's maent yn haeddu,
Ynfydion gweigion; a gwaeth,
Diddysg mewn planedyddiaeth;
Heb dduwiau, heb arfau'n bod,
Heb un cadarn benciwdod;
A'u goludog dêg wledydd
I'ch plant yn feddiant a fydd.
  Ymhyllu, wrth draethu 'n drwm
O'i geudod, wna 'r hagr gidwm;
A'i lygad, yn anad neb,
Yn tanio gan wylltineb.
Ar ol i'r Hudol fawrhâu
Gorwyllt lu Gog mewn geiriau,
O'r gwawl, mewn rhyfeddawl fodd,
E fileinig ddiflannodd.
  Treiddio wnaeth dychryn trwyddynt;
Medd llawer o'u hamlder hwynt;—
O'r Gwawl, i'n hollawl fywhâu,
Y deuodd un o'r duwiau!
Ond eu tad, Gog enwog, oedd
O feirw, meddai niferoedd,
O'r bedd ddaeth i'n rhybuddiaw,
O'r bedd! ba ryfedd o'n braw!
Gorphwys yn dy farwddwys fedd
Yn hyfwyn mewn tangnefedd!
Eirchion d'ysbryd tanllyd ti
Yn lanwaith wnawn gyflawni!
  Yn waedwyllt addunedant
Mai darnio 'n union a wnant
Y gwr, drwy ffol drugaredd,
Wnai son am genhadon hedd.
Byddinoedd, yn gydfloedd, gânt,
Am oriau a furmurant,
Er yn llwyr na ŵyr bunâu
O'r dychryn beth fu 'r dechrau.
Gawriant ddïaledd gorwyllt,
A'r wybren harddwen a hyllt:
Drwy 'r glaerwen ffurfafen faith,
Dïaledd glywid eilwaith!
  Eu cadau 'n rhestrau cedyrn
Frysiant, farchogant yn chwyrn,
Yn ddreigiau cynddeiriogiawn,
Yn waedlyd, yn danllyd iawn.
  Cu weision Duw 'n llawn cysur,
Cariad sydd beunydd yn bur,
Wele! daethant i olwg
Y lluoedd draw, llewaidd, drwg.
Gwâr eu moes, gyd â'r gwŷr mâd,
Rhagorawl eirber *Gariad*
A *Gwir* wyneb-egored,
Heb fraw, a'u dwy law ar led,
A welir;—waedlyd âlon,
Drwy *Gariad*, f'aeth brâd o'u bron.
  O ein Duw, ffyddloned wyd!
Dorf agwrdd, dïarfogwyd
Gelyniaeth o galonnau
Creulon y gwŷr geirwon gau!
Mor wrol ac mor eirian,
Mor gu oedd y gloywlu glân,
Yn eu heirdd olygon hwynt
Angylawl wawl a welynt.
Bu arfog dorf Gog i gyd
Mewn dychryn sŷn dros ennyd.
  Medd ffyddlon weision Iesu,
Croesaw i'n mâd geinwlad gu!
Gennym y mae digonedd,
Drwy râd ein Hael-Dad, mewn hedd.
Llawnder a rodd Nêr i ni;
Ninnau wnawn lawn haelioni.
O frodyr! mae 'n afreidiawl
Am eirf, ond gweddi a mawl.
  Tân Annwn etto ennynnawdd
Y gâlon hydron yn hawdd:—
Na soniwch yn gamsyniawl
I ni am weddi a mawl!
Rhowch heibio ragrithio, grym
Gwynnias arfau sydd gennym.
Yn hyf ni fynnwn hefyd
Lawn barch, rheolwn y byd.
Gan i chwi roddi in' rwydd
A haelwych groesaw hylwydd,
Chwi 'n wir arbedir, a byw
I'ch baddef a gewch heddyw.
Ond myn y didraul haul hwn,
Eich dinas chwi a daniwn:
Y ddinas, a'i holl ddyniawn,
A'i chaerau'n garneddau wnawn!
  Medd meibion rhadlon Ior Hedd
A geiriau llawn trugaredd;
Oh ynfydion trawsion twch,
Arfogion, na ryfygwch
Gynnyg dinas Gogoniant,
Can's dyna orseddfa 'r SANT!
I'w elynion creulonaf,
Nerthol Dân ysol yw Naf.
Heddyw gwrandêwch wahoddiad,
Eiriau pêr tyner y Tad.
  Y frydwyllt dorf ruadwy
Ni's medd mo'r amynedd mwy.
Cleddyfau fyrddiynau ddaeth
O gul weiniau gelyniaeth

I grwn dywallt gwirion-waed,
I'w trochi, golchi mewn gwaed.
Plaid o'u pennaethiaid â nerth
Arfau, neu araith eurferth,
Gadwant wŷr melltigedig
Rhag tywallt pwys dwys eu dig,
Mewn braw rhag c'wilyddiaw clod
Eu dewrder a'u hawdurdod.
Y Llaw sy 'n cadwynaw 'r dòn
Sy'n gwared gweisiawn gwirion.
I ddifai blant Duw Ddofydd
Llai cryndod na syndod sydd.
Hael weision Duw, pan welsant
Yn wir nad ffynnu a wnant,
Mai ofer yw doethder dyn,
Hwy giliant rhag y gelyn.
Arfog dorf Gog sy'n gygu
Yn lloerig ddiawledig lu.
Drwy y ferwawg dorf eirias
Mae twrf a chynnwrf a chås
A braw 'n bygythiaw 'r gwŷr gau
A mawr ddinystr myrddiynau.
Ymderfysgu wna 'r llu llawn,
Mal twrdd agwrdd yr eigiawn
Pan fo rhestrau 'i donnau dig
Rhuadwy 'n gyffröedig
O herwydd hynt corwynt certh,
Fileinfawr ryfel anferth.
Rhag eu lladd a rhwygo llu
Anfadawg wrth ynfydu,
Satan, yn fuan fywiog,
O ynfyd lu gwaedlyd Gog
Escynnodd i'r tês cannaid
A'i weision hyllion yn haid.
Hwy addig groes-gyhuddant,
Drwy g'wilydd, eu gilydd gånt,
Yn daerion, mewn gwŷn deryll,
O herwydd eu hafiwydd hyll.
Ys, etto, brochodd Satan,
A'i olwg dyfnddrwg yn dân:
Gostegwch! a feiddiwch fod
I'm drylliaw mewn trwm drallod?
A ddywaid air, iddo daw
Dinystr cyflym am danaw:
Poenaf ef â'r un penyd
Sy 'n llosgi 'm bron hon o hyd.
Crynu a wna 'r dewrlu dig
O flaen Satan fileinig:
Gan ei olwg hagrddrwg hyll
Duo wna 'r wybr yn dywyll.
Er inni golli ein gwaith
Mileinwyllt, a'n mawl unwaith,
Ein malais a'n dofn drais drom,
Wych eu lles, ni chollasom.
Ein llid, mal tân hyll ydyw,
Ni chollwn tra byddwn byw.
Awn mewn dichelliawn a chås
I feddiannu 'r brif-ddinas.
Yn eu tyrau, caerau certh,
Erfawr balasau eurferth,
A'u cryfion byrth gwychion gânt,
Odid nad ymddiriedant.
Ar gau sylfaenau mor fas
Hawdd iawn gorchfygu 'r ddinas.
Drwy ddirgel dwyll dyfn-ffel du
Dynion ellir eu denu,
A'u hudo 'n llwyr o'u hyder,
O dan nawdd edyn eu Nêr.
Yn dêg tynged a'n dygawdd
I'r golau 'n heidiau yn hawdd:
Bydded ond tynged o'n tu,
Ac Annwn geir yn gwenu.
Soddwn i Annwn wynnias
Y crwnfawr fyd gloyw-wawr glas.
Rhyfeddwch, gwelwch lu Gog
Ar weryrfeirch, wŷr arfog,
Yn orwyllt dorf aneiri',
Yn ffyddlon weision i ni.
Cofiwch eilwaith eich gwaith gynt,
A chwiliwch beth fu 'ch helynt.
D'wedwch, Cythreuliaid ydym,
Uffernol, aruthrol rym:
Dinystr mawr ym mhlith dyniawn
Yn ffrom a wnaethom, a wnawn!
Enwog bennaethiaid Annwn,
Gan falchder a hyder hwn,
Eu Llywydd, yn hyll ewybr
Hwy rwygan' weithian y wybr
A thair gawr aruthr i gyd,
Ag edlym olwg waedlyd.
F' â'r Diawl a'i nifer dilorf
Yn fflammawg hedegawg dorf,
Yn ddewrffel, yn ddïorphwys,
At Sïon oleulon lwys.
Cynddeiriog dorf Gog i gyd,
Hyfion a chreulon hefyd,
A'r dreigiau hagr drwg eu hwyl
Hyd wyneb y wlad anwyl,
Fal rhedwyllt li' rhuadwy,
Heb ardal i'w hattal hwy.
Wŷr addig, fal yr oeddynt
Yn brysio 'n hyfion i'w hynt,
Meddant, tra rhyfeddant fâd
Loywlwys ffrwythau 'r oleuwlad,
Haul y nef, mor hoywlon yw!
Gwridog a hawddgar ydyw.
Mae'r ddaear hardd fel gardd gu,
Gardd lesol yn gwyrddlasu.
Deildew, newydd yw 'r doldir,
A'r nef sydd newydd yn wir.
Gwelwch, ffodd y trigoliawn,
Ni bïau 'r wlad lwysfad lawn:
I'w dinas ffodd y dynion,
Nid hawdd y ffoant o hon.
Duwiau a phlanedau nef,
Yn gu edlym, yn gydlef,
Yn dêg hyd yma 'n dygawdd;
Mor gerth yw eu nerth a'u nawdd.
Ni gurwn, drylliwn gaerau
Digalon drigolion gau;

A'r byd o'i gŵr, heb oedi,
Ddaw 'n gaethion weision i ni.

Yn fawr dorf annifeiriawl,
Pan ganfu dewrlu y Diawl
Salem, y ddinas heulwawr,
Unant, hwy godant eu gawr
Groyw-wyllt, gan rwygo 'r awyr
Degwedd, mewn digllonedd llwyr.
Laned, meddai'r gelynion,
Yw 'r ddigardd ddinas hardd hon!
Po fwyaf, po harddaf hi,
Enwau mwy a fydd inni
O'i llwyr ddistrywio, mewn llid,
A darnio ei chadernid.
Dduwiol anwyl ffyddloniaid,
Rhai 'n ar y gaer gain a gaid:
Eu dwfn ruad nid ofnant,
Hyderu yn Iesu wnant.
O draw, tra clywant ruad
Yr astrus ddrygionus gâd,
Tosturiant tra gwelant Gog
Yn erfawr fyddin arfog.
Ond rhaid cwblhâu geiriau'r Gwir,
Iawn ydynt, ni's newidir.

Yr huan eirian pan aeth
O'r hoywlon awyr helaeth,
Duo 'r dwyrain yn dywyll
Wnaeth cwmmwl hagrddwll a hyll:
Trwm uwch Caersalem y trodd,
Fe waedlyd ymsefydlodd
Yn llidiog, ac yn llydan
Eirias, mal dinas ar dân.
Gan ei nerth, y nef gerth gu
Yn wynnias wnaeth ennynnu.

Llïaws Gog oedd yn llawen;
Ynfydu wnant ganfod nen
Y nefoedd oll yn ufel;
Arwydd yw o ddistryw ddêl
Ar Salem eres helaeth;
Ei hagr awr ddirfawr a ddaeth:
Daeth eu gweledigaethau
Oll yn heirdd i'w llawenhâu.
Anwyliaid Ion a welant
Y tân gwyllt, mal tonnau gànt
Yn torri, 'n gwreichioni 'n chwyrn,
I gyd yn eirwon gedyrn;
A niwl anghynnefin oedd,
Hyll nifwl drwy 'r holl nefoedd!
Gwae o'u bod, mellt gwibiedig
Trwy 'r dyfn-nos yn dangos dig!
Arwydd o ddistryw irad
Merch Sïon ufuddlon fâd.

Cyfiawnlu 'r Iesu a rydd
Nefawl obaith yn Nefydd:
Dïymmod ym mhob damwain,
Wŷr heirdd a santaidd, yw rhai 'n.
Ni wyddom, Satan addig,
Dy fod yn dyfod mewn dig
A braw i'n dinystriaw ni,
Dinystr arnat a dynni.
Diles yw pob hudoliaeth;
Ein Nêr yn ofer a wnaeth
Holl weniaith a thwyll Annwn,
Teirf ein Ior cu 'r hagrlu hwn.
Dinystr ddêl ar rawd Annuw,
Yn d' achos ymddangos, Dduw!
Ymddyrcha, teyrnasa 'n Ior,
A gwawria ym mhob goror;
Gwasgar hwythau 'r dreigiau drwg,
Ti elli, i'w Tywyllwg.
Dirion Ior, dyro i ni
Lawenydd a goleuni.

Mawr swniaw 'n ymrysonwyllt
Wna Gog annhrugarog wyllt:
Yn danllyd a gwaedlyd gwau
Yn eirwon wna 'u banerau.

Ar wên yr haul eirianwawr,
Y cwmmwl marwddwl a mawr
Ymchwalodd, tanodd y tês
Ei geinwych wawl yn gynnes.
Sawdwyr Gog a osodant
Eu trymmion eirf geirwon gànt,
Fyrddiynau 'n rhestrau, a rhai 'n
Gyfeiryd â'r gu firain
Ddinas, ryfelgar ddynion,
I ddarnio caer harddglaer hon.
Bloeddiant ynfyd gableddau
Yn erchyll drwy 'r gwersyll gau.

Pan ffodd, pan giliodd y gwawl,
Y Gethern yn fygythiawl
Ennynnant, â thân Annwfn,
Y Nef bêr, mewn digter dwfn.
Tonnawg oedd fflammau 'r tân gwyllt,
Tew, garw, mal ar wynt gorwyllt.
Gwylltion oedd y Gwyllon gau,
Croch ydoedd eu 'screchiadau.
Hagr olwg! a rhy greulawn
I Gog a'i dorf lidiog lawn.
Ddyddiau a nosweithiau 'n syn
Bygylu bu y gelyn,
A chablu'r Iesu, wir Ion,
A gawriau erchyll geirwon.

Hoywfad haul y chweched dydd,
Gwrol, pan ddaeth i geurydd
Y dwyrain, rhai ymdyrrant
O feibion sywion y Sant,
Gan gwynaw fod braw 'n eu bron,
Ysywaeth, rhag cassion:
Ein Tad, ein hanwylfad Nawdd,
Yn fynych gynt, anfonawdd
Angylion glwysion i'n gwlad
A geiriau 'n llawn o gariad.
Ni welwyd glân anwylwedd
Cenhadon rhadlon Ior Hedd,
Ni wyddom, hir flynyddau;
Gwae ni, hyn sydd i'n gwanhâu.
Pa lygredd, pa drosedd drom,
Iesu anwyl, sy ynnom,
I beri cau 'r Nef burwen,
Ardaloedd bydoedd uwch ben?

Iachawdwr mawrwych ydwyt,
Cyfryngwr, Eiriolwr wyt,
Oh 'n Brenin a'n drud brynawdd!
Cymmer Di ni dan dy nawdd.
Oh 'n Hargiwydd hylwydd, pa hyd?
Ai 'n gydlef ceiff gwŷr gwaedlyd
Ddifenwi dy Enw di, Dad,
Dduw unig, santaidd Ynad?
A roi Sïon lon o'th law,
Dan estron, i'w dinystriaw?
Caled ydyw 'r dydd, Celi,
Oh Dduw Nef, gwrando 'n gwaedd ni!
  Pan glywodd, ymgasglodd gwŷr,
A'u bryd oedd nerthu 'n brodyr:
Ow 'n cyfeillion mwynion mâd,
Mae 'r Geirwir mawr ei gariad
Yn ffyddlon; heb uno'n bydd
Nêr odiaeth yn Waredydd.
Yn ei Air pur eglur iawn
Ydyw ei addewidiawn.
Ai ammhau wnawn ninnau nawdd
Y Brenin a'n drud brynawdd?
A wna 'n llu ryfygu 'n faith
Groeshoelio Ior gras eilwaith?
Iawn ydoedd i'r Ion oedi
Ei nawdd, mal y profai ni.
Gofynwch i gyfiawnion
Genhadau 'r wlad harddfad hon,
Laddwyd un o luoedd da
Hyfwyn y mawr Iehofa
O fewn ein holl derfynau
Gan eirf Gog a'i gynnwrf gau?
Na ddo un yn ddianwir;
Ein Duw mâd yw Tad ein tir.
Pa fflammau 'r nosweithiau sydd,
Baranawg, drwy 'r wybrennydd,
Yn chwai mal pe llosgai 'n llwyr
Gu luoedd y gloyw awyr?
Pa Law sy 'n cadwynaw dig
Y wyllt gâd felldigedig?
Coeliwch, nid neb ond Celi
Sy 'n lluddio 'n dinystrio ni.
Pa derfyn i'r gelyn gau,
Ti, Nêr, wyddost yn orau.
Daionus ryddid inni,
Anfon, Nêr, yn d' amser Di.
Iesu, dod i'th weis dedwydd
Wir obaith, a pherffaith ffydd.
Duw 'r Hedd, yn y trymder hwn,
Dy gysur Di a geisiwn.
  Trodd eu gweddi ddifri' ddoeth
Yn bergerdd Awen burgoeth:
Ennynnawl dân yn union
O'r Nef, mewn melyslef lon,
A lanwodd y ffyddloniaid;
Pob bron yn gysson a gaid,
Pob tafod eiliedd glod glau,
Ddi daw, i Dduw y duwiau:
Llefau, eu odlau cydlef
Mal mawl côr nerthawl y Nef.

  Cynddeiriog dorf Gog agwrdd
A glyw 'r mawl rhagorawl gwrdd:
Ynfydant, gawriant i gyd
A chwerw unllef ddychrynllyd.
Blaenawr lluoedd garwfloedd Gog,
Hylaw areithydd halog,
Gyd âg ynfyd waedlyd wŷr,
Yn ei babell, yn bybyr,
Watworodd ddeilliaid tirion
A'u mawl pereiddiawl i'r Ion:
Clywch, medd ef, on'd yw llef llu
Y ddinas i'n diddanu?
On'd garw a fu marw mirain
Seneddwr, pen cantwr cain
Gwlad Gog ardderchog? na ddaeth,
Mawr alar! cyn marwolaeth,
I'w fawr ddinas farddonawl?
Wr mwyn, ni chlyw air o'u mawl.
  Ei gyfeillion gweigion gânt,
A gysson ddirmygasant
Sïon; hwy wnant is awyr
Trwyddi ei llosgi yn llwyr.
Prif lywydd dig'wilydd Gog,
Wron anwar ennynnog,
Ymrwymodd, dyngodd i'r Diawl;
Fory eu hannifeiriawl
Dorfoedd, a'u caerau dirfawr,
A ddarniaf, llosgaf i'r llawr.
  Yn union, cyn i'w enau
Wneud diwedd o'i gabledd gau,
Fflammau o boenau di baid,
Gwynnias, mewn corph ac enaid,
A ddifaodd ei fywyd,
A'i gorph a dduodd i gyd!
Dychryn du i'r llu 'n y lle
Fu 'r amlwg olwg aele.
Mawr ofni cyhoeddi hyll
Arwchwyrn farwolaeth erchyll
Eu t'wysog nerthog a wnant;
C'wilyddus hwy a'i claddant
Ar fyrder yn nyfnder nos
Heb eiriau ac heb aros:
Nos lidiawg, dyrfawg heb dawl,
Ydoedd, annesgrifiadawl.
  Olwynawg haul a wenodd,
A'r llu Uffern-ddu a ffodd.
Pelydrawl ddwyreiniawl rym
Yr haul, reolwr hoywlym,
Oleuodd, baentiodd yn bur
Bennau 'r pinnaglau 'n eglur.
Os Gog a'i galonnog lu
Diras, sy 'n llawn hyderu
Yng nghryfder eu hamlder hwy,
Rhydaer lewod rhuadwy,
A ffynnant, llwyr orphennir
Caer hedd, gogonedd, a gwir:
Ni welir mâd glodadwy
Hardd gaer hedd, na'i mawredd mwy!
  Pa grochfloedd gan dorfoedd dig?
Och o'r nâd ddychrynedig!

Dwys anferth ruad swnfawr!
Braw i mi ydyw 'r berw mawr!
Utcyrn cedyrn eu cadau
Sy 'n llawn bur-hylliawn barhâu
A gawr eu dirfawr dyrfa
O gwmpas y ddinas dda.
Santeiddlon weision Iesu,
Gariadus olygus lu,
Safant ar gaer harddglaer hedd,
Ac ar Enw Duw 'r gwirionedd
Y galwant gyd â'u gilydd
Mewn gobaith a pherffaith ffydd.
Gwelant dorfoedd bygylog
Yn rhestrau, ac arfau Gog,
Beiriannau taranau res,
Mae Annwn yn eu mynwes,
Ar danio, i ddarnio 'n ddig
Gadarn gaer fendigedig.
Gwrolion hagr a welant
Yn gedyrn, yn chwyrn eu chwant,
'N bloeddiaw; â'u dwylaw dalian'
Gorsennau y tyrfau tân,
Yn barawd i'r ddifrawd ddu,
Ar unwaith i daranu.
Y rhyfygus arfogion,
Gau rawd, sy 'n dirmygu 'r Ion.
Oh Dduw Dad, ddued ydyw!
Oh f' Arglwydd, pa arwydd yw!
Cymmylau yn dorchau dig,
A mawr lid mor weledig!
Mae 'r wybren,—Oh 'r fellten fawr!
Llenni o dân digllonwawr,
Byw, amlwg, wnaeth heb ymladd,
Ar d'rawiad llygad eu lladd!
Fy Nuw ydwyt ofnadwy!
Nid yw Gog na Magog mwy!
Yr anferth dorf lwyr ynfyd,
Meirwon yw 'r gâlon i gyd!
Dyfnion seiliau 'r byd ofnant,
Crynu ac ennynnu wnant.
Parodfawl seintiau prydferth,
Funâu, ar y caerau certh,
Nawsaidd anwylion Iesu,
Syrthiant i lawr, lwysfawr lu,
O ddeutu 'r harddlu, ar hyn,
Discleiriodd yn dês claerwyn.
O'r gloyw awyr hwy glywan'
Annhraethawl ragorawl gân.
Hwy godant a gwelant gain
Lawn gôr y Nef lon gywrain:
Cedyrn o nerth, cu ydynt,
Adeiniawg a gwenawg ŷnt.
Dirioned yw gweled gwawr
Fwyn-fâd meibion Nef wenfawr!
Gwelant gan anwylblant Nêr
Luoedd, gadwynau lawer.
Pur seirian lu, prysurant,
Yn ewybr o'r wybr yr ânt.
Wele anwyl lawenydd
I feibion Sïon y sydd!
Gweision caredig Iesu,
Hoenus orfoleddus lu,
Mewn syndod, unant glod glau
Hyd awyr i Dduw 'r duwiau.
Galluog Dywysog da
Hyfaeth luoedd Iehofa,
Safodd ef, was ufudd Ion,
Ar dŵr, yn eglur dirion;
Uchel Fihangel ei hun,
Oleulwys, yn ei loywlun:
Gwenodd, llefarodd yn fwyn
Wareiddiol: O wŷr addwyn,
Nac ofnwch, can's heddwch hir
Heddyw i chwi gyhoeddir.
Rhwymwyd, anfonwyd y Fall,
Y diriaid, i Fyd arall,
A'i gadau melltigedig,
I Lyn y dychryn a'r dig.
Yma ni bydd mwy ammhwyll,
Na rhyfel, na dirgel dwyll.
Daeth eich milwriaeth yn lân,
A bu 'n waith, i ben weithian.
Hil y fendith hael fwyndeg,
Eich ffydd aeth â'r dydd yn dêg.
Ein Harglwydd a'ch Harglwydd chwi,
Heddwch byth mae 'n gyhoeddi.
Meirwon yw 'r gâlon, gwelwch,
F' aeth bloedd eu lluoedd i'r llwch.
Cloddiwch feddau lle 'u cleddir,
Purwch, santeiddiwch y tir.
Eich gweddi ddifri' pan ddaeth
Yn hylwydd i'r Nef helaeth,
Yn union, rhyfeddlon fodd,
Gwir Oen Duw a'i gwrandawodd.
Yr Iesu mawr roes i mi
A glân luoedd Goleuni
Orchymmyn dichlyn a dwys,
Em wiwglod, am ei Eglwys,
Ei dyner Brïod union,
A gwerth gwaed ei friwgerth fron.
Nid o berwydd, f' Arglwydd, fod
Un achos i'r Ion uchod,
Na rhaid i'w lawn Fawrhydi
Wrth luoedd ein nerthoedd ni,
Ond beunydd er rhydd fawrhâu
Gwiw Roddwr trugareddau,
A rhoddi i'n Ior haeddawl
Barod ufudd-dod yn fawl.
Felly yn hynny mae 'n hedd
Gwir felys, a'n gorfoledd.
Yn Salem, ddinas heulwawr,
Ffiangellwyd, dirmygwyd mawr
Fyw Lywydd y Nef lawen;
Drain fu 'n ddwys bwys ar ei ben.
Y trag'wyddol nerthol Nawdd,
Caersalem a'i croeshoeliawdd.
Dwys, dwys, ar enaid Iesu
Digter Cyfiawnder a fu.
Talodd ofyniad dilys
Cyfiawnder drwy chwerwder chwys.

Geirber Gyfiawnder a fŷn
Ei godi yntau gwed'yn
Yn goronawg eirianwych
Benllywydd tragywydd gwych.
Felly ceiff ei gyfeillion
Drugaredd a hedd gan hon.
Y Tad mâd a gymmododd,
Ei Fab ennillawdd ei fodd.
Urddasol rinweddol wŷr,
Yr ydych iddo'n frodyr!
Gennych, er dirfawr gynnydd,
Gorau sail, ei gu Air sydd.
Y byd i gyd, yn gadarn,
Nêr, mewn cyfiawnder, a farn.
Tystiolaeth helaeth yw hon
O'r gofwy ddaw 'n wir gyfion:
Arwydd dyfodiad eirian
Mab Duw, a'r diluw o dân.
Yna 'n wir gwelir, mewn Gwawl,
Iesu Ynad personawl.
Y mae 'r Dydd mawr diweddaf
Yn amlwg dan olwg Naf.
Ni ŵyr neb ond ein Ior ni,
Coeliwch, ddyfodiad Celi.
Pa oleuni ysplennydd!
Annhraethawl ryfeddawl fydd!
Chwi, ei ddeiliaid, ŷch ddilyth,
Ac i gyd gwŷn eich byd byth.
Mae 'm llywodraeth helaeth i,
Dan Ior duwiau aneiri',
Yn gofyn im' esgyn; mawl
Gweddus i'r Duw trag'wyddawl
A rodder; Fe foler fyth,
Yn ddi dawl, dda Nawdd dilyth.
Mynych, wrth eich dymuniad,
Angylion tirion y Tad
Ad-ddeuant, hwy 'ch hoffant chwi,
O feibion cu-lon Celi!
  Yn union, yn hoywlon hawdd,
Gadarn Angel, ymgodawdd.
Ac uwch ben, y nef wên fawr,
Ogylch, welwyd yn egawr,
A nefawl belydrawl wedd
Meibion gwynnion Gogonedd!
Buddugawl fawl gan filoedd
O lu y Nef lawen oedd
Yn neutu caerau nattur
I'r Ion a'i waith perffaith pur.
  Diwair weis daear isod
A'u gwelant, hwy glywant glod
Anfarwolion, loywlon lu
Gogoniant yn gwiw ganu
Anrhydedd, mawredd a mawl
Gweddus i'r Duw trag'wyddawl.
  Gan amlder disgleirder glwys
Puredig lu Paradwys
Yn rhywiog iawn yr huan
Guddiodd ei hoyw wedd loyw lân.
Gan degwch gweinidogion
Y cu wâr Iesu, wir Ion,
Draw e wêl daearoliawn
Mor wych raid fod llewych llawn
Y nefawl orseddawl Sant,
Eu Gwiw-Nêr, mewn Gogoniant.
Y nerthoedd, yn gyhoedd gôr,
Arwyrant i'w claer oror,
Dan ganu yn llu llawen
Gerdd fawl wir haeddawl i'w Rhên:
Ein Naf, Awdwr tangnefedd,
I'r ddaear rodd hawddgar hedd!
  Nattur yn gysson-bur sydd,
Olynol, gan lawenydd,
Yn parhâu eu hodlau hwy,
Aml wiw-dôn ganmoladwy:
Ein Naf, Awdwr tangnefedd,
I'r ddaear rodd hawddgar hedd!
  Yr haul, drwy 'r awyr helaeth,
I'w ryfedd degwedd y daeth.
  Wrth glywed, a gweled gwawr
Lawen torf Nef oleuwawr,
Dedwydd ryfeddod odiaeth
Barodd gau pob genau 'n gaeth
Hyd yn hyn; ond gwed'yn gawr
Lwys-fâd gan dorf lïos-fawr
Y ddaear gerddgar i gyd,
Glod hyfedr, glywid hefyd:—
Halleluia! da yw 'r dydd!
Gŵyl anwyl gwiw lawenydd!
Duw 'r Hedd! mae 'th drugareddau
Pur o hyd, byth yn parhâu!
Dylem roi mawl mal diluw,
Moler a bendithier Duw!
Ior hael, gwel, clyw ni 'r awr hon,
O Geli, gwel y galon!
Mae d' orch'mynion doethion Di,
Dduw anwyl, yn dda inni;
Hoff ydynt, argraphedig
Ar ffyddlon galon o gig:
Cedwir y sawl a'u cadwant,
A gwobr annhraethadwy gânt.
Clyw fawl d' orfoleddawl lu,
Dy weision, ein mâd Iesu.
Gwaredaist, adferaist fyd
O'i feiau byth i fywyd.
Gelynion blinion dy blant,
A'u dwysion drallodasant,
Orfyddaist, drwy wâr foddion,
Drwy lanhâu briwiau eu bron;
Drwy ras y mae 'th deyrnas Di,
Nêr hylwydd, yn rheoli.
Gallu mawreddog ollawl
Sydd hefyd gennyd mewn Gwawl.
Gâlon gorhydron, bob rhyw,
Ti hawdd orchfygaist heddyw.
Uwch ydwyt, ein Hiachawdwr,
O raddau na geiriau gwr:
Uwch hefyd, Ior tra chyfion,
Na mawl y ddifrifawl fron.
Dawnus Waredydd dyniawn,
Pwy 'th fawl, Dduw nefawl, yn iawn?

Dygaist o'i llygredigaeth
Holl nattur fu mewn eur caeth.
Mawrchwyrn fu dy bum archoll,
Ein Harglwydd ni,—Ti wyt Oll!
Chwi yn y Nef, uwch na ni,
Rhadawl feibion Mawrhydi,
Chwi a welwch, uwch heulwawr,
Orsedd y Tad mâd a mawr:
Unwch, cyd-genwch yn gu,
A chysson folwch Iesu.

Teilwng wir foliant dilyth,
Mawl iddo a fyddo fyth!
Tyred, ein Harglwydd tirion,
Roddwr hedd, i'r ddaear hon!
Cei fawl gorfoleddawl lu
Yn groesaw, ein gwir Iesu!
Lluoedd y Nefoedd, â ni,
Ddynion, am dy ddaioni,
A'th folwn, mewn iaith felys,
Byth ar gân, yn dy lân Lys.

# BARDDONIAETH

# GRISTIONOGAWL.

——— Operosa parvus
Carmina fingo ———.
Hor. Carm. Lib. 4, Ode 2.

# BARDDONIAETH GRISTIONOGAWL.

---

## YMDDIDDANION PRYDNAWNOL ADDA AC EFA.

**Yn y Rhan ganlynol, y mae Adda ac Efa yn ymddangos yn sefyll ar fryn ym Mharadwys, gan olygu yr haul yn ymachludd yn ei holl ogoniant. Eu hymddiddanion â'u gilydd am ddaioni Duw, a phrydferthwch y Greadigaeth.**

ADDA a'i wraig ddiwair wèn,
Y' nghoedwig ehang Eden,
Ar ael glas-fryn areulwawr
Safasant; mewn mwyniant mawr
Gwelent yr huan gwiwlwys
Drwy nifwl dyfnddwl a dwys;
Drwy ddwl nifwl y nefoedd
Yn geinwawr iawn gwenu'r oedd:
Ymlonnent, gwelent yn gwau
Lawer o ddisglair liwiau,
Y porphor a'r aur perffaith
Am gyrrau'r cymmylau maith.
Mynydd mawr îs heulwawr sydd,
Wych olwg, llawn uchel-wŷdd;
Cyn mud, cyn cain ymadael,
Y wynebláu huan hael
Saethodd hydr belydr uwch ben
Fwy-fwy, drwy'r las ffurfafen,
A'r caerawg belydr cywrain
Yn fyw i gyd drwy nef gain:
Goleuodd ei gu lewych
Ardd Eden a'r wybren wych;
Hir bu'n gwych edrych o'i ol
A seirian olwg siriol:
Yn raddawl hoff wawl e ffodd,
E felynwawr ddifiannodd;
Yn llwyr o'r awyr yr aeth
Yr haul dros y môr helaeth,
A'i loywdes, hafwres hyfryd,
O'i ddeutu'n gwenu i gyd.
  Yna, mewn addfwynaf fodd,
Efa eirian lefarodd:
O haul glwys â'i hoywliw glân
Yn llawenu holl anian!
Gwedi llonni'r dydd gwiwdeg,
O fâd 'madawiad mor dêg!
  Buan iawn atteb yn ôl
Roe'r gwr i'w wraig ragorol:
Fy Myd, mae'n hyfryd mwynhâu
Dedwydd gyfnewidiadau;
Gwelwn ar ol eu gilydd
Y nos yn dangos, a'r dydd.
Nef a thir yn wir a wnaeth
Fy Nawdwr mewn trefn odiaeth.
Pob carnolion weithion ânt
I'r addas le gorweddant;
Pob perchen aden a aeth
I'w loywdeg adeiladaeth.
Darfu'r tês cynnes ceinwawr,
Trymhâu'r ŷm ninnau yn awr.
Glywi draw glod yr ëos?
Mae'n pyngciaw'n effraw drwy'r nos.
O lwyslais! mor felysion
Yw mawl ei difrifawl fron!
Y lawen wybrawl ëos
A drig draw'n unig drwy'r nos.
  Yn fywiog iawn Efa gu
Gynanodd dan gain wenu:—
Disgwyl ei hanwyl gerdd hi
Draw'r oeddwn, Addaf, drwyddi:
Pen purorion yw hon,—ha!—
Diweddodd,—gwrandaw, Adda,
A'i hynod lef heini' dlos
Yr awyr a leinw'r ëos;
O'r gwyrdd-ddail croywber gerddi
Wna'r ëos y nos i ni.
  Wele, Efa, f' anwylyd,
Awn weithion, cân hon o hyd.
  Cain drônt i'r dwyrain eu dau
Hoen wiwber eu hwynebau.
Adda'n hawdd godawdd ei gu
Ael fwyn â'i law i fynu:—
Gwel, Efa, waith goleufad
Er mawl ein bendigawl Dad!
Siriolwawr ser a welwn,
Nifer yr ehangder hwn,
Sy'n traethu mawr allu'r Ion,
Taenant ei foliant union;
Y lawen nef oleuant,
A bywhâu'n heneidiau wnant:
Rhyfedd eu hamlder hefyd!
Ser golau'n amlhâu o hyd.
Ein Duw'n hamgylchawdd ni'n dau
A'i ddidawl ryfeddodau:

Ein deuwedd, â mâd Awen,
Rhown fawl gwir-haeddawl i'n Rhên.
  Gwiw swydd, golygu y ser
Wnai Efa;—O loyw nifer
Y lwysfawr awyr lasfaith!
Mae 'n hyfryd i gyd y gwaith!
I ba les mae bywiol lu
Tyner y nef yn t'w'nnu
Ar chwâl drwy yr uchelion?
Pwy 'n cysgu wêl y llu llon?
  Adda fwynaf a wenodd;
I'w bêr wraig atteb a rodd:
Oni welaist, f' anwylyd,
Wynnion Nefolion o Fyd
Eirian goruwch-awyrawl?
Clywaist eu gwych fynych fawl;
Pêr arwyrain, puroriaeth
Dêg iawn oedd i'w Duw a'u gwnaeth.
Ym min dydd clywsom ein dau
Lïosawg nefawl leisiau
Mil filoedd â'u mêl foliant
Hyd uchelder ser y Sant:
Dihunent ni'n fâd hynod
A'u mawl i'r anfeidrawl Fôd.
Hoenus Nerthoedd, ni hunant;
Mynych drwy 'r entrych yr ânt
I ganfod gwaith mor geinferth,
Molïannu Gallu mor gerth.
Y ser sydd er defnydd da,
Wiw nifer, i ni, Efa;
Tawel y maent i'n tywys
O'r llawr hyd oleufawr Lys
Y Duwdod, lle mae dedwydd
Lon Ser yn moli 'n eu swydd,
Puredig Ser ysprydawl,
Pereidd-gor goror y Gwawl:
Os gloywlon yw hon, hynod
Raid i wawr y Nef fawr fod!
Galluawg yw y Llywydd!
Fe 'n ddidawl bresennawl sydd
Yn gweled ac yn gwiliaw
Holl-berffaith lwyswaith ei law,
I ddwyn i ben ddaioni
Mawrglod, anwybod i ni.
  Wrth wrandaw 'n ddistaw ei ddysg
Nefawl, sylweddawl addysg,
Goleuwedd ei wraig lawen,
Dda 'i nattur, oedd bur dros ben:—
Drwyddynt mae d' eiriau, Adda
Fwynlon, yn ddoethion, yn dda;
Dy olau resymmau sydd
Wledd anwyl o ddywenydd.
Ein Nêr yw 'r Athraw têr tau,
A mwyn athraw i minnau
Wyd, Addaf, gwrandawaf di,
Hael enaid, caf oleuni.
  Yn llawen is wybren ser,
Mwynion ger bron eu Muner
Gwyrant, molant, o gariad,
Awdwr a Rhoddwr pob rhâd:
Hwy wed'yn ânt yn hoywdeg,
Dan nawdd Duw, i'w hannedd dêg,
Is gweuedig wasgawdwŷdd,
I huno nes deffro dydd,
I'w garddliw balas gwyrddlon,
Perffaith gywreinwaith yr Ion.

## YMDDIDDANION BOREUOL ADDA AC EFA.

**Y mae y Rhan ganlynol yn cynnwys desgrifiad o gyfodiad gogoneddus yr haul, ac ymddiddanion boreuol Adda ac Efa.**

  Dunos ffodd ar adenydd,
Haul golau yn nesbâu sydd;
Ei siriol belydr seirian
A'u llwybr yn y loyw-wybr lân,
Ehedynt yn genhadau
Hydron heirdd i gadarnhâu
Ei fod yn dyfod i'w daith
Eirianwych fry ar unwaith.
Y ser, mewn gwylder, eu gwedd
Gannaid, rhag llawn ogonedd
Disgleirdeb ei wyneb ef,
A guddiant, rhag ei oddef:
Daeth y disglair ymdeithydd
Yn gain i'r dwyrain â'r dydd.
Yn nhalcen y wybren wych
Amrantau 'r borau 'n burwych
Risial ymagorasant,
Goleuo 'r nef glaer a wnant.
Trybelid y clywid clau
Gynghanedd ar ganghennau;
Boreuawl fawl gan filoedd
Drwy 'r lawen wèn-wybren oedd;
Cerddgar bêr-adar heb ri'
Foliannant fyw-oleuni
Nef wèn, âg awen gywir,
A'i rhyfedd gyhydedd hir.
  Adda a'i wraig ddiwair wèn,
Ddau hynaws, a ddihunen'

Yn ebrwydd yn ddedwydd iawn
Ar odlau'r côr cariadlawn;
Ac allan daethan' eu dau
Gu-lwys i'r glasfryn golau:
Ger bron y grasusion Sant
Moesawl hwy ymgrymmasant:
I Dduw Naf, yn gyntaf gwaith,
Pur roddant, mewn pêr rwyddiaith,
Foliant am ei ofalon,
Pyngciant, mawrygant yr Ion;
Ymlonnant yn moliannu,
Mawl di-rag-fyfyriawl fu;
Mawl o gariad, tarddiad têg,
I Naf Awdwr nef wiwdeg;
Pêr glod o ryfeddod faith
Fwyn weled ei fanylwaith;
Cân o fyw-lân orfoledd
Am ddoniau, rhadau Ior Hedd.
Ar ol i'r gwir dduwiol ddau
Yn unawl â mwyn enau
Gyflawni gwiw fawl union,
Eu dedwydd ddyledswydd lon,
Hwy ddawnus ymddiddanant
Am waith cyssonfaith y Sant.
Eb Addaf, Daeth gwawl buddiol
Y dydd o newydd yn ôl.
Rhyfedd ogonedd nef gain!
On'd araul iawn y dwyrain!
Rhyfedda,—gwel, Efa lon,
Aml iawn belydr melynion
Ar wasgar yn claer esgyn
O fynwes gynnes haul gwŷn!
Eden lawen oleuant,
Nattur yn eglur a wnant.
Culwys weithredoedd Celi
Beunydd sy newydd i ni.
Gweithredoedd cyhoedd Naf cu
Fyddant fyth i'w rhyfeddu,
Nerth odiaeth annhraethadwy,
O'u gwybod, rhyfeddod fwy.
Cariad i'r Hael-Dad a'n rhoes
Am ei gariad myg eirioes,
Gorfoledd geinwedd ei gwên
Yn cu gynnyddu'n addien,
A doniau mâd awenydd
Ym ni'n fwynhâu'n dau bob dydd.
Trefnodd a pharottôdd Tad
Llu Nef in' berllan wiwfad
A phêr ffrwythydd coedydd cu
Da ollawl i'n diwallu,
A gardd a rhodfâu gwyrddion,
Gardd flodau a llysiau llon.
Gwel, Efa, fywiog lafur
Bwystfilod, weis parod pur;
Heirdd garnolion tewion têg
Ar hyd rhodfâu yn rhedeg
Drwy'u gilydd draw, ac eilwaith
Yn ôl, eu dewisol waith;
A gwir awydd gwareuant,
A'n hufuddhâu ninnau wnant.
Gweuedig fiwsig adar
Llawen, yn y wybren wâr,
Ym mrig cauedig coedydd
Gwyrddion yn gysurlon sydd.
Olwynawg lu y loywnef,
Haul, lloer, ser, yn uchder nef,
Drefnodd Ion o'i ddaioni
Yn hylon weision i ni,
A ninnau ein dau'n unawl
I ddatgan ei fwynlan fawl.
Gan Nêr pan gynnydder ni
Yn fâd fwy-fwy rhifedi,
Gan luoedd gwynnion lawer
Bydd mawl cynnyddawl i Nêr.
Dduw Awdwr! beth a dd'wedwn?
Mae'r dedwyddyd hyfryd hwn
A luniaist yn hael lenwi
Serchiadau'n heneidiau ni.
Ac Efa fywiog aufwyn,
Gan ddistaw fyfyriaw'n fwyn,
Wrandawodd ymadrodd mâd
Ei gwr cyfiawn o gariad:—
Diddan im' glywed, Adda,
D' ymadroddion doethion da:
Gwiw luniodd Tad Goleuni
Deimladau'n heneidiau ni
Yn unawl fal un enaid,
I'n bron un galon a gaid.
Addaf, er na feddaf fi
Lon atteb cyfiawn itti
Am waith eirianfaith yr Ion,
Dy rwyddaf ymadroddion,
D' athrawiaeth odiaeth ddedwydd
A mi yn cyssoni sydd.
Ae'n ddiles ein meddyliau
Heb iaith bur i'w heglurhâu.
Ar unwaith yn yr enaid
Meddyliau a geiriau gaid,
Mal gwres cu'n tarddu, mal tês
Cannaid o'r huan cynnes.
Ni a welwn, f' anwylyd,
Waith Ion yn gysson i gyd.
Eb Addaf lawnaf o les;
Fy Meinwen, gwraig fy mynwes,
Geiriau d' enau, Gwawr dyner,
I mi sydd beunydd yn bêr.
Miwsig y goedwig i gyd,
O'r werddlon hoywfron hyfryd,
Gyssonawl ddyblyg seiniau,
Ellir yn hir eu mwynhâu;
Ond caniadau d' enau di,
Wawr gywrain, sy'n rhagori;
Mwy anwyl im' yw mwyniant
Melysder dy fwynber fant.
Heb diriondeb d' wyneb di,
Efa lon, fyw oleuni,
Ae cudeg ffrwythau coedydd,
Harddwch holl degwch lliw dydd,
Meinwen, yn annymunol
I mi fud-oesi ar d' ôl.

Hebod nid oes dim hyber,
Nac addien, is wybren ser.
O'i dêg fawr Greadigaeth
Ein Naf yn olaf a'th wnaeth.
Gan d' olygon, Wenfron ŵyl,
Tirionodd nattur anwyl.
Efa rasawl, fyw rosyn,
Da a doeth ferch Duw a dyn,
Dêg Wawr, mae Duw'n dy garu,
Fy nghalon wyd, Gwenfron gu.
Yn rhwydd, mewn gwresogrwydd serch
Ei fwynfad Efa, wenferch
Fawledig, fe gofleidiodd,
Lon wâr fun o lawn wir fodd:
Yn daer pwysawdd yn dirion
Ei dêg rudd ar ei grudd gron;
Ddyn glwys, cusanodd yn glau,
A gwiw foes, ei gwefusau;
Ni luddiodd Mein-ael addien,
Yn hawdd y gogwyddawdd Gwen.
O ragorawl wir gariad
Paradwys, oleulwys wlad!
Bendithion rhadlon Duw'n rhwydd,
Dawn wiwdrefn diniweidrwydd
Yma oedd yn eu meddiant,
Brydweddol siriol ddau sant.

## RHYDD-DDEONGLIAD O GAN GYNTAF MOSES.

EXODUS XV.

Cynnar o beth yw canu,
Awen i FOESEN a fu.
GORONWY OWEN.

GWELAWDD Israel eu gâlon,
Yn entrych distrych y dòn
Ddigofus dan ddygyfor,
Yn feirwon ym minion môr.
Gorfoledd a rhyfeddawd
Ar hyn a lanwodd eu rhawd.
A Moesen, lawen lywydd,
I'r ION da, yn yr un dydd,
Eiliodd fawl, drag'wyddawl gân,
I gofio 'r gwyrth yn gyfan.
Tra bu'n parablu pêr iaith,
Fwyn-fardd, trodd i'r nef wèn-faith
Ei lon olygon a'i law,
Ei enaid hedodd ynaw.
Weithiau at ymylau 'r môr
Dewrwyllt a gwaedlyd oror,
Weithiau at y llwythau llon
E daer drodd olwg dirion;
Y nefol farddonol ddawn
Ennynnodd ynddo 'n uniawn.
Yn unawl, yr un ennyd,
Moliant a ganant i gyd.

CANAF i'm Naf am ei nerth:
Tafiodd y march, parch pob parth,
A'i farchog arfog, yn gerth
I'r môr, tew oror y tarth.
O moler ein Byw-Nêr byth,
Pawb heddyw sydd fyw'n ddi feth,
Ag Awen lawen ddi lyth
Molwn ein Ior, Pôr pob peth.
Rhyfelwr, Iachawdwr, a Cheidwad
Nerthol, rhagorol yw ei gariad;
Fy Nuw ydyw'n ddigyfnewidiad,
I'r SANT rhôf ogoniant ar ganiad,
I gywir Un-Duw'm gorhendad—rhôf lon
Ganeuon, a chyfion ddyrchafiad.
Ar d' air daeth rhuadwy wynt,
Y nefawl orseddawl SANT;
Diattreg mal carreg, cynt,
Soddawdd torfoedd garwfloedd gànt.
Heddyw'n wyrthiol y tafiodd Ion nerthawg
Holl weision a cherbydau llïosawg

A ffriw hagr wynnias Pharao goronawg
I'r môr mawr llydan â'r murmur llidiawg;
Tôdd y dòn ein gâlon bygylawg,—croch,
Dan chwyrn ruthr a rhoch y môr coch cuchiawg.
Gorchfygaist, tynaist i'r môr gapteniaid,
Arfogweis dewrion rhyfygus diriaid,
Lu taranawg, i erlid trueiniaid,
Ffyddlon dda weision, hil dy ddewisiaid;
Ar unwaith, mewn chwerwder enaid,—y môr
Yn ei oror draflyngcodd anwiriaid.
Dy fawrfaint ddigofaint gwrdd
Allan, yn fuan, ar fyrdd,
Anfonaist, telaist, mewn twrdd,
I haid o ffyliaid eu ffyrdd.
Yn gaer i entyrch, drwy chwyrn gorwyntoedd,
Mae 'n sŷn, fal deufryn, casglwyd y dyfroedd;
Yn dew awyrawl tonnau 'r dyfnderoedd
A geulasant, mal muriau têg lysoedd;
I gyd cadwynawg ydoedd—y tonnau,
A'r dyfnderau yn dra dïofn diroedd.
Y gâlon dewrion, geirwon y gyrrynt;
Erlidiwn, daliwn a maeddwn, meddynt,
Weinion ffôedig, torf anhoff ydynt;
Yn ei ddewrnerth ein cledd fŷn oddiarnynt
Ddigon o yspail a ddygynt—o'n gwlad;
F' â 'n câd fal rhediad rhyfel rhuadwynt.
Gwynt tramawr fu 'n deffraw 'r dòn
Gadwynawg, dorchawg, oedd dŷn;
Rhuthrodd, ymryddhâodd hon,
Gan gwblhâu geiriau Duw gwŷn.
Dy âlon dewrion â'u dur
Lyngcwyd heddyw 'n fyw, fy Ior;
Mal plwm eu codwm llawn cur
I ddyfnfol marwol y môr.
F' Arglwydd hylwydd, pa dduwiau mor haelion
Fry a welir y' mhlith Anfarwolion?
Uchel-Wir Geli, Chwiliwr y galon,
Barn am gabledd, trugaredd i'r gwirion,
Yw d' oreuddoeth iawnfad roddion,—beunydd,
Barnydd, Dyrchafydd dirfawr a chyfion.
Duw Lywydd, dy law ëon
Gyfodaist, estynnaist, Ion:
Mewn mawr grynfa 'r ddaear ddu
Ganfu dy law ddistaw dda;
Egorodd, llyngcodd eu llu!—
Cofier gorthrymder a thra.
Cyhoeddir, taenir drwy Balestina
Hanesion hyflon weision Iehofa:
Iasiau i'w enaid! Edom a synna,
Yr anwar sawdwr hwnnw arswyda;
Ei fyddin gref ni feiddia,—gan gryndod,
Ymosod i'n gorfod ar ein gyrfa.
Y goleuwych weithredoedd pan glywant,
Yn ysgyrrion calonnau esgarant
Creulon a dewrion, gan ofn, a dorrant;
Cyflym, er eu mygr rym, yr ymgrymmant,
Cedyrn Moab ni's codant—arf finiawg,
Canaan lïosawg eu cefnau laesant.
F' Arglwydd, santeiddrwydd i Ti
Berthyn; ddiderfyn Nawdd da;

Ogoneddus rymmus Ri,
Nef wèn, fy Rhên, a'th fawrhâ.
Rhennaist, a holltais y dyfroedd heilltion,
Arweiniaist, dygaist d' etholedigion
Drwy arw agwrdd orddyfnderau 'r eigion,
A dïogelaist rhag brâd eu gâlon;
Gwelir yr Israeliaid gwiwlon—yn llu
Yn gorfoleddu yn groyw fawlyddion.
Dirion Noddwr, Dad y rhinweddau,
Clyw awenwawd pur o'n calonnau;
Am lwydd a dedwydd waredïadau,
Clyw fawl hynodawl ein heneidiau;
Tynnaist ni rhwng y tonnau,—drwy 'r dyfnddwr,
Wir fyw Dduw, Awdwr rhyfeddodau.
Cyflawni 'n ddïoedi d' addewidion;
Mewn mawrfri tywysi hâd dy weision,
Wir ddewrwych wiwgâd o ardderchogion,
I'th anneddle santeiddgoeth newyddlon;
Trwy g'wilydd y taw 'r gâlon—mal dyfnfedd,
Yn eu hoferedd delwant yn feirwon.
Ffrwythlon blanhigion, dynion â doniau,
A gwir addysg Tad pob trugareddau,
Hwy a gânt ffynniant yn holl gyffiniau
Gwlad yr addewid sydd glodfawr ddïau:
Ei dewis wnaeth Duw 'r duwiau,—a'i rhoddi,
O'i bur ddaioni, yn bêr feddiannau.
Mae 'n hyfryd, mae 'n byd yn bêr
Dan deyrnasiad iawnfad Ior;
Yn Nawdd da, teyrnasa Nêr
Fry fyth, ac o fôr i fôr.
Llon ferch Amram, Miriam, gymmerodd
Dympan oreugan, a mawrygodd
Y gwir Awdwr mawr a'u gwaredodd;
Gwâr rïanod yn gôr a unodd,
Tannau a genau a gyd-ganodd—fawl,
A'r fyw lwyddawl dorf orfoleddodd:—
I'n Harglwydd a'n dedwydd Dad
Rhown fawl trag'wyddawl i gyd;
Canwn, a molwn Dduw mâd,
Clywed ar g'oedd bobloedd byd.
Ryfedded yw gweled ein gâlon,
Dorf ryfygus a dewr arfogion,
Heigiau o ddreigiau cynddeiriogion,—
Ddoe 'n eu holl ferw,—heddyw 'n hyll feirwon!
Gorfoleddwn!—gwelwn fuddugoliaeth
Ein Harglwydd hylwydd, a'i nawdd ehelaeth;
Fe, o'i nawdd hynod, drefnodd wahaniaeth;
I ni 'n wir dygodd Ion waredigaeth;
Ar âlon di reolaeth,—gan Dduw lwyd,
Chwerw iawn y dygwyd chwyrn farnedigaeth.
Heddyw 'r Ion cyfion a'n câr,
Heddyw 'n gerth taflodd yn gôr
Ein gâlon beilchion â'u bâr
I'r ewynawg ferwawg fôr.

# RHYDD-DDEONGLIAD O AIL GAN MOSES.

DEUTERONOMIUM XXXII.

MOESEN, ddeddfwr grymmusawl,
Ar orsedd geinwedd fel gwawl,
Y gwaraidd wr gwiw eirian
A safodd; f' olygodd lân
Wawl y wybren, oleubryd
Wawr y nef gylch-fawr i gyd;
Arnynt hwythau 'r llwythau llon
E daer drodd olwg dirion.
Yna 'r glwys fannerawg lu
A fwyn syllodd i fynu.
Bu 'n union yno 'n ei wydd
Ystyriol ddwfn ddistawrwydd.
O'i gôr traethodd y gwron
Agwrdd a hardd, y gerdd hon:—

DAEAR a nefoedd dirion wiwfad,
Heddyw gennyf clywch hoywdda ganiad;
O'm genau geiriau o gain gariad
Ddeuant, ddiferant, o dda fwriad,
Mal gwlith, eu fendith Cyfiawn-Dad,—mal gwlaw
Awyr ddistaw ar ddôl werdd wastad.
Enw 'r Duw byw, heddyw, a gyhoeddaf;
Yr Ion hael union a foliannaf;
Addawodd, gwiriodd, Dad hawddgaraf;
Ei lon anwylion a lawn welaf,
Caethion yn rhyddion! rhoddaf—i'm Ior fawl
Haeddawl; ufuddawl i Dduw fyddaf.
Duw yw 'r Graig gadarn, Duw 'r gorau Ceidwad,
Duw y gwirionedd, da gywir Ynad,
A thra odiaeth ei farn a'i weithrediad;
Ei blant llawn trachwant, mynnant ddymuniad
Eu bron annoeth bur-anynad;—o'r fron,
O eigion y galon mae 'u gwrthgiliad.
Ynfydion! i'r Ion, gadarn Arweinydd,
Gwaelion yw'ch rhoddion; gwaelion! dig'wilydd!
Didawl ei gariad! ei dadawl gerydd
O'ch duon boenau fu 'n eich dwyn beunydd;
Haelaf Ior! clywch ei leferydd—heddyw,
Tra geirwir ydyw, Tŵr a Gwaredydd.
Hylon was tirion, hola'n ystyriawl
Y cyn-flynyddau, dyddiau dedwyddawl;
I'th dad gofyn, O ddyn, cei ddiddanawl
Gu eirian addysg a gwirioneddawl;
Gofyn i'th henuriaid gwiwfawl,—traethant
Eiriau a fyddant yn dra rhyfeddawl.
Ddirfawr Ynad! y ddaear Fe rannawdd
I gu hil Addaf, ac a'u hael lwyddawdd:
Rhan ffrwythlon i'w weision a ddewisawdd;
Ei weision doethion a lwyr fendithiawdd;
O'u dugaeth garchar Fe 'u dygawdd—i'w gwlad;
Mawr yw ei gariad, y môr agorawdd!
O dorfoedd holl bobloedd byd,
Rhan gyfion yr Ion, o'i râd,
Yw Israel law hael o hyd,
Hyfaeth etifeddiaeth fâd.
Mewn trueni, mewn tir anial,
A digonedd gwnaeth Duw gynnal
Torf afrifed, trwy fawr ofal;
Mae ei burdeb ym mhob ardal.

Er ei fawr Enw, Ior, Fe arweiniodd
Ei hoff anwyl was, amddiffynnodd;
A'r un cudeb yr Ion a'i cadwodd
A'i olygawn, fel na lewygodd.
Mal pybyr eryr, drwy yr awyrawl
Uchelderau, fannau annherfynawl,
Yn dwyn ei eirian hâd yn dynerawl
Ar ei adenydd, ein Tad mawr doniawl
A ddygodd ei blant yn fuddugawl,—do!
Gwirio, gydag addo, wna'r Trag'wyddawl.
Ei was a ddyrchodd Ion o'i swydd arwchwith,
O wlad y malldod, o lid a melldith,
I wlad oludawg, gan wlaw, gan loyw-wlith,
I wlad dda gaerawg, i wlad ddigyrrith
Am olew, gwin, mêl a gwenith—lawnder;
Ca'dd hylon fwynder, ca'dd hael iawn fendith.
Yntau, gan frashâu 'n fawr, ysywaeth
Yr union, weithion, drodd yn waethwaeth:
Yr Ion a'i dirion iachawdwriaeth
Wrthododd, dygodd gospedigaeth,
Lid eirias, drwy 'r wladwriaeth,—herwydd gau
Dduwiau, a delwau, ddu hudoliaeth.
Bariaeth ysol! aberthasant
I Ddiawl isawd, addolasant:
Eu Duw enwog ni adwaenant,
Eu gwiw D'wysog a wadasant.
Duwiau newyddion, gweinion deganau,
Byddarion, alldudion i'th holl dadau,
Nid cynnar, diweddar yw eu dyddiau:
Rhai 'n ydyw nodded cadarn d' anneddau!
Eilynod ar dy liniau—addolaist,
Dewr hygoel waeddaist, do! ar gelwyddau.
Gwelodd y cofus Arglwydd cyfion,
Gwelodd, a digiodd wrth daeogion;
Am ddybryd waith ynfyd, gwnaeth anfon
Arnynt, yn gorwynt, farnau geirwon.
O'u gŵydd fy wyneb a guddiaf,
A'u duwiau rhyngddynt gadawaf;
Dydd o wylaw, eu dydd olaf,
Mwy-fwy alaeth, Myfi welaf.
I'w gwae ddwys hwy a'm heiddigeddasant
A'u gau dduwiau, ac arnynt gweddïant;
I gau genedl Mi rôf eu gogoniant
Hwythau; gan ofidiau y gŵynfydant:
Eiddigedd hwythau a ddygant,—a bâr;
Dïau gan alar y di gŵyn wylant.
A'u duwiau am nad ymadawynt,
Eiddigeddais, e ddaw gwae iddynt;
E ddaw oernych yn farwaidd arnynt,
Ie'ngaf a hynaf, bawb o honynt.
Poen i watworwyr! arnynt pentyrraf
Farwor tanllyd, eu byd nid arbedaf;
A gwir achos; Myfi yw'r Goruchaf,
Myfi a ddigiwyd, Myfi a ddygaf
Arnynt farn gadarn, ergydiaf—ddewrion
Alon annoethion i'r Dyfnlyn eithaf.
Yn hagr wisgi gwnawn eu goresgyn,
Oni b'al im' ofni mwy fwy ennyn
Cerydd dig'wilydd eu gau elyn;
Rhag traws anhynaws son o honyn',

A'n harfau heidiau anhydyn—dorrwyd,
Ddarniwyd, a darfwyd â garw derfyn.
  Oh na fyddent yn ufuddol!
Na ddeallent yn dda ollol,
Nad ystyrient yn dosturiol,
Wael ddiwedd eu mawredd marwol!
  Wŷr mawledig, pa fodd yr ymlidiai
*Un* yrr o âlon, *fil* man yr elai;
A *dau* wron pe *myrddiwn* ymdyrrai,
Ebrwydd, drwy w'radwydd, myrddiwn draw redai;
Ys hefyd o'u blaen ni safai—gelyn;
Eu Duw, o'i ga'lyn, a'u dïogelai.
  Esgarant, gwiriant, i'w gwarth,
Ein Craig ni'n fwy caerawg nerth
Na'u craig hwynt; pob pwynt, pob parth,
Sydd dystion i'r Cyfion certh.
  O sur hâd ammhur maes Sodoma,
Bustlaidd win marwaidd hen Omorra,
E fŷn y gelyn fwy na'u gwala;
Pob ffol anfuddiol, hwnnw feddwa;
Hyd lethr eu troed a lithra—mewn amser;
Enwir hâd ofer wneir eu difa.
  Yr Arglwydd hylwydd fydd Dduw haelaf,
Tirion i'w weision truenusaf;
Mai Tad llawn cariad llon cywiraf,
Fe ddychwel pan wêl eu poen olaf.
  Gwae! a siommodd, adawodd eu duwiau
Eu haddolyddion dan ddïaleddau?
Y duwiau borthwyd â brwd aberthau!
Attynt ewch weithion, a chatwent chwithau;
Dirym mewn cyfyngderau—eu cefwch,
Ofer y gwaeddwch ar feirw wageddau.
  Gwybyddwch, gwelwch i gyd,
Myfi sydd, bob dydd, yn Dad;
Myfi bïau barthau'r byd,
Myfi sy'n rhoddi mawrhâd.
  Am faith erchyllwaith yr archollaf,
Ing yn fynych, angau anfonaf;
O'r bedd i fawredd yr adferaf
Y ffyddlon gwirion, hwy a garaf.
  Wyf Holl-Gadarn! fy llaw a godaf
I oleu-nen y Nef lawenaf;
Fi, y Duwdod, byw wyf, dywedaf,
Byw Fi oeddwn, ac byth byw fyddaf.
  Os hogaf fy'm gloywaf gledd,
Chwerwon elynion a ladd;
Syrthiant, yn borthiant i'r bedd,
Yr uchel a'r isel radd.
  Meddwaf a llenwaf fy saethau'n llawnion,
O gau galonnau, â gwaed gelynion;
Yn hyf gwna'm cleddyf fwytta coluddion
Lluoedd o dewgyrph y lladdedigion;
Adwaenir Fi 'mhlith dynion;—dïal dir
Terwyn a welir trwy'r annuwiolion.
  Fy Naf! mi welaf fwyfwy moliant,
Genhedloedd gannoedd mewn gogoniant;
O barthau dëau i'th byrth deuant,
O'r gogledd, rhyfedd! pwy a'u rhifant!
Dy fawredd gyd-glodforant—a'th weision,
Yn gadau gwynnion hwy gyd-ganant.

F' Arglwydd! mor ddedwydd d' addewidion!
Tydi dywysi dy fâd weision,
Tydi a lonni dy elynion;
Molant, ac eiliant yn un galon,
Rhyfedd drugaredd Duw i'r gwirion!—Naf
Pennaf a doethaf,—pa fendithion!

## ARAITH DDIWEDDAF MOSES.

Araith, neu eiriau diweddaf Moses wrth yr Israeliaid. Y mae yn dwyn ar gof iddynt fawrion drugareddau Duw tuag attynt, a'u hanghrediniaeth hwythau i'w addewidion, a'u hanufudd-dod i'w orchymmynion Ef, a'r cospedigaethau canlynol am hynny. Y mae yn rhagddywedyd, drwy yspryd prophwydoliaeth, am y Prophwyd mawr oedd i ddyfod; ac yn traethu helynt yr Israeliaid y' ngwlad Canaan, a'u gwasgariad yn y dyddiau diweddaf ym mhlith yr holl genhedloedd; ac am drugareddau Duw tuag attynt yn y diwedd, drwy haeddiant y Messiah.

Ar ol i lu'r Israeliaid,
(Anhydyn cyndyn eu caid)
Hir grwydro, a gwibio'n gerth
O'r iawnfad ffordd, drwy'r anferth
Anialwch, Duw a'u nolawdd
I dêg dir dan ei wir nawdd:
Gwelant, ymunant mewn mawl,
Gyrrau eu gwlad ragorawl,
Eu mynych fawr ddymuniad,
Eu glwys addawedig wlad.
Ar wastadedd glaswedd glân,
Yn fawr gymmanfa eirian,
A'u bannerau'n gwau'n y gwawl,
Y deuddeg llwyth dedwyddawl,
Glwysion, a ymgasglasant
At Foesen, syw addien sant,
Eu cyfryngwr, deddfwr da,
A hyfawl was Ihhofa,
I wrandaw yn ddistaw ddoeth
Ei weddus araith wiwddoeth,
Trwy weled y tro olaf
Wyneb hardd anwylfardd Naf.
Ar eglurwedd orsedd wych,
Yn wyneb y nef wenwych,
Cyfododd, safodd gwas Ion,
Ac yn daer, â gwên dirion,
Ei loywdeg ddwylaw ledodd,
Udd gwâr, mewn cyfeillgar fodd;
Hydr iddynt hwy adroddawdd
Wyrthiau mawrion Ion, a'i nawdd.
Gwrandaw, Israel, ddiwael ddysg,
Tuedda'th glust at addysg.
Dan aml groes f' einioes a fu,
F' einioes sydd ar derfynu:
Fe ddaeth, yn nhrefn arfaeth Naf,
Yn ddilys fy nydd olaf.
I d' adael parod ydwyf,
I Geli dy roddi'r wyf,
I'n Ceidwad anwylfad ni
Yn dda addwyn ddyweddi:
Rhodia gyd â dy Geidwad,
A'th Nêr a gei'n dyner Dad.
Manwl gadw'i orch'mynion,
O'r Nef fry fe'th wrendy'r Ion;
Dy Nêr rhag cyfyngder fydd
Dy wych Obaith, d' Achubydd;
Gwiwfawr dy Dduw a'th gyfyd
Yn ben trigolion y byd.
Cenhedloedd yn lluoedd llon
Fyddant i ti'n ufuddion:
Os ufudd i'th Dduw sefi
Yn wir anrhydeddir di.
Yn weddus feddiannyddiawn
Pan gewch fwynhâd o'r wlad lawn,
Cofiwch, ac adroddwch draw
I'ch meibion hoywlon,—hylaw
O fyd gwaedlyd ac edlym,
Draw o'r Aipht, daethoch drwy rym;
O'r ffwrn haiarn gadarn gaeth
Oedd lawn o ddu elyniaeth;
O wlad Ham, ac o lid hyll
Y taeawg frenin tywyll.
Ar air galluawg yr Ion
Holltwyd y dyfroedd heilltion.
Mewn braw'n ymdeithiaw, daethoch
Trwy fol canol y môr coch,
Hyd ddolydd, rhwng dau ddiluw,
Hyd eigion ffyrdd dyfnion Duw:
Hylwydd drwy'r dyfnfor heli,
Lywydd Nef, goleuawdd ni;
Yn llawen daeth ein llîos
Drwy'r dyfnder yn nyfnder nos:
I'n holwynog elyniawn
Bu'n nos dywyll erchyll iawn.

Ein Duw agwrdd a'n dygawdd
Trwy 'r môr certh, dan nerth ei nawdd:
Ni gattwyd oll yn gyttun
Yn llaw Duw, ni chollwyd un.
Ein gelyniawn, yn llawn llid,
Anwar-lu, wrth chwyrn erlid
A ddygwyd i fedd eigion
Dan gynnwrf dyfndwr y dòn.
Arfogion geirwon i gyd,
Rhyfedd eu nifer hefyd,
Diluw dychryn a'u daliodd,
Anhoff yrr, ac un ni ffodd.
Ar dorriad gwawr y dwyrain,
Cyn gwenu o'r haul eu cain,
Y tonnau 'n rhestrau ar hynt
Yn ewynawg ennynnynt,
Nawswyllt ymrysonasant,
A mawr ferw, â thra chwerw chwant,
Lyngcu 'n gâlon gwylltion gau,
Filoedd, yn eu dwfn foliau:
Clywsoch, ac ofnasoch nerth
Murmur-gwymp y môr mawrgerth.
Llaweroedd, drwy 'r holl oror,
O'r dreigiau 'n ymylau 'r môr
Rhuadgroch a welsoch chwi
Yn gorwedd, feirwon gawri:
Y môr dafiodd y meirwon
Yn helaeth luniaeth i lon
Drigolion gwylltion a gaid,
Filoedd o anifeiliaid,
Yn crwydraw, 'n hydr ruaw 'n drwch
Yn y niwlawg anialwch:
Gwydlawn wylltfilod gwaedlyd,
Rheipus a gwangcus i gyd,
Cawsant wledd, gorfoledd fawr,
I 'mlenwi, lu mileinwawr;
'Sgerbydau 'r dreigiau ar draeth
Yn llanastr fu eu lluniaeth.
Haeddawl iwch' gofiaw heddyw
Y môr coch, a thra b'och byw.
Ein Ior ei hunan a wnaeth
Y wir dêg waredigaeth;
A ninnau, o'n rhwymau 'n rhydd,
A lanwyd o lawenydd:
Canasom, fal cain weision,
Bêr fawl boreuawl i'r Ion.
Diwrnod o fawrglod a fydd,
Gŵyl anwyl gwiw lawenydd;
Diwrnod, drwy wyrth cadarnaf,
Cawsom ni 'n noddi gan Naf;
Tra bo 'r Nef, boed ef heb dawl
Bythoedd yn ddydd Sabbathawl.
Ar air Ior, y môr marwol
A yrrodd, fwriodd o'i fol
Ddinerth dorfoedd fyrddiynau,
Cyrph meirwon ein gâlon gau,
Yn 'sglyfaeth ar y traeth trwm
I deulu 'r diffaith du-lwm.
Cu-lon, ar amnaid Celi,
Fe wlawiodd nef wledd i ni:
Dyferodd, gwlawiodd mewn gwlith,
Fwyndeg feunyddiawl fendith
O'r wybren, bêr foreubryd
I ni, i'n digoni i gyd:
Trwy anial llawn trueni
Bara nef fu 'n bêr i ni.
Gelynion hyfion o hyd,
Rai gwydlawn o ryw gwaedlyd,
A ruthrent, brysient mewn braw,
Trwy awydd i'n distrywiaw:
Tanbaid Amaleciaid, lu
Dewr-wyllt, yn cyd-ymdyrru,
Dorf ysawl, a darfasoch
Drwy 'r wlad, er eu brâd a'u broch.
Cawsom, pan fu drom y drin,
Fawr ynni gan Dduw Frenin:
Trwm fu codwm y cedyrn,
Gorchfygwyd, chwalwyd hwy 'n chwyrn.
At Horeb, fynydd tiriawn,
Dan gynhennu, eich llu llawn
A ddaeth, ymddangosawdd Ion,
Lyw agwrdd, i'ch golygon:
Tanbaid gannaid ogoniant
Y nefawl orseddawl Sant
O ganol Nef ddisgynnodd,
A meibion, ufuddlon fodd,
Yr Ion, Gedyrn eirianwawr,
Ar Sinai yn fintai fawr.
F' enaid! y tanllyd fynydd,
Ysol, yn bresennol sydd!
Mwg mawr yn ymgymmeryd
Mewn fflam dân gwŷnlan i gyd!
Purdeb y disgleirdeb glân
Oedd oll un wedd oddiallan
A nifwl tew y nefoedd;
Mal mwg i'r olwg yr oedd,
Dyrch hyfion, yn derchafu
Hyd entrych nef geinwych gu.
Dan Ddofydd y mynydd maith
A grynodd, ac ar unwaith
Croyw nâd gan gryf udcorn oedd,
Ofnadwy mor ddwfn ydoedd!
Trwy nerth taranau, ein Ior,
O'i awyrawl wiw oror,
O'r tân amlwg a'r mwg mawr
Oedd eurferth, draethodd ddirfawr
Gyfraith, mewn egluriaith glau,
Gu santaidd, megis yntau.
Chwi sydd heddyw 'n fyw 'n y fan
Welodd yr olwg wiwlan;
Sinai â'i dwrf, dros ennyd,
A glywsoch, gwelsoch i gyd.
Tyrfau a mellt a'ch tarfodd,
Nerthawl, anarferawl fodd.
Buanwyllt ffodd pob enaid,
Ofn hyll drwy 'r gwersyll a gaid.
Gwaeddaist, dymunaist i mi
Dd'wettyd yn llariaidd itti
Y cyfion orch'mynion mâd
O enau 'r santaidd Ynad.

Wrth esgyn i'r mygfryn mawr,
Drwy dyrfau oedd dra dirfawr,
Fy Nuw mâd! ofn im' ydoedd,
Ofn Duw yn fy enaid oedd.
Myfi rhyngot ti a'r tân
A dewrwyllt drwst y daran
A sefais, cefais Dduw cu
A'i ogoniant yn gwenu;
Cefais y Santaidd, cyfiawn,
Nerthog, yn drugarog iawn.
Pa ddirfawr Lys gloyw-wawr glân!
Anfarwol lu Nef eirian
Oedd yno, a SILOH 'r SANT,
Gu Ynad, mewn gogoniant.
Gorsedd y Mawredd, Dduw mau!
Rhyfedd o gyrredd geiriau.
Wedi gweled y gwiwlys,
Y nefawl belydrawl Lys,
Mor ddibris ac mor ddybryd,
Mor ddi barch mawredd y byd!
  Anrhydedd, gorfoledd fyw,
Gwir-ddedwydd, sicrwydd ydyw
Fod Naf goruchaf, o'i râd,
I ni 'n gadarn iawn Geidwad:
Filwaith drosom gofalawdd
O'i nefawl feunyddiawl nawdd.
Clywais ei lais, ac o'i law
Cyfion ddeddfau, i'w cofiaw,
A chyfraith gwbl-berffaith bur,
Wiwglod, ar lechau eglur,
Ar ben Sinai dderbyniais;
Bu ofnau tan fonau f'ais.
Y ddwy lech ro'es o'i dda law,
Dduw hylwydd, o'i ddeheulaw;
Yma llechau 'r cyfammod,
Mewn arch, drwy iawn barch sy 'n bod.
Os hon a lon ddilyni,
Yn dragywydd dedwydd di.
Cofia 'r gorchymmyn cufad
Pan ddelych i'r lawnwych wlad
Ddewisodd, addawodd Ion,
Er oesoedd, i'w wir weision;
Na 'ddola feirwon ddelwau
Y ffolion drigolion gau;
Na alw ar egwan eilun,
Addola IEHOFA 'i hun.
Tydi aberthi yn bur
I'th fâd Arglwydd a'th Fodur,
Mewn cysur, oen pur y Pasg,
Odiaeth flynyddawl wiwdasg.
Cofia mai 'r Santaidd cyfion,
Mai Fe ddewisa 'r lle llon;
Y lle ddewiso Fe fydd
Lle anwyl pob llawenydd;
Ei dda Enw mawr fydd yno
Harddwch, hyfrydwch dy fro.
Culwys, ger bron Duw Celi,
Oll yn dêg llawenhêi di.
  Prophwyd coeth goleuddoeth glân,
Hynod, o'th blith dy hunan,
Yn gadarn wna 'r Ion godi,
Un mwy galluawg nâ mi;
Rhydd cyfion Ion y wiwnef
Ei eiriau 'n ei enau Ef:
O mynni hedd i'w mwynhâu,
Yn dirion gwrando 'i eiriau;
Dïau 'r sawl ni 's gwrandawant,
I gyd eu difetha gânt.
  Blinder dwys, mawr-bwys im' yw,
Ffieiddwaith, goffâu heddyw
Y llo aur, a llaweroedd
O'ch llu 'n ynfydu,—fe oedd
Gwir awdwr eich gwarediad
O'ch marwol gystuddiol stâd!
Hwnnw oedd eich Duw hynod!
Ei nawdd a ryglyddawdd glod.
A raid d'wedyd hefyd hyn
Am y dorf a'i thrwm derfyn
Drwy 'r anialwch hagrdrwch hwn?
Mawrddig ar dr'ugain myrddiwn!
Dyna gosp anghrediniaeth;
Barn gyfiawn ddigllawn a ddaeth.
Gwelsoch (gwyddoch) am ffyrdd gau
Bur ofidus brofiadau;
Gwelwch, mai am wrthgiliaw,
Barn gymmwys yn ddwys a ddaw,
Hwyr ddïaledd am hir ddilyn
Ynfydrwydd cyndynrwydd dyn.
Am duchan a rhingcian rhawg
Y dygwyd seirph hedegawg;
Dawn iachus, rhag dy nychu
Y Sarph bres wnaeth les i'th lu.
Deliwch yn eich cof diiyth,
Taberah, Meribah, byth.
Cofiwch chwyrn ddinystr cyfan
Corah, a'i dyrfa, gan dân.
Cofiwch i'ch llu 'n gu eu gwedd
Ymlenwi ddeugain mlynedd
Ar wŷn fanna 'r nef wenwawr,
Rhoddion rhad y Duw mâd mawr.
Mewn crasleoedd nad oedd dwr
I gynnal bywyd gwànwr,
Deilliodd, ar air Duw, allan
O'r graig groyw afon loyw lân;
Adfywiodd llonnodd eich llu
Egwan ym mron llewygu.
  Bwrw, chwi wyddoch yn buriawn,
Amser yn ofer a wnawn
I draethu am hagrddu haid
O wŷr mawr yr Amoriaid;
Yn wyrthiol Duw a'ch nerthawdd
I ddryllio 'r dorf honno 'n hawdd.
  Wŷr hoenus, mae 'n dra hynod,
Gwelwch, a rhyfeddwch fod
Yn awr eich dillad un wedd
Am lawn ddau ugain mlynedd.
Rhy-fyr yw 'r amser hefyd
I goffâu 'r gwyrthiau i gyd;
Mae gwyrthiau dïau di dawl
Nef Ior yn annifeiriawl:

Trwy 'r holl ddiffaith hagrfaith hyll,
Gorsedd Ceidwad ein gwersyll,
Colofn gogoniant Celi
Arweiniawdd a noddawdd ni:
Ar ei dda orseddfa 'r SANT,
Yn ei geinwiw ogoniant,
Rhwng cerubiaid euraid wawr,
I fawl ei Enw, fydd Flaenawr
Hefyd i'ch dwyn yn hyfion
Yn hawdd drwy 'r Iorddonen hon.
Y wlad addawodd Duw lwys,
Buredig ail Baradwys,
I Abra'm, honno 'n ebrwydd
I chwi mae 'n ei rhoddi 'n rhwydd:
I'w ddewis genedl ddiwair
Ni phallodd a dd'wedodd air.
Gwlad Canaan eirian yn wir,
Ireiddwerdd, i chwi roddir;
Gwlad blith a gwenith a gwin
Yn ffrydiau anghyffredin;
Gwlad ffraw 'n llifeiriaw o fêl,
Iachaf gwlad dan nef uchel.
Cawri, mal ûs mewn corwynt,
Felly ffy 'r rhei'ny ar hynt.
Am dda nawdd, am ei ddawn yt',
Beth a fŷn Duw gwŷn gennyt;
Beth ond cu fawrygu 'r Ion
O'th enaid, mae 'n waith union;
Gwneuthur barn gadarn i gyd,
Hyfawl gyfiawnder hefyd;
Cyfiawnder ddwg gu fendith,
Gwnewch dda, ni ddaw pla i'ch plith.
Yr enwir boenir beunydd,
I'w plith y felldith a fydd.
Dewiswch, mal da weision,
Ufuddhâu pur eiriau 'r Ion;
Hir cewch chwithau fwynhâu hedd,
A da gewch yn y diwedd.
Nid am ddinam ddaioni,
Neu naws da 'n dy fynwes di,
Rhydd Naf it' y lwysaf wlad,
Cofier, yn feddiant cufad,
Ond am waith tra diffaith dwys
Trigolion y tir gwiwlwys;
Hwy, am arfer pob mawrfai,
Ddinystrir o'u tir a'u tai.
Gwybyddwch, a chofiwch chwi,
Drwy gynnwys pob drygioni
Anferth, saith genedl ynfyd
Gwlad Canaan gollan' i gyd;
A chwithau, os ewch waethwaeth,
Chwithau 'n wir gospir yn gaeth;
Ac o'ch mâd oreuwlad rydd
A chwelir gyd â ch'wilydd,
Yn waelaf annuwiolion
Ar grwydr drwy 'r holl ddaear gron,
O'ch tir wasgerir i gyd
I frydfawr fôr o adfyd.
Pan fwynhêi Ganaan geinwych,
Mewn llwyddiant, gogoniant gwych,
Cofia 'stâd ein gwaeldad gynt,
A'i hil, a'u hamryw helynt;
Beunydd cofia yn bennaf
Ffyddlondeb anwyldeb Naf.
Syriad oedd ein gwaeldad gwâr,
Gwelodd ddau ddyblyg alar;
Trwy ing, ac ym min trengu,
Ei fyd yn derfysglyd fu.
Hynod, mal ef ei hunan,
Bu 'n gaeth ei hiliogaeth lân;
Purwyd hwy dan gosp eirias,
Lawer pryd, yn y byd bas.
Ond er gorthrymder a thrais
Milain, ac er pob malais
Gelynion, drwy ragluniaeth
Israel yn ddiwael a ddaeth,
Amlhâodd, lenwodd y wlad;
A leinw 'n y canlyniad
Wledydd o fynydd i fôr,
Gyrrau y byd bob goror.
O dorf heb iddi derfyn!
Myfyria, llawenhâ 'n hyn.
O Israel ddiwael ei ddawn!
Wyt weddlwys lu santeiddlawn;
O herwydd i'n Harglwydd hael
Dy ddewis, yr wyd ddiwael.
Bu 'n Dduw mâd i'n cyndadau,
Pur i'w hâd byth mae 'n parhâu.
Dduw anwyl, o'i ddaioni,
Fe 'th garodd, didolodd di.
Nid yw swynion disynwyr
Ond gwagedd a llygredd llwyr;
Llwyr-wag yw pob allorau
Dewiniaeth ddirgelgaeth gau;
Ofer hyn yn d' erbyn di,
A neddair Duw 'n dy noddi.
Doethion fydd dy fendithwyr,
Ond gwae eneidiau y gwŷr
Taeogion a'th felldigant,
Melldithion geirwon a gânt.
A fu 'r fath genedl gu gynt
Is haul grymmus ei helynt,
Ddoeth genedl ddaeth o ganol
Ynfydion anffyddlon ffol,
I'r hon mae Nêr ei hunan
Beunydd yn gu Lywydd glân?
A pha genedl hoff gynnydd
Mor ddirfawr is heulwawr sydd
O ddynion yn meddiannu
Cwbl-berffaith gyfraith mor gu,
Cyfraith gyfiawn gyfiawn goeth,
Gwiw rodd y Duw goreuddoeth?
Tramawr fu d' ofnau trymmion,
A Cheli 'n cyhoeddi hon.
Er y dydd y crewyd Adda,
Nef hawddgar a'r ddaear dda,
Welwyd, glybuwyd fath beth,
I'n Dofydd, i'r Ion difeth
Ymddangos?—dyfn-nos o dân
A welaist drwy'r nef wiwlan;

Tyrfau, geiriau rhagorawl,
Ar g'oedd a glywaist o'r Gwawl;
A hyn er dychryn y daeth
I dynnu anghrediniaeth
O'th galon, a rhoi i'th fron fraw
Cyfion, dros fyth i'w cofiaw.
Geiriau Duw, dy gywir Dad,
Dïau 'r haeddant wrandawiad.
Tydi, pan feddienni 'r dda
Wlad gain oludawg, yna,
Mi wn dy ddrwg ddymuniad.
Tydi ymlygri 'n y wlad;
Eiddigedd Duw a ddygi
I ennyn yn d' erbyn di:
Daw it', am na ofnit Naf,
Ddrygau 'r dyddiau diweddaf;
Drygau mawrion a drigant
Yn felldith i'th blith a'th blant.
Cofia, Israel, y cyfyd
O'th blith, er bendith i'r byd,
Brophwyd coeth, mawrddoeth a mâd,
Duwiol fyddo 'th wrandawiad;
Yn dawel os gwrandewi,
Gwrandewir, bendithir di:
Clyw dithau ei eiriau Ef,
Yr iawn Athraw o'r wiwnef;
Dyna Waredydd d' einioes,
Ei nawdd da gei 'n niwedd d' oes.
Ydd ydwyf yn ddïoedi,
O Israel, ar d' adael di;
I'r fawrdaith âf ar fyrder
I hunaw yn nwylaw Nêr.
Mi wn i fynti dy fron,
Mai cynnwys drwg amcanion,
A rhoi i ddelwau 'r addoliad
Haeddawl i'th fendigawl Dad,
Torri cyfammod tiriawn
Yr Arglwydd yn ddilwydd iawn,
Yn ffol, a wnei 'n ol fy nydd;
Gorwyllt a pharhâus gerydd
A ddenfyn d' Arglwydd iawnfad,
Drwy 'th lu, i'th dorri o'th wlad.
Yn awr gwrandêwch, henuriaid,
Y bobl oll, bawb yn un blaid;
Yn olaf peth, f' anwylion,
I chwi 'r wy 'n rhoddi 'r awr hon
Ganiad rhag mawrddrwg einioes,
Yr Ion yn rhadlon a'i rhoes;
Coeliwch, hon yw rhodd Celi,
Cwbl-ddysgwch a chofiwch hi:
Deliwch hi 'n eich cof dilyth,
A'ch meibion ufuddlon fyth:
Geiriau hon, mal tystion têg,
Hyd y byd, ar bob adeg,
Yn agwrdd a fynegant
Berffaith gyssonwaith y SANT,
A fyddant yn wiw foddion
I'ch cu gyd-tynnu at Ion.

## CYWYDD AR FARWOLAETH MOSES.

Y GWR llên, Moesen i'w mysg
Ddiweddodd ei dda addysg.
O'i law lân rhoes y gân* goeth,
Têr ydyw, i wŷr tradoeth,
Pennaethiaid anwylblaid Nêr,
Hirfaith oesoedd i'w harfer.
Gwiw roddawdd, wr goreuddoeth,
Fendithion o'i galon goeth,
Fendithion rhadlon Ior Hedd,
I'r genedl fawr ogonedd.
Odiaethol y bendithiawdd
Josua, anwyldda nawdd:
Dan Ior y Nef efe fydd
Yr enwog brif arweinydd.
Y deddfwr mawr ddedwyddfad
A Brenin y fyddin fâd,
A ddaeth, ddisgynawdd weithian
O'i orsedd oleuwedd lân.
Ant hwythau, y llwythau llawn,
I'w glwyswych bebyll gleisiawn.
Yr oedd mawr brudd-der iddynt
Gan chwerwon hen gofion gynt:
A dwys y gofidiasant
Ar ol gwas urddol y SANT.
Yno 'n wâr yr henuriaid
O'i ddeutu 'n geinlu a gaid,
Yn tywallt dagrau tawel
Ar oi tad gwiwfad, heb gêl.
Mae 'n alaeth, mwy ni welant
Lywydd cu sywlu y SANT,
Mo addien wedd Moesen mwy,
Eu didwyll lyw clodadwy.
Canfu hwy oll yn cwynfan
O'i ddeutu, wr glwysgu glân:
Fe drodd, e waharddodd hyn,
E roddawdd gyngor iddyn'
A chysur, wrth achosiawn,
I ddiddanu y llu llawn:

* Ail Gân Moses. Gwel tudal. 267.

Reolwyr yr Israeliaid!
Duw beunydd a rydd wrth raid,
Wrth achos, gymmorth ichwi
Trwy 'ch oes; ond ystyriwch chwi
Mai 'n ol y modd manylaf
Rhaid cu wasanaethu Naf,
Rhaid mawrhâu 'r cyfreithiau fry
O'ch henaid; cofiwch hynny.
Josua, coelia, Celi,
Lywydd dewr, a'th lwydda di:
Y gwron dedwyddlon da,
Mawr alwad, ymwrola;
Ti wnei etto hynottaf
Weithredoedd certh drwy nerth Naf.
Yna Moesen, addien wr,
Gofleidiodd y gwiw wladwr.
Ar ol eu cysuro 'r aeth,
Haelwr, drwy 'r gwersyll helaeth,
O'i ddeutu 'r llu ar bob llaw
A welodd yno 'n wylaw:
Gwragedd a'u plant ceinwedd cu
Laweroedd yn galaru,
Trwy weled y tro ola'
Eu noddwr a'u deddfwr da.
Yn drist y gwron a drodd;
Wele! Moesen a wylodd.
Fwynwr, cododd i'w fynwes
Y ceinblant, tra 'r wylant, res.
O'i daer enaid, wr uniawn,
Ei fendith fu i'r llu llawn,
Gwresoglawn fendithiawn da,
Fyrddiwn, am nefol fawrdda:
Ar Geli taer weddi rodd,
A dïau Duw wrandawodd.
Fe safodd, edrychodd dro
Yn wiwber fry ar Nebo.
Ei hyderus wedd diriawn,
Gwridog wedd garedig iawn,
Oleuodd yn fyw lawen
Fod ei daith berffaith ar ben.
Estynnodd, lledodd yn llon
Ei gynnes ddwylaw gwynmion:
A'r llu 'n amgylchu y gwr,
E dd'wedodd;—O Dduw Awdwr
Daioni! bydd yn dyner
I minnau, yn angau, Nêr.
O'r bru, fy anwylgu Naf,
Y'm noddaist, Dad mwyneiddiaf;
Funer, drwy gydol f' einioes,
Amgylchaist Ti fi drwy f' oes.
Drwy 'th hynod awdurdod, Ion,
Gelwaist fi 'n isel galon
I ryddhâu o'u beichiau 'th bur
Gu weision, i'w mawr gysur.
Y swydd ymroddais iddi,
Y flin swydd gyflawnais i.
Mae d'alwad mâd i'm dilyn;
Gorfoledd a hedd yw hyn:
Yn ufudd, fy Nhad nefol,
Prysuraf, deuaf ar d' ôl.
Y gwron yn union aeth
Yn hylon i'r bryn helaeth.
Y freiniol dorf eirianwawr,
Gwelir i'w mysg alar mawr:
Hwy ânt, tra 'r wylant, ar ol
Eu rhên addien rhinweddol.
Fe drodd, amneidiodd yn wâr
Ar wiwlu mewn mawr alar.
Y dda ystyr dorf ddistaw,
Ar amnaid llygaid a llaw
Y dedwydd wr clodadwy,
Safant, ni symmudant mwy:
Hiraethant, safant yn sŷn,
A'u golwg yn ei ga'lyn.
Bendithiant hwy 'n hyfwyn hawdd
Y doethwr a'u bendithiawdd.
O herwydd eu dihirwch,
Eu camwedd a'u trosedd trwch,
Torrwyd eu llywydd tiriawn
O bob mwynhâd o'r wlad lawn,
O Ganaan a'i gogoniant
Torrwyd gwas addas y Sant.
O hyd buant anhydyn,
Tristânt, tra 'r ystyriant hyn.
Yn ôl yr ânt, dan wylaw,
Yn bruddion a'u bron mewn braw.
Yn dawel ddirgel ydd aeth
Y gwr mawr ei ragoriaeth,
Purffydd, at y mynydd mawr
Abarim, Nebo eurwawr.
Ei dda ireidd-dra a'i rym,
A'i hoffiwys olwg crafflym,
Yn llesol ni phallasant,
Geinwych wr ugain a chânt.
Cofier, felly mae cyfion
Gyfraith oreufaith yr Ion.
Mae 'n graff y gyfraith mewn grym,
Ac Iawn mae 'n ofyn gennym:
Un ydyw ddïanwadal;
O flaen Duw mŷn gyflawn dâl.
Yr haul, wrth ddisgyn yn rhod
A byw dês i'r byd isod,
Saethodd hydr belydr uwch ben
Fwyfwy drwy 'r holl ffurfafen;
E oleuodd ei lewych
Uchelfron fryn Nebo 'n wych.
Gwych yw llewych y lleuad
Yn ei thro 'n goleuo 'r wlad.
Mae 'r ser tyner yn t'w'nnu
Drwy 'r entrych, oleuwych lu.
Oes ammhau o'r gorau gaid
Beunydd am burdeb enaid
Nad mawrion gysuron sydd
I'r mwynwr ar y mynydd?
Mewn hedd nad ydyw 'n mwynhâu
Dedwydd iawn fyfyrdodau?
Y cyfryngwr, deddfwr doeth,
Arweinydd y rhai annoeth,
Ar Sinai fu 'n bresennawl
Yn mysg côr goror y Gwawl,

A welodd, wr anwylaf,
Burdeb presennoldeb Naf,
Diweddiad hyfryd addas
Rydd Ion i'w ddewislon was.
Y Gelyn taer fu 'n gwiliaw
A lleng o'i weision ger llaw.
Golau y gwyddai 'r Gelyn
Hawdd hudo neu dwyllo dyn.
Os unig, heb wasanaeth,
F' eill grwydro a gwyro 'n gaeth,
A'i fwriad ar oferedd
O hyd ei fywyd i'w fedd.
Mae llawer chwŷn, mae llwyr chwant
A gwŷn am wâg ogoniant
Adwythig yn y doethion,
Yn gwau ar brydiau 'n eu bron.
Fe ddenodd i'w feddiannau
Wŷr doethion, fal gweision gau;
Fe wyddai 'r awr gyfaddas
I'w ddyfnion amcanion cas,
Fe allai, os hudai hwn,
Y denai 'r byd i Annwn.
Gwr Duw 'n llawn o gariad oedd;
Didawl ei enaid ydoedd
Yn myfyriaw am Fawredd,
Gwyrthiau, a rhadau Ior Hedd.
Gwâr o hyd oedd y gwr hwn
Mawrddoeth mal ym mysg myrddiwn
O gu lân lu goleunef;
Gwr i Dduw, mewn gwir, oedd ef.
Taran oruwchnatturiawl
Oedd hyn, a dychryn i'r Diawl.
Ni faidd ef, ni fuddia 'i waith,
Gynnyg mo'i dwyllawg weniaith.
Ffodd, ni oddefodd ofid,
A'i holl rym, yn llym mewn llid.
Ni fŷn Ion weithion i'w was,
A'i feddwl yn Nef addas,
Ofidus dost brofiadau
Gan ddrygwŷn y Gelyn gau.
Profiad ffyddlondeb rhyfedd
Rodd addien Foesen hyd fedd.
Ef, wr mâd, gan Dad y dawn
Brofwyd, gafwyd yn gyfiawn.
Iddo 'n rhwyddaidd y rhoddir
Tawelwch a heddwch hir.
Erbyn dyfod rhod yr haul
I'r dwyrain eurbryd araul,
Lleuad a ser yn llïos
A fu 'n teyrnasu trwy 'r nos,
Eu gwedd i gyd a guddiant,
Yn ewybr o'r wybr yr ânt,
Ym min dydd, wr mwyn, y daeth
I'r heulawg uchder helaeth,
I'r màn uchaf o'r mynydd;
A Chanaan draw 'n seirian sydd!
Ei olygon gloywlon glwys
A welant Ganaan wiwlwys,
Y tir pell, trwy 'r awyr pur,
Drwy wagle, yn dra eglur;
Gyrrau y wlad, bob goror,
Dolydd a mynydd a môr.
Edrych drwy 'r loywnef wydrawg
Bu 'r gwron rhadlon y rhawg:
Gwleddodd ei lygaid gloywdda
Ar y rhyfedd dudwedd da,
Y fuddiol etifeddiaeth
Winllannog, lwythog o laeth.
Fe weddïawdd am nawdd Naf
I lenwi 'r wlad ffrwythlonaf
A llon drigolion,—gweler
Hwy 'n ffyddlon weision i'w Nêr!
Gwelodd, ni's ofnodd y sant,
Geinwawr feibion Gogoniant,
Lu mawr, ar gwmmwl mirain
Eglurwedd, mal gorsedd gain,
Ar hyn yn disgyn yn dêg:
Ydd oedd o honynt ddeuddeg.
Un enwog iawn yn union,
A rhyfedd oleuwedd lon,
Nesa'dd yn gydradd â Gwr,
Fal eirian nefol Arwr.
Y lleill, yn eu holl allu,
Rymmus orfoleddus lu
Adeiniawg, hwy dywynnant,
Goleuo 'r Nef glaer a wnant.
Moesen addien rinweddawl
Ger bron Mab gwiwlon y Gwawl
Ymgrymmodd, addolodd ef:—
Glân Archangel goleunef
W'arddodd, lefarodd yn fwyn;
O rïeiddwych wr addwyn!
Gwarddoeth ddeddfwr y Gwir-Dduw,
Ofna ac addola Dduw.
Meibion a gweision i gyd
Iehofa ŷm ni hefyd.
Ar Sinai yn fintai fawr
Daranawg, yn dirionwawr
A mâd wr, canfuom di,
Yr hynaws ddeddfwr heini'.
Yn dêg, drwy 'n gweinidogaeth,
Y ddeddf i'th ddwylaw a ddaeth;
Ac yno cefaist gennym
Y gyfraith groywiaith mewn grym.
Y Trag'wyddol, nerthol Nawdd,
O Nef wèn a'm hanfonawdd
Attad i ddangos itti
Ei dibennion hylon hi.
Da iawn, ffyddlawn fu d' einioes;
Nawdd Duw gei yn niwedd d' oes.
Eb Moesen, â gwên lon gu,
Lawened im' foliannu
Fy Naf am ei fwyn ofal;
F' Un Duw, ni feddaf iawn dâl:
Mae 'i ofal yma hefyd
Yn angau 'n parhâu o hyd.
Didawl fuddiawl ryfeddod!
I Arglwydd fy arglwydd fod
Mor isel, i'n huchel Naf
Dyner gofio am danaf,

A feiddiaf yn ufuddawl,
Dirion Fab gwynlon y Gwawl,
Ofyn d' Enw yn fwyn dyner,
O Gennad anwylfad Nêr!
  Hardd Gennad y mâd Ion mawr
A wenodd yn dirionwawr:—
Tywysog llu'r doniog Dad
Y'm gelwir, mwya' galwad.
Daethum gyd â'm cymdeithion,
I lawr o'r Nef lwyswawr lon,
I reoli'r Israeliaid,
Byw 'n fendith i'w plith a'u plaid.
Hynaws Genhadon heini'
Ddaeth ar frys i'th dywys di
O'r byd brwnt, a'r bywyd brau
I lonyddol anneddau.
Ysprydion enwogion wŷr
A theilwng orddetholwyr,
Nefolion gwynnion yn gôr
Garant dy gael i'w goror;
Hwy unant eu hawenydd
Y' ngolau ardalau'r Dydd.
  Tywysog calonnog glân
Siriol fyddinoedd seirian
Yr Arglwydd, â'i ddedwydd iaith
Lefarodd am hael fawrwaith
Ei Dduw agwrdd maddeugar,
Mal cyfaill wrth gyfaill gwâr.
Yr uchel Archangel chwai
Heulogwedd, a olygai
Gerllaw'r amlwg orllewin,
Dros ennyd, ar hyfryd hin.
Gwel draw (ar hyn ei law lân
Ollawl estynnodd allan)
Y dda enwog brif Ddinas
Lle rhydd Ion roddion ei ras;
Caersalem wendrem yn wir
A Sïon hon a henwir.
Y llwythau'n finteiau têg,
Heb oedi, ar bob adeg
Y tyrrant i'r lle tirion
A hoffodd, ddewisodd Ion;
I fynu yn gyfannedd
Ant i'w phyrth â'u hebyrth hedd.
Parhâu wna'u haberthau'n bur
A mâd, hyd ddyddiau'n Modur,
Gwiwfawl Hâd y wraig Efa,
Y Prophwyd coeth doeth a da,
Doniog soniaist am danaw;
Yn Ddyn fe ddisgyn, fe ddaw
Yn Arglwydd gwirlwydd, a gwâr
Naf dïau nef a daear.
Etto deui di yn d' ôl
O nifer y wlad nefol,
A'i bur wyneb eirianwawr,
Gwybydd, ar y mynydd mawr
Tabor, oror awyrawl,
Tydi a'i gweli mewn Gwawl;
Tydi ymddiddeni'n ddoeth,
Dêg wâr-ddyn, â'r Duw gwirddoeth,
Y gwiwdlws Aberth gwaedlyd
Sydd i lanhâu beiau'r byd.
Cyflawni wna'r cu Flaenawr
Ei berffaith rymmuswaith mawr
Yn Salem; cyflawn Sylwedd
Mawr gariad a rhâd Ior Hedd
Dywynna; fe adwaenir
Duw'r duwiau yn olau'n wir.
Chwelir dy oruchwyliaeth
Dithau, dan gysgodau'n gaeth,
I gyd o'r byd, heb oedi,
Weithion syrth ei hebyrth hi.
Y Mawredd anghymmarawl
A esgyn gwed'yn i'r Gwawl
Yn Ddyn, ac fe ddenfyn dda
Ddiddanydd oddi-yna.
Trigolion glwysion pob gwlad
Reolir ar ei alwad;
Eu clau galonnau lenwir
A mâd fawr gariad i'r gwir.
Yn hylwydd Frenin haelwych,
Ar ei ryfedd orsedd wych,
Mâd fydd teyrnasiad ein Ior,
Hi gyrraedd i bob goror.
Trwy'i hyfryd Yspryd a'i Air
E ddaw'r holl fyd yn ddiwair,
Yn ddeiliaid santeiddiolaf,
Yn ffyddlon weision i'w Naf.
Daear gref a nef yn wir
Yn weddus adnewyddir;
Daw ffrwythau, llysiau llesol
Gardd lawen Eden yn ôl.
Drwy'r ddaear gerddgar ar g'oedd,
Gan addien lawen luoedd,
I Arglwydd pob mawrlwydd mâd
Mawl am ragorawl gariad,
Gogoniant a gu genir
Mewn gorfoledd a hedd hir.
  Canfu'r Archangel ceinfad
Lon gyflwr y mwynwr mâd.
Trugaredd, mawredd a mawl,
Daioni cyffredinawl,
Helaeth iachawdwriaeth Duw,
Gwiw roddion y Goreu-Dduw,
Fu agos â gorchfygu
Calon y cyfion wr cu.
I'r deddfwr, i'r mwynwr myg,
Pur lawen fu'r pêrlewyg.
Yn siriol ei nefol Nawdd
Byw anwyl a'i derbyniawdd
I'w fynwes; fe a wenodd,
A'i dêr iawn enaid a rodd
I'w Arglwydd hylwydd heulwawr,
Mewn hedd a gorfoledd fawr.
I Fyd eirianaf odiaeth,
I Orphwysfa dda ydd aeth,
I olau ardalau'r Dydd,
At y tadau i Fyd dedwydd.
  Yr elwig, yr unig ran
Farwol o'r deddfwr eirian,

Yn chwimmwth, wrth orchymmyn
Duw lwyd, a gladdwyd mewn glyn:
A neb, dros byth, ni wybu
P' le mae 'r dda ddirgelfa gu.
Satan yn gyfrwys yttoedd,
Gosod ei gau rwydau 'r oedd:
Cynneu 'r oedd drwg amcanion
Yn ei ddig friwedig fron.
Y gwr na feiddiawdd e gynt
Mo 'i ladd, er mor aml oeddynt,
Lu drwg, yn yr anial draw,
O'u bodd am ei labyddiaw,
Ei gorff, ar ol marw, pan gânt,
Yn ddilys hwn addolant,—
Eu tymmer a'u harfer hwy,
Ynfydion ansafadwy.
Am hyn, medd y Gelyn gwyllt,
Yn erwin daw barn orwyllt;
Y ddiriaid genedl ddyrys
O'u tir ddifrodir ar frys.
I Ganaan a'i gogoniant
Eu llwythau dïau nad ânt.
Gobaith y byd hyfryd hwn,
Swrth ddinystr, syrth i Annwn.
Rheoli 'r ddaear helaeth
Wnaf finnau â gwyniau gaeth.
Pan ganfu fethu o'i fâr,
Eunynnodd ei fron anwar:
Gwynnias Dywysog Annwn,
Rhuthrodd ac ehedodd hwn
Yn chwyrn at y Cedyrn cu,
Hyll Ellyll, â'i holl allu.
Creulondeb ei wyneb oedd
Farwol: crynai niferoedd
O galonnawg lu Annwn
Rhag gwg mor hagrddrwg â hwn.
Cablodd, bygythiodd yn gaeth
Boeni 'r ardderchog Bennaeth,
Gan ddanfon o'i galon gau
Laweroedd o gabl eiriau:
Ennynfawr Elyn anfad,
Rhoes gabledd i'r Mawredd mâd.
Mihangel oruchel rym,
A heulwawr olwg hoywlym,
Graffodd ar Lew hagr Uffern,
Mewn hedd, yn ei chwerw wedd chwern:
Satan, ai rhy fychan fu,
Ddenwr, dy ddifeddiannu
Di o'r Nef fry am deyrn frad?
Adwaenost farn dy Ynad?
Yn ddïau 'n ol d' ofnau daw
I'r Eigion farn i'th rwygaw.
Ofer ydyw 'th fwriadau
A'th chwerwon fygythion gau.
Yr isaf o wir weision
Y nerthawg drugarawg Ion
A geir yn mawr ragori
Holl nerthoedd dy dorfoedd di.
Y dinerth Ysbryd annuw,
Ymrysoni di â Duw?
Cosped, cerydded yr Ion
A chur dy eiriau chwerwon.
Mewn ofnus ofidus fodd
Y Gelyn draw a giliodd:
Gwelodd laned oedd golwg
Gwir rinwedd burwedd heb wg;
Gwelodd, teimlodd mewn galar,
Mor ffol ei anferthol fâr.
O'r olwg, mewn chwerw alaeth,
Trwy 'r wybren yn fellten f' aeth.
Y drwg Ysbryd tanllyd hyll,
O gallai 'r euog Ellyll,
E godai 'r gyfraith gadarn,
Gwir hyn, yn f' erbyn i farn,
Yn chwimmwth bob gorchymmyn
Er iddo gondemnio dyn.
Moler, bendithier y dydd,
Hi gladdwyd mewn goleuddydd:
Er gwŷn ei fawr ddrygioni,
Mae 'n dda, ni chyhudda hi.
Hon oedd ddewr, mae hi 'n ddirym;
Y Groes ddilëodd ei grym.
Cyfan hi gladdwyd, cofier,
Yn ddilys yn ystlys Nêr.
Yn fanwl ei gofynion
Fe dalodd, mawrhâodd hon.
Am hyn mawl siriawl i'r Sant
Genir fry 'n y Gogoniant.
Awdwr a Rhoddwr pob rhâd
A'm codo, Ef yw 'm Ceidwad,
O rwydau, o faglau 'r Fall,
I dirion fywyd arall.

# BUDDUGOLIAETHAU IOSUA.

**Mynediad yr Israeliaid, dan arweiniad Iosua, drwy yr Iorddonen, yr hon a ymagorodd yn wyrthiol o'u blaen. Desgrifiad o'r dychryn a lanwodd galonnau y Canaaneaid. Distryw Iericho. Brwydr fawr a gwyrthiol Gibeon, yn yr hon y gorchfygwyd byddinoedd y brenhinoedd cadarnaf yng Nghanaan, ac y cafodd yr Israeliaid feddiant o wlad yr addewid.**

I Iosua, dda 'n ei ddydd,
A thradewr ddoeth waredydd,
Dan nawdd Naf, y gweŭaf gain
Arwrawl gadr arwyrain.
Rhoddwr y ddawn ffreulawn ffraeth,
Fyw Noddwr f' awenyddiaeth,
Dy addysg hael dod iddi,
Ein Tad, er d' ogoniant Di:
Os Tydi weni yn wir,
Dïau y gerdd wrandewir.
Wrth gofiaw araith gyfion,
Fawr ei phwys, Moesen lwys lon,
Ei ryfedd buredd a'i bwyll
I'w tadau, wr mâd didwyll,
Hir wylodd yr Israeliaid,
Mawr oedd eu cur pur heb baid.
Gwir arwyl y gwr eirian
Pan ddarfu, 'n fwyngu i'r un fàn
Galwodd Iosua 'r gwiwlu,
Sef pennau 'r llwythau 'n un llu;
Deuant, rhoddant wrandawiad
Hawddgar i'r mwynwar wr mâd.
Chwi ffyddlon weision ein Naf,
A'i ddeiliaid santeiddiolaf,
Y mawr Ion a gymmerawdd
Ei was, mewn urddas, i'w nawdd:
Mae 'r gwr mawr ei hygaredd
Yn Nef olau 'n mwynhâu hedd.
Mae 'r berffaith gyfraith, bob gair,
Yn dda, ac i'w chadw 'n ddiwair;
Mae 'r Duw byw 'n gerth nerth i ni
Abl yn wir i'n blaenori.
I neb na boed anobaith.
Cyn hir e welir ei waith.
Chwithau tramwywch weithion
Trwy restrau y llwythau llon:
Prysurwch, gofalwch fod
Yn bur mewn tridiau 'n barod
I fyned, dan nodded Naf,
I gyrrau 'r wlad hygaraf.
I'r Hwn a fawr wahanawdd
Y môr gynt ar hynt yn hawdd,
Hawdd sychu, rhannu o'n Rhên
Hardd wyneb yr Iorddonen.
Credwn byth i'r Creawdwr,
Ef yw 'n Tad, ein Naf a'n Twr:
Gwelir mawreddawg olwg,
Ein Nêr drwy 'r dyfnder a'n dwg.
Pennaethiaid anwylblaid Naf
I'r enwog wr eirianaf
Ymgrymmant, attebant,—Ti,
Wr hylwydd, gei 'n rheoli;
Dïau y rhown wrandawiad
Cyfiawn i'th orch'myniawn mâd:
Culwys wynebpryd Celi,
Odiaeth wr, fo gyd â thi.
Ger bron y gwron gŵyrant,
Ac i'w swydd ddedwydd ydd ânt.
Wele 'r wlad ryfeddfad fawr,
Lawenaf wlad ffrwythlonwawr!
Ceinwiw arwydd oedd Canaan
O'r Nefoedd, gu lysoedd glân.
Dan Iosua, dawnus wr,
Caredig lu 'r Creawdwr
Ar y trydydd dydd i'r daith,
Wŷr enwog, ânt ar unwaith
Rhyngddynt a'u gwlad lwysfad lawn,
Wir fyg restrau arfogiawn.
O flaen y dorf lawenaf,
Eurwych nawdd, yr aeth arch Naf.
Canlynant, gwelant mewn gwawl
Ryfeddod eglur fuddiawl:
Y ffriwdeg offeiriadau
Duwiol, wrth siriol neshâu
Ag arch oreubarch yr Ion,
Wŷr ufudd, at yr afon,
Iorddonen ffraw draw a drodd,
Ar unwaith yr ymrannodd:
Mal crisial fur eglur oedd
Dafnau dwr y dyfnderoedd:
Bu myrddiynau 'n rhestrau rhawg
O donnau yn gadwynawg;
Y gwaelod têg a welir
Yn sych, yn gadarnwych dir.
Deuddeg offeiriad addwyn,
O enw da, oeddent yn dwyn
Y roddfawr drugareddfa,
A'r arch, mewn duwiolbarch da.
Hyderus iawn ar dir sych,
Ar ganol y fawr geinwych
Iorddonen, wŷr haeddiannawl,
Safasant; gwiwblant y Gwawl
Fyrddiynau o restrau 'r ânt,
Defnyn o ddwr nid ofnant;
Heb bryder, drwy 'r dyfnder dwys
A'r cu warlu cywirlwys

I'r làn, lle bu lydan lif,
Fannerawg dorf aneirif.
Drwy 'r fyddin dra rhyfeddawl
Pob calon rydd fywlon fawl
I'w cadarn Dduw a'u Ceidwad,
Rywiog lu, ar dir eu gwlad:
Eu cân wiw lân, olynol,
Y nef ddadseiniodd yn ôl.
  Yr arch wir-hybarch ar hyn
A godwyd;—rhyfedd! gwed'yn
Clywsant agwrdd dwrdd y dòn,
Rhoddwyd myrddiynau 'n rhyddion
O donnau; chwyrn ymdaenant,
A rhuthro 'n union a wnant,
Nerthawl orfoleddawl floedd,
Yn daerion i'w dyfnderoedd;
Yr afon eglurion glau
Lenwodd at ei cheulanau.
  Newyddion weithion aethant
Yn fuan, drwy Ganaan, gànt;
Taenwyd drwy Balestina
Ofn poeth y genedl ddoeth dda.
Rhag meibion Ion, ëon wŷr,
E ddelwodd gau addolwyr,
Clodforedd rhyfedd i'w Rhên,
Hâd Abra'm, hyd y wybren,
A foesawl ddyrchafasant
I'r nefawl orseddawl Sant.
Meddiannant, mewn modd uniawn,
Drwy Dduw Tad, y lwyswlad lawn.
  Trigolion y fro 'n un fryd
Anferth bechodau ynfyd,
Lu nawswyllt, gyflawnasant,
Barn gyflawn gyflawn a gânt:
Ar ynfydiawn, digllawn daeth
Hedegawg gospedigaeth.
Mal pan ruthro 'r môr mawrwyllt,
Ar gaeth ro helaeth pan hyllt,
Ei donnau, fyrdd, ymdaenant,
Tros y ro dan ruo 'r ânt.
Swn eres! eu synwyrau
Y gwylltion drigolion gau
Gollant; ni chynhygiant hwy
Redeg rhag chwyrn ruadwy
Ddinystr, anffodiawg ddynion,
Nag attal dïal y dòn:
Felly, rhag eu lu Nef lân,
Cyni cenhedloedd Canaan.
  Mawrha'dd Ion weithion ei was
Gwarddoeth ag amlwg urddas;
Y genedl fawr ogoniant,
I Dduw a hwn ufuddhânt.
  Y manna pêr dymunawl,
Wlawiwyd gynt o wlad y Gwawl,
A beidiodd pan ddygodd Ion
Yn hylwydd ei anwylion
I'w gwlad, ei ffrwythau gludant,
Daioni 'r tir a fwyttânt.
  Gwas Nêr, i geisio ei nawdd,
A dawel ymneillduawdd;

Myfyriaw 'r oedd am Fawredd,
Am wyrthiau, rhadau Ior Hedd,
A'i ddaionus nawdd hynod
Iddynt hwy, ac am fwy i fod.
Mewn gweddi ddifri' ydd oedd
Ar Naf, ar Ior y nefoedd.
Da gwyddai y rhoddai 'n Rhi
Lwyddiant ar ddirgel weddi:
Gwelodd wr gloywdda ei wedd,
Llon, gwrol, llawn hygaredd;
Bywiog a nerthog iawn oedd,
Ei loywder mal haul ydoedd:
Yn neheulaw 'r Glân haelwedd,
Mawr rym, yr oedd gloywlym gledd.
Caerau Iericho eirian
Gref oedd ar gyfer y fàn.
Y gradur hygar odiaeth
At y Gwron ëon aeth:
O'n plaid, wrth raid, yr ydwyt?
Neu i'n herbyn yn Elyn wyt?
  A'i gain wedd mal y gwŷn wawl
Hoenus, mwy na brenhinawl,
Attebodd, gwenodd yn gu,
Loywaf Ior, wrth lefaru;
Daethum â phob bendithion
Yn D'wysawg galluawg llon,
Erglyw, i lu yr Arglwydd,
O'i Lys Ef, fy anwyl swydd.
  Iosua fwyaf ei fawl,
Y dewraf wr daearawl,
Syrthiodd i lawr 'n awr yn ŵyl
Ar ei wyneb, wr anwyl:
Beth fŷn, os nad yw hyn hyf,
Beth fŷn f' Arglwydd gwŷn gennyf?
  Eb yr eurglod Bôr, Erglyw,
Dduwiol wr, santeiddiawl yw
Y fan hon, le gwyrddlon, gwel,
Dïosg d' esgidiau 'n dawel.
  O dêg wir barchedigaeth
Gain wr, eu dïosg a wnaeth.
  Eb 'r Angel goruchel ryw,
Haeddaist dy wrandaw heddyw;
Iosua, wr dewisawl,
Dy ddifri' weddi, dy fawl
Bywiawl gan Dduw glybuwyd,
Yn ffafor yr Ior yr wyd,
Fel y gwr nefawl gariad,
Dy ragflaenawr mawr a mâd.
Manwl gadw 'r gorch'mynion
Mawrlles a roddes yr Ion;
Nag ammhau Dduw yn gymmorth
Presennol, a bywiol Borth:
Fyw agwrdd wr, gorchfygi
Bob gelyn ddaw yn d' erbyn di.
Yn ddïau 'r elfennau fydd,
Byw ynni, o'th blaid beunydd;
Dilys byddant wrth d' alwad
Yn nawdd gwych yn nydd y gâd.
Ddewr lywydd dedwydd a da,
Mawr alwad, ymwrola.

Rhydd Naf i'r fyddin wiwfad
Y werddwawr ffrwythlonfawr wlad.
 Y Nefol nerthol, fyw Nawdd,
Yn odiaeth ymnewidiawdd
I'w hynod wedd ei hunan,
Ac ar frys i Lys Nef lân
Ehedodd yn hoyw odiaeth,
Amlwg o'r olwg yr aeth.
 Yr arwr, gwladwr gloywdeg,
Aeth i'w lywedyddiaeth dêg:
Udd enwog, i'w ddiddanu
Siccrwydd o fawrlwydd a fu.
Wrth dda drugareddfa 'r Ion
Hyrwydd y ca'dd gynghorion
Tra ewybr i ddistrywio
Nerth cawri certh Iericho.
Gweision cysurlon y Sant
Y galchog gaer amgylchant:
Seiniant, tra rhodiant, yn rhawd,
Yn harddwych mewn cyrn hyrddawd:
Ac ar floedd byddinoedd Ion
Y caerau, muriau mawrion,
O'u seiliau 'n ddarnau ydd ânt,
O gwmpas a gydgwympant.
Y siriolwedd Israeliaid
Cryfion a hyfion, yn haid
Ruadwy a gyd-redant,
Lladd cawri 'n aneiri' wnant:
Mewn barn eu caer gadarn gynt
A ddoddyw 'n ddyfnfedd iddynt.
 Cenhadon o Gibeon gau,
Hudolion, rhag dïalau,
Daethant, mewn rhith ymdeithwyr,
Mal duwiol rinweddol wŷr,
O bell, a'r ddichell hell hon
Yno ffynnodd yn union.
Rheolwyr yr Israeliaid,
Bai mawr, heb gyngawr a gaid;
Can's ymgynghori ni wnant
A genau Ior Gogoniant.
 Wedi 'r twyll, eisiau pwyll pur,
I geisio gan Dduw gysur,
Y dewr Iosua diriawn,
Lwys wr, fu 'n ofalus iawn:
Ddoetha' swydd, aeth Iosua
Hyfwyn ger bron Iehofa,
Hoff Athraw pob perffeithrwydd,
Tad pob dawn sy lawn o lwydd:
Ger bron da orseddfa 'r Sant,
O gu enau 'r Gogoniant,
Fe ddedwydd gafodd ddidwyll
Gyfiawn attebiawn rhag twyll
A brâd a llid berwedig
Ei âlon dewrion a dig.
 Buan drwy Ganaan i gyd,
Mewn ennynfraw, mewn unfryd,
Brenhinoedd â'u lluoedd llawn
Rhyfygus ac arfogiawn
Lïosawg ymgasglasant
Yn erbyn eu sywlu 'r Sant.

Cododd, ym mysg y cedyrn
Dewrion, wych ëon wr chwyrn:
Gorwyllt felltennawg araith
I gynhyrfu 'r mawrlu maith
A wnaeth; gwrandawan' hwythau
Yn gylch ei 'madroddion gau.
 Ddewrion gynfrodorion da
Diammhur y wlad yma,
Synnwch, gwrandêwch dros ennyd;
Clywsoch, a gwyddoch i gyd,*
Crwydraid a gwibiaid, a gwaeth
Na lladron i'n llywodraeth
A ddwysion ymhyrddasant,
Bygythio 'n dinystrio wnant.
A edwyn neb pwy ydynt?
Caethweision gwaelion iawn gynt:
Lladron gwelwon eu golwg
O wlad yr Aipht, o le drwg:
Gweiniaid llawn o ddrygioni
O bau 'r Aipht yrrwyd heb ri'.
Os gwir mae rhai 'n wasgaru
Drwy 'r wlad am y crwydrawl lu,
Swynwr mawr o'u gwasanaeth
Llwyr brudd, o'u cystudd blin caeth
A'u dygodd er ys deugain
Mlynedd, a rhyfedd bu 'r rhai 'n
Yn crwydro, 'n ymdreiglo 'n drwch
Mewn niwl, ac mewn anialwch.
Eu swynwr mawr, er's ennyd,
Drwy fawr boen, darfu o'r byd;
Ac fe ddarfu o'u llu 'n llwyr
Eu swynion, a phob synwyr.
Dichellion gwŷr Gibeon gau,
A'u dillad llawn o dyllau,
Sy 'n dangos, heb os, i'r byd
Iawnfarn, eu bod yn ynfyd,
Mai dall iawn, mai hydwyll ŷnt,
I'w gw'radwydd mawr, pan gredynt,
Y gwŷr dwyllwyd â geiriau,
Ag araith lawn gweniaith gau,
Ag arfau hawdd eu gorfod,
I'n didawl ryglyddawl glod;
Gwrolion enwogion Ai
Drwy faesydd a darfasai
Y crwydraid trueiniaid trwch
Yn ôl i'r hagr anialwch,
Pe Gibeon anffyddlon ffol
Yno safasai 'n unol:
A dyma 'r dorf lerwlorf lom
Yn ysawl a ofnasom!
Chwi agwrdd ardderchogiawn,
Gan ymgasglu yn llu llawn,
Gyrrwch hwy, mal chwyrn gorwynt,
I'w gorchwylion gwaelion gynt:
Y caethion, creulon eu cri,
Riddfannant dan briddfeini.
Oddefwn iddynt ddyfod
Heddyw i fyw ac i fod
Yn ein gwlad anwylfad ni,
I'w hagwrdd berchennogi?

Y caethweision gwylltion gau
Ni adawant mo'n duwiau
Mawrfri heb eu llosgi 'n llwyr,
Yn uwel o dan awyr.
Daeog-lu, duwiau hyglod
Ni feddant, ni fynnant fod
Un ychwaith gennych chwithau;
Didduwiaid yw'r gwibiaid gau.
A geir duwiau 'n rhagori
Dan nef, mal ein duwiau ni?
O'r cynfyd hefyd, on'd hwy
Yn nerthog fu 'n cynnorthwy?
Ninnau âg arfau yn gerth
A ddarniwn, drwy fawr ddewr-nerth,
Anferth elynion ynfyd
Ein duwiau drwy barthau 'r byd.
Chwi dduwiau 'n brynniau a'n bro,
Yn wyrthiawl chwi a'n nertho
Ar redeg i ddifrodi
Eich gelynion chwerwon chwi.
Ystyriwch, gwelwch y gâd
Wych gulwydd wrth eich galwad,
Arfogion hyfion hefyd
Yn llu'n ymdynghedu 'nghyd.
Clyw, Moloch, Moloch, miloedd
A gei o ebyrth ar g'oedd
I'th lenwi o'th elynion,
Yn haeddawl i'th freiniawl fron;*
Danfon di eleni lawn
Lwyddiant i'th addolyddiawn.
Dduwiau 'n gwlad!—rhuad ar hyn,
Bloedd gan dorfoedd diderfyn
Rwygodd, lenwodd y nef lân,—
Cynnydd i dduwiau Canaan!
A'n bannerau 'n gwau'n y gwawl
Awn i'r maes yn rymmusawl.
  Yr astrus gawri restrant,
Cyfeirio 'n union a wnant
Yn dorfoedd chwerwfloedd a chwyrn,
Gwaedlyd, i gyd yn gedyrn,
At Gibeon enwogion wych,
Hynod ddinas frenhinwych:
Dinas yn disglair d'w'nnu
Ar fryn llon oedd Gibeon gu.
Meddynt, Ni's gellir maddau
I ynfydion Gibeon gau:
Am drosedd eu bonedd bas
Ni a daniwn eu dinas;
Na arbedwn, lladdwn eu llu
Gwarthus am ein drwg werthu.
  Eu rhawd i'r frwydr ehedynt
Mal tanllyd gerbyd y gwynt.

A'u carnau y meirch cawrnerth
Daranant, gurant yn gerth
Y dyffryn, ddi derfyn dorf,
Arw ruadwy weryrdorf.
  Poen wyllt fu'r newydd pan aeth
I heolydd ehelaeth
Gibeon; prin yr oedd gobaith
Gan gedyrn wŷr chwyrn ychwaith.
Goreuon Gibeon i gyd,
Rhag rhyfel, rhag hir ofyd,
Mewn dychryn tra sŷn tros awr,
Ac ing, a chyfyng-gyngawr,
Nawsaidd benderfynasant
Mai brysio 'n union a wnant
At Iosua, fwyaf Ior,
Foliannus fywiog flaenor;
Eiddunant ei dda wiwnawdd
Presennol, ei nerthol nawdd.
  Y gwŷr da ystyr, distaw
Gyfeiriant, brysiant mewn braw;
Dan deithiaw 'n dynn y daethant
At wersyll cu syw-lu 'r Sant:
Gwelid dychryn a galar
A gwae ddwys yn eu gwedd wâr;
Ymgrymmu 'n fwyneiddlu wnant,
Hwy foesawl ddeisyfiasant
Gael dangos eu hachos hwy
I'w dedwydd Ior clodadwy,
Arweinydd a llywydd llon
Gwiwlwys anorchfygolion:
Achos yn perthyn ichwi
Yn agos yw 'n hachos ni.
  E ddygodd heirdd swyddogion
Y gwŷr ar frys ger ei fron.
  Fawrfrydig bendefig doeth,
Ar wiwgain orsedd eurgoeth
Eisteddawdd, rhannawdd ar hon,
A gofal, farn yn gyfion,
Ior hael ac arwr hylwydd,
Haeddawl o'i orseddawl swydd,
A gwialen (fu 'n bugeiliaw)
Moesen yn ei loyw-wèn law,
Eirian wr, a'r henuriaid
O'i ddeutu 'n geinlu a gaid.
  Gwŷr Gibeon draw, mewn braw bron,
A ch'wilydd grudd a chalon,
A grynant, ac ar unwaith
Ymgrymmant, gŵyrant dair gwaith.
  Y gwir-enwog arweinydd,
Ag ael dêg mal golau dydd,
Olygodd, holodd eu hynt,
Treiddiawdd ei olwg trwyddynt:
Pa iawn achosiawn i chwi
Ymofyn mwy â myfi?
Ebe 'r gwrawl Bôr geirwir,
Traethwch, agorwch y gwir,—
Y gwir!—arno mae 'n gorwedd
Eich bywyd o hyd a hedd.
  A geiriau rhywiog araf
Addas i anwylwas Naf,

* Yn ol y Rabbiniaid Iuddewig, delw anferth o bres ar lun y corph dynol, a'r breichiau ar ddull mam yn cofleidio ei baban, ac yn gau oddimewn, oedd Moloch. Y dull cyffredin o offrymu iddo oedd rhoddi tân mawr dan y ddelw, i'w gwneud yn wynnias boeth, yna taflu y plant diofrydedig i'w "freiniol fron," i'w llosgi yn ulw. Pan y byddai nifer mawr o blant i'w hoffrymu, rhy fawr i'r ddelw allu eu cofleidio ar unwaith, pentyrid hwy y tu mewn iddi cyn rhoddi tân dani.

Traethant hanes eres iawn:
Enwog d'wysog, dy weisiawn
Ffyddlon a gwaelion i gyd,
Mewn odfa trwm iawn adfyd,
Sy 'n eiriol am nerthol nawdd,
I weiniaid bydd di'n wiwnawdd.
Pum brenin gerwin a gaid,
Rai dewrion o ryw diriaid,
Yn anwar gyd-ennynnu
I'n lladd yng Ngibeon yn llu:
Ein dinas hen a daniant,
Rhuthro i'n dinystrio wnant,
O herwydd, ein harglwydd hael,
In' ddewis bod dan ddiwael
Nodded (nyni a'n heiddaw)
Dy rymmus haelionus law.
Gwŷr dihefeirch ar feirch fyrdd,
Preiffion, sy 'n llenwi 'r prif-ffyrdd;
Hoywon gerbydau heiyrn,
Llawn arfogion chwerwon chwyrn,
Sy 'n rhestrawg olwynawg lu
Ter-wynnias yn taranu;
Sawdwyr, gormeilwyr milain,
Aneirif yw rhif y rhai 'n,
Yn edlym iawn anadlant
O'u calon fygythion gànt,
Yn waedlyd i gyd, gwedi
Trwy nerth ein distrywio ni,
Y drylliant, lladdant chwi 'n llwyr
O rywiog olau 'r awyr.
Y gosp fygythiodd y gwŷr
Ddel iddynt, ddïaleddwyr.
Tyred, a gwared y gwan,
Prysura, ein pôr seirian:
Beunydd bydd y Gibeoniaid
Yn fendith i'ch plith, o'ch plaid.
Cododd yr arwr cadarn
O eglur orsedd bur barn,
Gwed'yn, yn fywiog odiaeth,
A'i law amneidiaw a wnaeth:
Digon, ebe 'r gwron gwych,
O'ch hirfaith araith eurwych;
A eill fod sefyllfa waeth
Na byd o anwybodaeth?
Oh ddynion! pa dda inni
Wna 'ch gweigion ddichellion chwi?
Yn fudion yn union ânt,
Ddwl weision, hwy ddelwasant.
Ei ael, bôr hael, yn bur hawdd,
Ar unwaith a dirionawdd;
Mewn hygar gyfeillgar fodd
Mawreddawg ymwareiddiodd:
Golygwch, gwelwch nef gain:
Perffaith yw 'r mawrwaith mirain:
Gwelwch ddisgleirgylch gwiwlon
Uchelder ehangder hon.
Adwaenir Duw y wiwnef
Wrth ei waith a'i wyrthiau Ef.
Duw 'n tadau a bïau 'r byd
A'i ryfedd lawnder hefyd;
Gywir Ion, ei gywreinwaith
Yw rhodau 'r nef olau faith:
Gwiwlu sydd fry, na's gwelwn,
Goruwch y byd hyfryd hwn,
Cedyrn o nerth, eu ydynt,
I Dduw Nef ufuddion ŷnt.
Oh waeledd daearolion
Wrth nerthoedd byddinoedd Ion!
Yng ngolwg pob blwng elyn
Nid hir ammheuir mo hyn.
Addolwyr pob rhyw ddelwau,
Am ddiffaith wageddwaith gau,
Ddryllir o'r ddaear allan,
A'u temlau a'u duwiau 'n dân.
Haws o lawer i'n Nêr ni,
A luniodd fyd, gyflawni
Nag i mi gyhoeddi hyn;
Gwelir y dydd a ga'lyn.
A glywsoch, a welsoch chwi
Fyllt yn orwyllt aneiri'
O ddyfnddwl gwmmwl yn gwau
Ar unwaith â tharanau?
Eu rhawd, y ffyrdd yr hedynt
Gweision ufuddion Naf ŷnt.
Fawr Dduw y Nef a'r ddaear,
I'n tadau, wŷr gorau gwâr,
Addawodd Ganaan ddiwael,
A ni 'n eich lle chwi 'n ei chael:
Nêr glân, yn nhrefn rhagluniaeth,
Ei brid addewid a ddaeth.
Ni thwylla ein Noddfa ni,
Coeliwch, ni thwyllir Celi.
Ystyriwch, a chofiwch hyn,
(Celwydd a fu 'n eich ca'lyn)
Am ein llw yn ei Enw Ef,
Gwanar daear a gwiwnef,
Trigolion Gibeon a gânt
Eirian hedd, er na haeddant.
Yn drag'wyddawl, haeddawl hyn,
C'wilydd a fydd i'ch ca'lyn;
Dilys, am eich hudoliaeth,
Eich bywyd i gyd fydd gaeth;
Gofid gewch byth yn gyfan,
Mae'n dra thêg, mewn dwr a thân.
Minnau 'ch gwnaf yn gymmynwyr
Caethion, ac yn waelion ŷr,
Yn addas wehynyddion
I weini llwyth Lefi lon.
Rhag creulon âlon, yn wir,
A'u godwrdd, chwi a gedwir.
Yn ddïau nyni ddeuwn
Yn gyflym mewn grym yn grwn.
Coeliwch was'naethwr Celi;
Brysiwch a dychwelwch chwi;
Ehedwch, fel cenhadon
Happus, i'ch grymmus gaer gron:
Yno, pan ennynno 'r nef
Yn addig dân anoddef,
Gobaith fydd i wŷr Gibeon
Rhag bolltau taranau 'r Ion.

Yn y byd hyll-ynfyd, llawn
O farwol ddrwg arferiawn,
Tystion y mawr Ion, a'i rym,
A'i dadawl gariad, ydym;
A thradewr trwy weithredoedd
Amlygir y gwir ar g'oedd.
Wrth ddistaw wrandaw ar iaith
Y gwron nerthawg araith,
Cenhadon Gibeon a gaid
Yno mewn syndod enaid;
Ger bron gwas ŝon y Sant
Moesawl gyd-ymgrymmasant:
Ant yn brudd ac ufuddol
I Gibeon weithion yn ôl.
Dan fâd arweiniad yr Ion,
Y cuferth arwr cyfion
A'i gedyrn arfawg odiaeth
At Gibeon yn union aeth,
Yn ddewrwych, yn ddi-aros,
Wrth wawl ser yn nyfnder nos:
Ar draed y brysiant i'r drin
Fawr wynnias, a'u Duw 'n Frenin.
Ar unwaith penderfynir
Pwy feddianna y da dir.
Pendefigion Gibeon gu,
Taerion oeddynt yn tyrru
I wrandaw, â braw i'w bron,
Eu cain hoywdeg genhadon:
Pa newyddion? pa nodded
A gânt? pa lwyddiant ar led?
Mae 'n gâlon geirwon i gyd,
A chwerw unllais dychrynllyd,
Y nos hon wedi neshâu,
Yn cyrraedd at ein caerau,
Trwy awydd i'n distrywiaw,
Garw eu llid y dydd ger llaw!
Mawrlles, ebe negesydd,
Newyddion cysurlon sydd:
D'wedodd yr Ior clodadwy
Y rhestrent, y teithient hwy
Ar frys, a dilys y daw;
Iawnddwys hyderwn ynddaw.
Golygodd ef y nefoedd
Helaeth; Ior odiaeth, yr oedd
Ucheledd rhyfedd mewn rhan
O'i berffaith araith eirian,
O gyrraedd (gan ragori)
Ein deall gwan-anghall ni.
D'wedodd yn bur eglur in',
Hyf udd, doi ef a'i fyddin
Yn gyflym mewn grym yn grwn;—
Y gradur mawr a gredwn.
Cywiriaid ar ein ceurydd,
Ffyddlon wiliedyddion dydd,
A welant yr Israeliaid
Arfogion, yn hoywlon haid;
A dïau pan y deuant,
Ein rhyddhâu ninnau a wnant;
Tarfant y gwaedlyd dorfoedd
Sydd draw 'n bygythiaw ar g'oedd.
Drwy 'r ammherffaith araith hon,
A hyder eu cenhadon,
I galon y Gibeoniaid
Rhag dylaith gobaith a gaid;
Cysur, ryw fesur, a fu
O gael eu dïogelu.
Gan yr oriau dorau 'r dydd
Agorwyd, a thrwy geurydd
Y nefoedd, oll yn wiwferth,
Yr huan eirian ei nerth
I'w fawrdaith ddaeth ar fyrder,
A ffodd gwawl siriawl y ser.
Danbaid Amoriaid, marwol
Oedd eu dig ffyrnig a ffol;
Yn gedyrn, yn chwyrn eu chwant,
Weis trawsion, ymrestrasant,
A'u heirf disglair a hirfawr
O'u deutu 'n ennynnu 'n awr.
Cerbydau 'r cadau cedyrn,
Rawd chwai, oedd ar rodau chwyrn,
A meirch dihefeirch hyfiawn,
Taranllyd, yn danllyd iawn.
Parod ydoedd pob peiriant,
At Gibeon yn union ânt:
Rhuadwy, ofnadwy 'n wir
Crochfloedd byddinoedd enwir:
Bu yno y Gibeoniaid
Mewn ofnau poenau heb baid.
Yn odfa y dwfn adfyd,
Mewn buddiol brïodol bryd,
Gwiliedydd, mewn gloyw adail,
Yng Ngibeon desoglon sail,
Alwodd,—Mae torf yn olau,
Nerthawl, yn siriawl neshâu:
Didwyll Israeliaid ydynt,
A'u banerau 'n gwau 'n y gwynt.
Gobaith gwych i wŷr Gibeon!
Yn gu iawn lu â gwên lon
Hwy ddrudion ymddiriedynt
Yn noddfa hâd gwyr-da gynt.
Llon oedd gwŷr Gibeon i gyd,
Yn ddidawl gan ddywedyd,
Hâd Abr'am ddinam a ddaeth,
Hylwydd, i'w gwlad ehelaeth:
Abraham fu bur o hyd,
Cyfiawn fu Isaac hefyd;
Iago 'n wr digyffro gaid,
Llwyr ddawnus llariaidd enaid:
Oes ail i Ioseph is ser,
Dda hybarch lywydd hoywber?
Odiaethawl yw bendithion
Y ddiwael genedl hael hon.
Mae 'r gwŷr sy 'n mawr ragori,
Nerthawl, yn unawl â ni;
Buddiawl i'n gilydd byddom,
Yn unawl bythawl y b'om.
Iôr enwog â mawr ynni
Prysurawdd yn nawdd i ni;
Yn deilwng weision dilyth
I'r Ior hwn ni fyddwn fyth.

Y gâlon chwerwon drwg chwant,
Bywiog leisiau glybuant
Ar y glaer gadarn gaer gerth,
Fawrfaint hyd y nef eurferth.
Gloywdeg annisgwyliadwy
Fyddin hardd ganfyddan' hwy
O draw yn brysiaw ger bron,
Dïofnawg restrau dyfnion;
Ar redeg brysiaw 'r ydynt,
Bannerawg ac arfawg ŷnt.
Annuwiol Ganaaneaid,
Mewn llid llawn, yn hell iawn haid
Eu nadau a'u lleisiau 'n llwyr
Trwodd rwygent yr awyr,
Gan fawrhâu 'u duwiau 'n ddi dawl
Yn anwar dorf ennynnawl.
Codwyd gwarchae y cedyrn
Ar gyhoedd â chwerwfloedd chwyrn,
A rhoddwyd yn yr hoywddydd
Gibeon yr awr hon yn rhydd.
Yn rhestrau, â gawriau gànt,
Nawswyllt ymfyddinasant
Yn galonnawg elynion
I darfu goreulu 'r Ion.
Iosua, lywydd da doeth,
Wnaeth agwrdd araith hygoeth
I genedl hoff ac anwyl
Celi, i'w rhoddi ar hwyl:
Hâd Israel hael a hylwydd,
Ystyriwch, rhoddwch yn rhwydd
Wrandawiad, cyn y gâd gerth
Farwol, i f' araith fawrwerth;
Wedi 'n da ddyfodfa o fyd
Yr udfawr a'r hir adfyd,
Beunyddiol gwyrthiol i gyd,
O bau i bau, fu 'n bywyd.
Gan Ion heddyw coronir
Ei berffaith iawn waith yn wir.
Y modd y cawn y meddiant
Mawrlwydd, fydd siccrwydd mai 'r SANT,
Goruchaf Naf y nefoedd,
Roes i'n rhan Ganaan ar g'oedd.
Y nerthol fuddugoliaeth
O'i law a ddaw, wele, ddaeth!
I buro, perffeithio 'ch ffydd
Groywdeg yn y Gwaredydd;
I'w ddewis Ef yn Dduw Sant,
Ac unig Ior Gogoniant.
Cofiwch, yng nghanol cyfoeth,
Eiriau 'ch noddwr, deddfwr doeth,
Rymmusawl gyngor Moesen,
A'i gyfraith berffaith dros ben:
Na 'ddolwch feirwon ddelwau
Y ffolion drigolion gau;
O'ch calon, Ion y wiwnef
A glodforwch, ofnwch Ef,
Ac unwch oll, bob genau,
Fore a hwyr i'w fawrhâu;
A rhwydd cewch chwi bob rhoddiawn
O'i law Ef, o'r lwysnef lawn:
Y nerthawg fawrion wyrthiau
Bair ddychryn i'r gelyn gau,
Gan ddeffro 'r byd cysglyd caeth
O'i ddilwydd ddelw-addoliaeth,
I ddilys wir addoli
Iehofa, ein Noddfa ni.
Cyhoeddir yn dêg heddyw
Dda barch yr unig Dduw byw:
E welir heddyw 'n olau
Ffyrdd cyfion mawrion Duw mau:
Y Duw wnaeth Nef a daear
Gerydda, orchfyga fâr
Y byd a'i anwybodaeth;
Distryw pob gau dduwiau ddaeth.
Dewrder a nifer a nerth
Dynol, nid ŷnt ond dinerth,
Ond diddym wrth rym yr Ion,
O'i wiwserch, yn ei weision.
Cleddyfau o'u gweiniau, gànt,
A loyw wydrawl belydrant
Yn nwylaw 'r fyddin ffraw ffraeth;
Hwy dd'wedynt, Ein hudd odiaeth,
Ein t'wysawg galluawg llon,
Gweli, neshâu mae 'r gâlon.
Dod, ein glyw gwiwglod, y gair,
A Duw roddo d' arwyddair.
Gwas Duw gwŷn, heb ronyn braw,
Ei ddau olwg a'i ddwylaw
Gyfodawdd am nawdd ei Naf
I'r wenwych nef eirianaf;
Ein Ior, rhag torf aneiri',
Duw a'i nawdd fo gyd â ni.
Y siriolwedd Israeliaid
Ar hyn yn cychwyn eu caid,
Gain weddus wŷr, gan waeddi,
Duw a'i nawdd fo gyd â ni.
Mewn grym brwydr edlym waedlyd
Am seirian Ganaan i gyd
Ennynna 'n fflammau 'n union;
Y cadau 'n rhestrau 'r awr hon
Fwy-fwy rhuadwy rhedant,
A dewr rym i'r frwydr yr ânt.
Cynnwrf byddinoedd Canaan
Oedd ffyrnig, â'u dig ar dân.
Y mirain arwr mawrwerth,
Iosua, sefyllfa ferth
Ddewisodd, Ior urddasawl,
Gloyw ei rudd, mewn eglur wawl
Ar fryn gyferbyn â'r fawr
Arfog fyddin weryrfawr.
Estynnodd gwas addas Ion
Ei ddiffael ryfedd waywffon
I'r nef, a'i weddi ef aeth
Yn hylwydd yno 'n helaeth:
Y nef gu mewn du amdôdd,
A'r gron ddaear a grynodd;
Taranau trwy y wiwnef
Gyhoeddant gerth nerth y Nef.
Rhyfeddol! drwy nefol nawdd,
Draw, eisoes, yw 'r frwydr drosawdd?

Elynion dewrion a dig,
Ydynt hwy 'n wasgaredig?
Ar hynt canolbwynt eu nerth
A chadarnwch eu dewrnerth
Trwy rym taranfyllt yr Ion,
Wasgarwyd yn ysgyrrion.
Cerbydau ac arfau 'n gerth,
A'r ynfyd gawri anferth,
Ysgeler, draws eu gilydd
Yn ddarnau, 'n wasarnau sydd,
Ac eraill ar wasgariad,
Mal gwyllt-dân, drwy 'r lydan wlad:
Y gwydlawn gawri gwaedlyd,
Ffoant, ac udant i gyd.
  O Israel ddiwael ei ddawn!
Cofiwyd am hâd y cyfiawn;
Dan fâd arweiniad yr Ion,
Teilwng orchfygaist d' âlon:
Gwylltion trodd geirwon gawri
Eu gwarrau rhag d' arfau di;
Dy gledd yn hyf a ŷf waed,
Feddwir âg anufuddwaed.
Y dewr lew, Iudah wawr lân,
Y dur! y dur! fab y daran!
Ffyddlon fendithion dy dad
Olynol gânt gyflawniad:
Dyna d' elynion dinerth,
Dinystria di 'r cawri certh.
  O'u gwydd, fel yr ymguddiont,
Lawer myrdd, amryw ffyrdd, ffônt.
Rhag fflammawg ryfelawg fyllt
Rhedodd torfoedd rhuadwyllt.
Yr arfogion gwylltion gau,
Er eu bod mewn cerbydau,
Ddïangant? na wnant yn wir;
Gwas Ion, y gwron geirwir,
Estynnawdd yn hawdd o'u hol
Ei nerthawg waywffon wyrthiol:
Cenllysg, yn derfysg dirfawr,
Aneiri' mal meini mawr,
O'r nef dda, gorseddfa 'r Sant,
Isawd a chwyrn ruthrasant;
Ac yno cawri Canaan,
Fraw mawr, gaid yn chwilfriw mân.
  Fwyngu arwr cyflawngerth,
Anfarwol a nefol nerth
Presennol, bywiol, di baid,
Ennynnodd yn ei enaid.
At yr huan eirianwych
Yn union ei waywffon wych
Estynnawdd;—Dan nawdd fy Naf
Minnau 'n hyf orchymmynaf,
Aros lle 'r wyt, haul eirian,
A thithau 'r fâd leuad lân!
Haul a lleuad, mâd fu 'r modd,
O'u safle 'r un ni syflodd:
Y cynnes huan cannaid
Yn llon uwch Gibeon a gaid,
Yn entrych nef loyw-wych lân,
Dêg hafaidd ddiwrnod cyfan.

Yn deilwng, hir-ddydd dilyth,
Cofir, fe 'th ryfeddir fyth;
A llaw Arglwydd y lluoedd
Adwaenir, gwelir ar g'oedd
Nodawl fraich estynnedig,
Wrth achos, yn dangos dig,
Dydd cyfiawn digllawn o dâl,
Dydd hallt, dydd tywallt dïal
Gwynnias ar ddreigiau Annwn
Yw 'r mawr ddiwrnod hynod hwn.
Dedwydd Israeliaid ydynt
Lawn grym, mor gyflym a'r gwynt
Drwy y wlad hwy erlidiant,
Lladd cawri 'n aneiri' wnant:
Hagr ynfyd gawri anferth,
Torrwyd, anafwyd eu nerth.
Mewn un dydd, hir fydd ei fawl,
Ennillwyd Canaan ollawl:
Y ddiwael wlad addawodd
I'w weision, yr Ion a rodd.
  Brenhinoedd y lluoedd llawn
Llidiawg, gan eu trallodiawn,
A'r dychryn diderfyn du
Oedd yno 'n eu meddiannu.
Tan greigiau ag ofnau gânt,
Gwae ddwys! hwy ymguddiasant.
Pa noddfa, pa 'mguddfa gaid
Yn awr i'r fath anwiriaid?
O'u 'mguddfa, ddirgelfa gaeth,
Dygwyd hwy i farnedigaeth:
Iawn ar gyhoedd oedd iddynt
Fedi eu drygioni gynt.
  Ar ol y buddugol ddydd,
Ni fu ail, na'i hefelydd,
Rhodau golau y nef gu
Eilchwyl gaid yn amgylchu
Drwy 'r graddau 'n eu llwybrau llon,
Yn desawg hynod weision.
  O genedl santaidd geinwawr!
Meibion mwynion y Duw mawr,
Ireiddlon yw 'ch gwlad werddlas,
Dyffryndir a bryndir bras
Yn yfed gwlaw y nefoedd,
Am bob grawn ffrwythlon iawn oedd.
Beunydd dyma 'r wlad bennaf
Yn amlwg dan olwg Naf.
Helaeth ymerodraethau
Oedd weision i'r Gwyllon gau:
O ffordd lân y seirian Sant
Gresyn yr ymlygrasant.
Moloch waedlyd, a miloedd
Y'nghonglau 'u temlau hwynt oedd.
O gyffion bryntion a brau,
A diawliaid yn y delwau.
Y byd ffol, anferthol fodd,
Dallineb du a'i llenwodd.
Un genedl enwog union
Dan ei nawdd ddewisawdd Ion,
Wiw Flaenor, er cyflawniad
Amcaniou mawrion a mâd.

Gwelir ar gaerau 'r gâlon
Fannerau y llwythau llon
Yn hedeg drwy 'r loywdeg wlad
Lawenfawr a ffrwythlonfad.
Gorchfygwyd, tynnwyd tanynt
Weddillion chwyrn gedyrn gynt.
I lwythau Israel weithion,
Drwy anwylfad râd yr Ion,
Caethweision gwaelion i gyd
Yw 'r hyfion gawri hefyd.
Meddiannant, mwynhânt mewn hedd
Ragorawl wlad trugaredd.
  Wr Duw, mor ddirfawr dy waith!
Yn weddus awenyddwaith
Gyhoedda dy fawrdda fawl,
Ior gwiwddoeth yn dragwyddawl.
Gorch'mynaist, gelwaist i'r gâd
Fyw-wynnias fyllt nef wenfad;
Atteb a roesant itti,
Dïau, mewn nerth, dyma ni!
Cynllwyn fry yr oedd cenllysg
Trymmion a mawrion, i'w mysg
Ydd oedd parodrwydd addas
I ladd o'u cŵr luoedd cas;
Dïau 'r rhai 'n, ar d' air hynod,
Nerthawg annelawg i'w nôd
Rhuthrasant, lladdasant ddig
Gadarn dorf felldigedig.
Lloer lân a'r huan yn rhod
Eurdeg, drwy 'th fawr awdurdod,
A foesawl gyd-safasant,
Alluog swyddog y Sant.
Y Naf goruchaf a roes,
Wir arwr, i ti 'r eirioes
Greadigaeth helaeth hon
I'w rheoli 'n Ior hylon.
Y glyw odiaeth, pob gwledydd
A glywant, goffânt dy ffydd:
Credaist, mawrygaist yr Ion,
Bôr gwiwlwys, o'th bur galon;
Yn dêg hylwydd, Duw Celi
Noddawdd, anrhydeddawdd di.
Gwelwyd gan luoedd gwiwlawn
Daear a nef dirion iawn
Y modd mawrygodd yr Ion
Ei hoffeiddlwys was ffyddlon.
Gwyrthiau (celwyddau gwarthus,
Ysgafnach, gwaccach nag ûs)
Hadlyd dduwiau 'r cenhedloedd,
A mawr-rym eu harwyr oedd
Gysgodau wrth d' wyrthiau di,
Dêg hylwydd was Duw Celi.
Y Gwr enwog eirianwawr,
Pa'm y blini fi yn fawr?
Gwelaf fwy buddugoliaeth
Ar elynion gwydlawn gwaeth.
Da Noddwr mae Duw 'n addaw
Ryw hynod ddiwrnod a ddaw:
Diwrnod mwy hynod na hwn,
Hyll ddinystr lluoedd Annwn,
Sydd amlwg i'm golwg i,
Danfoned Ion ef inni,
A gwiwlawn fuddugoliaeth
I ddeffro 'r byd cysglyd caeth.
Nêr hylwydd, i'n rheoli
Daw Ior Nef i'n daear ni,
A'r anwar ddaear a ddaw
Yn deyrnas addas iddaw;
Ceinwych deyrnas lawn cynnydd,
Glodadwy, fwy-fwy a fydd:
O fawr wiwserch mi frysiaf,
I fwy gwaith yn fywiog âf.

## SAMUEL.

Y mae y Cywydd canlynol yn traethu am waredigaeth yr Israeliaid, a dinystr y Philistiaid yn Ebenezer.

  Barnwyr ac arwyr a gaid
I reoli 'r Israeliaid:
Yr olaf o'i fawr alwad,
E geiff ef yma goffâd:
Samuel dawel a doeth,
Dy enwi wna'r dïannoeth
Gyd â pharch; mor gu dy ffydd
Fawrnerth, odidog farnydd.
  Oh druenus dro annoeth!
Gwae dwyll a byrbwyll mor boeth!
Dduw hael, yn lle 'i ufuddhâu,
Ei blant addolant ddelwau
Eu gâlon llwyr ddig'wilydd;—
Yn gyfiawn (digllawn fu 'r dydd)
Yr eiddig Dduw a roddawdd
Eu gyddfau hwythau yn hawdd
Dan gaeth wasanaeth dwys iawn
I law anwar elyniawn.
  Rhag y cyfyngder hagr hwn,
Ing mawrddwys ar ddeng myrddiwn,
Ar y Sant llefant yn llu
O'u gw'radwydd eu gwaredu.
  Yr hwn o'r bru neillduwyd,
Oedd oleu was i Dduw lwyd,

Samuel ymresymmodd,
A ffraeth athrawiaeth a rodd,
Ddidwyll, i'w gywleiddiadon,
O eiriau cyfreithiau 'r Ion;
Rhodd addysg yn rhwydd iddynt,
Gan goffâu y gwyrthiau gynt,
A'r caeth farnedigaethau
Am gyndyn ganlyn ffyrdd gau;
A dangos i'w llu 'r Dengair,
Y' nghyd âg Yspryd y Gair.
'Be rhoddent, yn bur haeddol,
Ymaith bob diffeithwaith ffol,
Bob delwau, bob hudoliaeth,
Rhag c'wilydd, rhag cerydd caeth,
A dewis Duw y duwiau,
Fyw Dduw Hedd, ac ufuddhâu
I'w iawn Enw Ef yn unig,
Maddeuai, ni ddaliai ddig;
Gwaredai hwynt o'u gw'radwydd,
Rhoe 'r Ion hwy 'n rhyddion yn rhwydd.
Dwysion hwythau wrandawsant
Ar gyngor gwas Ior, gu Sant.
Dinystriant, taflant i'r tân
Ddieflig au-dduwiau aflan:
Rhoddant lawn hyder heddyw
Ar eu da Bôr, y Duw byw;
Tyrrant at ei was tirion
I gu gymmodi âg Ion.
Mispeh yw 'r goreule 'r ânt,
O wir alar hwy wylant:
Dydd galar ydoedd, gwelwn,
Dydd ympryd o hyd oedd hwn,
A phur radawl ddydd ffrydiau
Dwfr hallt, drwy edifarhâu.
Yn rhwydd ger bron Arglwydd Nef
Y go-dlawd lu yn gydlef
Addefant, mewn prudd ofyd
A gwarth, eu pechod i gyd:
Addawant yno 'n ddïau
I Dduw hael fyth ufuddhâu;
Gan Ion, a'u calon mewn cur,
Y taer-geisiant wir gysur.
Dïarfawg oedd y dyrfa,
Ond ar Dduw 'n llawn hyder dda;
Yn ddilys eu dofn ddolef
Esgynnawdd am nawdd i Nef:
O Dduw 'n tadau, maddau 'n mawr
Drosedd, o gyflawn drysawr
Trugaredd, o'th ryfedd râd,
Ein Duw, dod in' wrandawiad.
Ein Tad ni etto ydwyt,
Ein da Nawdd, a'n Duw ni wyt.
Oh 'n Tad, er mwyn d' Enw mâd mawr,
Foliannus nefol Flaenawr,
O law anwar elyniawn
Oh dod in' ollyngdod llawn.
  Newyddion weithion aethant
At âlon chwerwon, drwg chwant,
Gwylltion newyddion oeddynt
A'u grym mor gyflym a'r gwynt;
Fod Israel, lu gwael, i gyd
Yn anferth ŵyraw 'n ynfyd,
Heb un-rhwym, ond byw 'n benrhydd,
Gan sarhâu 'r duwiau bob dydd,
Gan flino, gan gŵyno 'n gaeth,
(Gwae son) dan eu gwasanaeth.
  Offeiriaid tanbaid llawn twyll,
Hwy yma 'n fawr eu hammhwyll
Areithient yn rhagrithiawl
Wrth weision digllon y Diawl:—
Ein caethweision gwaelion gynt,
I gyd cynddeiriawg ydynt;
Ein hen dduwiau gorau, gânt,
Weis trawsion ddistrywiasant,
Gan ynfyd dd'wedyd na ddaeth
O'u dwylaw ond hudoliaeth:
Nodant dduwiau ofnadwy,
Boncyffion meirwon,—dim mwy!
  Eres a fu 'r hanes hon
I galonnau 'r gelynion.
Y Philistiaid gaid mewn gwŷn,
Lu anwar, yn dwbl ennyn;
O blaid gau dduwiau 'r ddaear
Taniodd llu 'r Fagddu gan fâr:
Ddreigiau ymgynddeiriogant,
Ymgasglu 'n un-llu a wnant:
Meddynt, Ammhosibl maddau
I'r fath weision gwylltion gau;
Gwammal, mal anwadal wynt,
A newidiol iawn ydynt;
Ein duwiau hen adawant,
A chrefydd newydd a wnant:
Felly 'n benglogau gau gynt
Eu diddawn dadau oeddynt.
Rhaid, bob gradd, eu lladd yn llwyr,
Weis annoeth a disynwyr,
Neu roddi 'n awr ryw addysg
I wellhâu moesau 'n eu mysg.
I dywallt llid y duwiau
Ni awn ar ol gweisiawn gau.
  Dibris arfogiawn dybryd
Aneiri 'n gawri i gyd.
Nawswyllt ymfyddinasant,
Chwerw iawn rawd, a chwyrn yr ânt,
Gan anadlu 'n llu hyll iawn
Arw ddinystr ar wâr ddyniawn,
Mal bleiddiaid tanbaid at ŵyn
Gweiniaid ar dymmor gwanwyn.
Y fawrdorf ddilorf pan ddaeth
I'r heulawg fro ehelaeth,
I olwg yr Israeliaid,
Erchyll oedd bloedd y ddu blaid;
Crochfloedd byddinoedd Annwn
Oedd farwol arswydol swn:
Gwelwch, meddent i'w gilydd,
Ddisgleiried, decced yw 'r dydd;
Ein duw Baal, enaid y byd,
Geinfawr arglwydd y Gwynfyd,
A thêg Astoreth hygar,
Hoenus wedd, frenhines wâr

Y nefoedd â'u lluoedd llon
Roesant yr ammhur weision
I'n llaw i'w dinystrio 'n llwyr
O lewych glân haul awyr:
Heddyw, fel y mae'n haeddol,
Na 'dawn un o'u hâd yn ôl;
Ninnau a'n duwiau bob dydd
Gawn hynod glod y gwledydd.
Gwelwch hwy draw mewn braw bron,
Oer gysur i ddrwg weision.
Yn warthus y gwŷr nerthol
Eu heirf adawsant o'u hôl;
Allan y troesant reswm,
Ar eu traws syrth distryw trwm.
  Dyna floeddiadau anwar
Y gâlon beilchion llawn bâr.
  Oer wylodd yr Israeliaid,
Pob bron heb galon a gaid!
Pan welsant, ofnasant nerth
Torf ynfyd â'u twrf anferth:
Chwerw iawn ddydd, dychryn a ddaeth
Terwyn drwy eu natturiaeth.
Nawdd Ion cadarn eiddunant
Yn ddibaid o blaid ei blant.
Gwaeddant ar ei was gwiwddawn,
Samuel oedd wr syml iawn;—
Na thaw di a gwaeddi 'n gerth
Am wir-nawdd ein Ior mawrnerth,
Ar Geli 'n rhoddi 'n rhyddiawn
O law gwŷr cythreulig iawn.
  Fe, was Naf, fwynaf enaid,
Fe yno 'n ddigyffro gaid:
D'wedodd yn hyfodd hefyd,
Sefwch, a gwelwch i gyd;
Ni rydd Ion ei ogoniant
I âlon blinion ei blant,
Na 'i blant a'i carant, Ior cu,
I'w gâlon i'w bygylu.
Yn ddïau cadau 'r cedyrn
A ddryllir, chwelir hwy 'n chwyrn,
Weis gorwyllt, yn ysgyrrion,
Gan folltau taranau 'r Ion.
Duw 'r wiwnef, sydd Dŵr inni,
Dan ei nawdd a'n cadwo ni.
  Ac ar air, y gwr eres,
Mawr ei ddawn, i ddwyn llawn lles,
Mirain laeth-oen gymmerodd,
Bwriad da, rhagbarottôdd;
Yr oen gwâr eirian gwirion
Oedd ddistaw, heb fraw i'w fron,
Y mudan yn rhwym ydoedd
Ar allawr geinfawr ar g'oedd;
Lladdwyd, aberthwyd e 'n bur,
Iawn yttoedd i Ior nattur;
Iawn, drwy berffeithlawn bur ffydd,
Difai 'n boddloni Dofydd.
  Yr Israeliaid gweiniaid gwâr
A welent, mewn gwir alar,
Oreuber oen yr aberth
Dros eu llu yn gwaedu 'n gerth;
Trwy 'i fron a'i galon bu gânt
O loesau;—hwy wylasant.
I'w bron daeth hen gofion gynt,
Diddan i'w henaid oeddynt:
Meddant, Cofiwn am addysg
Roes ein Tad, Ion mâd, i'n mysg.
Yng ngwlad Ham, mab Amram bur,
Fwyna' gwas, a fu 'n gysur
I'n tadau; mawr wyrthiau 'r Ion
A'u rhodd o'r Aifft yn rhyddion.
Gorch'mynwyd, lladdwyd, i'w llwydd,
Oen gwirion yn gu arwydd
Eu bod dan wiw nôd Duw Nef,
Yn lân feibion y loywnef.
Mawr eu llwydd o herwydd hyn,
A galar dwys i'w gelyn.
Ystyriwn mewn distawrwydd,
Mae'n llaw Nêr lawnder o lwydd.
Yr Un Arglwydd eirianwawr
Eill ein rhyddhâu ninnau 'n awr;
Er beichiau beïau 'n bywyd,
Yr Ion hael yw 'r Un o hyd;
Hwnnw fu 'n dda i'n hynaif,
Un sydd, a gair hwnnw saif.
  Tra'r oeddent mewn taer weddi
Ddibaid, a'u llygaid yn lli',
Yspryd gweddi ddifri' ddaeth
I'w calon yn dêg helaeth,
Gain awel, hi gynneuawdd
Eu hyder yn Nêr a'i nawdd.
  Wrth allawr y mawr Ior mâd,
Ar ddilys awr addoliad,
Y doeth brophwyd odiaethawl
A safodd, myfyriodd fawl:
Gweddi ffyddlon anfonawdd
I lys y Nef am lwys nawdd,
Yn y geiriau gorau gaid
Beunydd i achub enaid:—
Gyflawn Waredydd gwiwferth,
Cyfod yn d' anorfod nerth,
A'n gwydlawn âlon gwaedlyd,
Fy Nêr, gwasgarer hwy i gyd.
  Chwerwon gaseïon y Sant,
A naws ysawl nesasant,
Yn arfawg olwynawg lu
A'u golwg yn bygylu.
Arfau, cleddyfau o ddur
Grymmusawl, hagr eu mesur,
Lewyrchent yn loyw erchyll
Yn nwylaw 'r dorf hagrfawr hyll.
Cabl-eiriau o'u genau gaid,
Berwawg, danllyd farbariaid;
Hwy gafwyd yn dygyfor
Mal nerth twrf mawrgerth y môr.
  Nef fawr oedd geinwawr i gyd,
Yn hafaidd wenu hefyd.
Safodd y barnwr sywfad,
Gan gu hyderu 'n ei Dad:
Wr cyflon, â'i fron heb fraw,
Ei ddau olwg a'i ddwylaw

Gyfodawdd am nawdd i Nef;—
Ar unwaith Ior y wiwnef
Wrandawodd, a rhodd ar hyn
Chwimmwth gadarn orchymmyn:—
Chwi ffiammawg ryfelawg fyllt,
Awyrawl fyddin orwyllt,
Ymrestrwch, llosgwch hell haid
Y dewrion bechadurïaid.
 Ni ŵyr y disynwyr, sydd
(Gwae ryfyg) yn ddigrefydd,
Pa faint digofaint Duw gwŷn
Unwaith pan ddêl i ennyn.
Torchawg gwmmwl tew erchyll
Yn ymledu 'n hagrddu hyll
A welid, arwydd llid llawn
A distryw i hâd estrawn;
O'u deutu nos ddu a ddaeth,
Olwynawg, lawn gelyniaeth.
Chwyrn nerthoedd byddinoedd Ion,
Ar air, yn ffiammau 'r awrhon
Amrestrant heb ymrwystraw,
Iawn-bur drefn, yn y wybr draw:
Hwy dd'wedant yn ddïoedi,
Dïau, mewn nerth, dyma ni!
Cyffrôdd, ennynnodd y nef
Yn addig dân anoddef:
Y ddiawlig fyddin ddilorf
A grynodd, delwodd y dorf.
Taranfyllt ehedwyllt hynt,
Iawn fyddin y nef oeddynt,
Ffiammawg, annelawg i'w nôd
Hwy frysiant i'r fro isod,
I galonnau gelyniawn
Gwaedlyd, yn dorf danllyd iawn.
Mawr oedd y byllt am ruddwaed,
Sychedig am gig a gwaed.
Trwy 'r holl wersyll erchyll oedd
Mawr ddinystr chwyrn myrddiynoedd.
Meirwon yw 'r geirwon gawri
Frynniau o restrau heb ri'.
Y cu Funer cyflawnaf
A darfodd, dinystriodd Naf
Ei âlon gwylltion a gau
Trwy wynnias nerth taranau.
Yn ddïau 'r gadarn ddaear,
Mewn ofn dwys gan bwys y bâr,
A grynodd pan deimlodd dân
Duw 'r wiwnef, Awdwr anian.
Er maint digofaint y gâd
Ruadwy, er chwyrn rediad
Y byllt cyflymwyllt i lawr,
Yr Ion ei blant eirianwawr
A noddawdd, ac o naddun,
Luoedd da, ni laddwyd un.
 Ar fyrder y digter du
Oedd ddirfawr a lwyr ddarfu:
Y dyfnddwl gwmmwl dig iawn,
Cuchiog arfdŷ 'r byllt cochiawn,
Amchwalodd, gan ymchwelyd
Yn darth drwy amryw barth byd.
Gwedi cyflawni 'n gadarn
Yr hæddawl ryfeddawl farn,
Yn union, mewn hoywlon hwyl,
Fe wenodd y nef anwyl.
Siriolodd yr Israeliaid;
Am wyrth Ion cyfion y caid
I'w bron orfoledd a braw,
A'u henaid yn dihunaw:
Mawl i'r Holl-bresennawl Sant
O rwydd galon a roddant.
 Y diriaid gawri dewrion,
Heb ddryllio na briwo 'u bron
Gan rym chwyrn-boeth-lym y byllt,
Wasgarwyd yn weis gorwyllt;
Gwaeau 'n eu heneidiau 'n awr,
A chri anferth dychrynfawr!
Syrthiodd a brysiodd mewn braw
Eu diles eirf o'u dwylaw:
Hwy ffoisant, anhoff weision,
Rhag nerthoedd byddinoedd Ion.
 Y dewrwedd brophwyd eirian
Estynnodd draw ei law lân;—
Gwelwch, fy mrodyr gwiwlwys,
Ddïaledd a diwedd dwys
Eich gelynion chwerwon chwi;
Nawdd Ion a fu 'n dda inni.
Dêg Ior, ein tadau garawdd,
A rhwydd i ni rhodd ei nawdd.
Ein gâlon geirwon, gyrrir
Philistiaid tanbaid o'n tir.
Nid llai na Duw y lluoedd
Wnai 'n ddïau 'r gwyrthiau ar g'oedd.
 Yr Israeliaid, lwysblaid lon,
Safant, gwelant eu gâlon
Yn feirw, neu 'n ffoi gan farwol
Ofnau 'n heidiau 'n eu hôl.
Tros feirwon elynion lu,
A ddrylliwyd drwy ddewr allu
Bolltau taranau, yr ânt;
O'r wlad hwy chwyrn erlidiant
Weddillion annhirion haid,
Trywanant yr estroniaid;
Darniant a rhwygant y rhai 'n
A'u hynod eirf eu hunain.
Goruchaf Naf y nefoedd,
Wrth raid, yn blaid i'w bobl oedd;
O'u poen ddwys, pan waeddasant,
Rhyddhâu eu gyddfau a gânt:
Dattododd Duw eu tadau
Rwym cyndyn eu gelyn gau:
Rhoddant, i'w llwyddiant, rhag llaw,
Dra iawnddoeth hyder ynddaw.
Teilwng i'w brophwyd dilyth
Ufuddhânt, hwy barchant byth
Gyfion was tirion y Tad,
Pur mewn barn, gadarn Geidwad.
Ac yntau 'r gwr gorau gaid,
Anwyl gan Dduw ei enaid,
Luniodd, adeiladodd lân
Oleudeg golofn lydan,

I ddwyn ar gof i ddynion
Fawr wyrthiau taranau 'r Ion.
Fy ngeiriau clyw dithau 'r dyn
Gwaelaidd ofnaist y Gelyn
A fu yn amgylchu 'n gerth
Dy enaid, adyn dinerth.
Ar ol mwynhâd o râd ras
Duw a'i nawdd, a dwyn addas
Ffrwythau, rai dyddiau diddan,
I'th lwys alwedigaeth lân,
Er hyn, O ddyn! gwŷn a gwall
Yngwrth, neu gyfaill anghall
A'th ddenodd i waith annoeth
At geulan y Pygdan poeth.
Dydd o lid! ar dy ddwy law,
Ac o'th flaen i'th gaeth flinaw,
Chwerwon elynion ar led,
C'wilydd, euogrwydd caled,
Ac ofnau 'n amlhâu o hyd,
Gannoedd, heb obaith gennyd,
Hwn oedd cyflwr anniddan,
Duw a'i gŵyr, dy enaid gwan:
Ar hyn, mewn dychryn di dawl,
Gwaeddaist ar y Trag'wyddawl
O'r dyfnder, o brudd-der bron,
Gelwaist ar Dduw o'th galon.
Er mwyn yr Iawn cyflawn certh,
Goreubur, y gwir Aberth,
Ystyriodd Tad tosturi,
Prysurodd, gwrandawodd di:
D' elynion geirwon, oedd gynt
Mor ruadwy, meirw ydynt;
C'wilydd, euogrwydd calon,
A'th fraw, a ffoisant o'th fron.
Pa hedd, pa orfoledd fu,
Oh ddyn, i'th lawn feddiannu!
Oni ddylit yn ddilyth
Goflaw, a myfyriaw fyth?
Gweler byth yn dy ga'lyn
Dystiolaeth helaeth o hyn;
Gweler yn dy bur galon
Yn hardd yr ysgrifen hon:—
Daliwyd fi 'n rhwyd hudoliaeth,
Mewn gwaeau ac ofnau 'n gaeth;
Gwir Oen Duw a'm gwrandawodd,
A rhyddhâd, o'i râd, a rodd:
Myfyriaf byth am fawrion
Wyrthiau trugareddau 'r Ion.

## DAFYDD A GOLIATH.

Gan Ddewi, ac e 'n ddi-arf,
Trech fu cri gweddi nag arf.
Goronwy Ddu o Fon.

Oh nattur, mor ammhur wyt!
I gyd llygredig ydwyt.
I gŵynion, er a genais,
Yn llwyr rhaid newid fy llais.
Er nerthol fawrion wyrthiau,
Er i Dduw hael eu rhyddhâu,
Er gorch'mynion doethion da
Y rhyfedd fawr Iehofa,
Yn haid Israel anhydyn,
On'd tost! anghofiasant hyn.
Trwy lygredd a choledd chwant,
A'u Duw hwy ymadawant.
Duwiau gwlad Canaan dywyll,
I'w gw'radwydd a'u haflwydd hyll,
Addolant; barn yn ddilys
A ddaw, a mawr fraw ar frys.
Ant yn ddyrys, mewn blys blin,
Heb rinwedd, eisiau brenin.
Duw a lawn anfodlonant,
Yn ddygn iawn ei ddigio wnant.
Ynfydion dewrion dyrys,
Cai 'r fyddin frenin ar frys;
Fel ei ddeiliaid, haid ddi hedd,
Eu brenin oedd heb rinwedd.
Er bod eu mawr bechodau,
Eu ffyrdd diffaith, a'u gwaith gau,
Ni wedir, yn ofnadwy,
Ond, er hyn, o honyn' hwy
Codai Nêr, i'w fwynber fawl,
Rai gwŷr o ddawn ragorawl.
Un oedd yn ol calon Naf,
Am hynny mi a'i henwaf;
Un heb ail, bugail a bardd,
Coronawg wr cywreinhardd.
Oddi ar bob cerddi eirian
Y byd oll, o ran byw dân,
Bydd Salmau golau ar g'oedd
Mab Iesse ym mhob oesoedd;
Di lyth brophwydoliaethawl
Salmau ac emynnau mawl.

Teyrnas dda Messïa 'r Sant,
Ei gyni a'i ogoniant,
Oedd fyw noddfa ddefnyddfawr
Ei gân gyd â'r wiwlan wawr.
Hoff iawn gallasai lawn lu
O fwyn-gôr y Nef wen-gu
Wrandaw a myfyriaw 'n fud
Ar ystyr cantawr astud,
Ar leferydd dedwydd dyn
Doeth hylaw gyd â thelyn:
Mawl bywiol i'w nefol Nawdd
Yn ei enaid ennynnawdd;
Y tannau yn gyttunawl
Attebent, llefarent fawl.
  Urddasawl wr oedd Iesse
Ym Meth'lem wèn, lawen le,
A thad anwylddoeth ydoedd,
Tad i arab wythfab oedd.
Yr hynaf dri o honynt,
Ym mysg y chwyrn gedyrn gynt,
Teilwng y cawsant alwad
I glau amddiffyn eu gwlad
Yn erbyn diderfyn dorf,
Ddiawlig, oedd oll yn ddilorf.
Yr ieuangaf oedd Dafydd,
Fardd eurddawn, hoff iawn ei ffydd.
Ban ydoedd byddinoedd Ion,
Filoedd, mewn mawr ryfelon,
Un bore, eb Iesse bur,
Oleufab, gâd dy lafur
A'th ddefaid, a'th faith ofal;
Dos yn rhwydd (nid yw 'n swydd sal),
A'r milwyr i ymweled
Sy 'n gwersyllu 'n llu ar lled
Yn Elah, dos, f' anwylyd,
Mŷn brawf o'u llwyddiant, mae 'n bryd.
Rhyfel sy 'n difa rhifoedd,
A baich dwys am bechod oedd:
Yn weddus Oh na wyddwn
A ddêl o'r rhyfel mawr hwn!
Mae fy ffydd na rydd yr Ion
Ni 'n nwylaw 'r annuwiolion:
Drwy gu eirian drugaredd
Rhoed Duw Israel ei hael hedd.
Cymmer, fy mab cerddber cu,
I'w diddan anrhydeddu
Fy rhodd fechan, egwan yw,
Ond rhodd fâd mwyn dad ydyw,
Drwy serch, ac annerch y gwŷr
Hyfrydwedd, d' anwyl frodyr.
Tyred, fy mab natturiol,
A dedwydd newydd yn ôl.
  Ar d' air âf; deuaf un dydd
Yn Nuw â'r cyfryw newydd
A bair (hyn ydyw 'm bwriad)
Lawenydd i'm dedwydd dad.
Ni wyddom mai Duw Noddwr,
Mai Naf yw 'n cadarnaf Dŵr;
Ni wyddom cawn ein noddi,
Can's saif cyngor ein Ior ni.
Ior mâd ŵyr y pryd a'r modd,
Ein Ior glân a'u rhagluniodd;
Y cyflawniad (i'w fâd fawl)
A fydd yn dra rhyfeddawl.
Rhagluniaeth helaeth a hael,
Sy lawen dduwies loyw-ael,
Ei rhoddion sy 'n cyrhaeddyd
Holl gyrrau, holl barthau 'r byd;
Ond ei rhoddion haelion hi
Dêg hylwydd ferch Duw Celi,
Ydynt, fal y gwynt a'r gwawl,
Ar daeniad cyffredinawl.
Pob parth o'r byd ynfyd aeth
I ddilyn delw-addoliaeth;
Meibion gwiwlon i Geli
Nefol, mynwesol ŷm ni;
Gwâr-ddoeth deulu y Gwir-Dduw,
Ni sydd dan adenydd Duw;
O'i ddaioni noddi wnaeth
Ei fuddiol etifeddiaeth.
Hâd mâd Abraham ydym,
A phlant diwael Israel ŷm:
Mâd agwrdd rwymedigaeth
Arnom ni 'n ddifri' a ddaeth
I daenu ym mhlith dynion
Diddysg wir addysg yr Ion.
Cryned y cawri annuw
Rhag ffyddlon dystion ein Duw.
Pob mawl i'n Tad nefawl ni;
Ni rydd, ni ddichon roddi
Na 'i blant, na 'i Ogoniant, a gâr,
I gau dduwiau y ddaear.
Bydd lawen, daw diben da,
Fy anwyl dad addfwynaf.
  Fy mab rhadlonaf, i mi
Daionus oedd dy eni:
Un doeth wyt a fendithir,
Tydi a gynnyddi 'n wir.
Yn ael-fwyn dos, f' anwylfab
Duwiol, f' anorchfygol fab;
Nawdd it' fydd Ion o ddeutu
Yng nghanol gelynol lu.
Mae trugaredd â'i gwedd gain,
Anfarwol g'lommen firain,
(O faint yw 'n hoywfraint hyfryd!)
Duw 'n tadau 'n parhâu o hyd.
  Ar hyn ei dad, mâd fu 'r modd,
Ei liwdeg fab gofleidiodd:
Cafodd fendithion cu-fâd
O galon dirion ei dad;
Cysurlawn yn uniawn aeth,
Haelwr, i'r gwersyll helaeth;
Yn ei gynnes law gannaid
Gwengron fugeiliffon a gaid:
Gwas â hardd-wŷn asyn aeth
O'i ledol, wr hael odiaeth,
I gludaw 'r rhoddion gloywdeg
I'w bybyr frodyr di freg.
  Iesse 'n ei gartre', dan gêl,
Diwyd fyfyriai 'n dawel;

Ar ol i'r prophwyd golau,
Gwiwlon swydd, ddirgel nesâu,
Ar ol i'r gwr mawr alwad
Oedd farnydd, lywydd y wlad,
Enneinio'n frenin anwyl
Fugail hardd a gwiwfardd gŵyl,
Iesse lwys dan bwys y bu
Filwaith, wrth hir ddyfalu
Amcanion yr Ion a'i râd
I'w addfwyn fab dedwyddfad.
Wrth fyfyriaw'n ddistaw ddwys,
Gwelodd ei enaid gwiwlwys
Fod Ion yn rhoi rhoddion rhad,
Tra iawnferth, yn ol trefniad
Ei ddoeth ben-arglwyddiaethawl
Ewyllys dilys heb dawl;
A da i ddyn, heb ronyn braw,
Da i wanddyn gredu ynddaw.
Wr rhadawl, mewn mawr hyder,
Gorphwysawdd dan nawdd ei Nêr.
Trwy wres a thrwy dês y dydd
Y daeth yr hardd ymdeithydd;
A phan ddaeth, wr dewrffraeth da,
I olwg brynniau Elah,
Yno, rhwng y byddinoedd,
Bloeddiadau, trwst arfau oedd,
A'r llu'n ymgyrchu i'r gâd
Farwol, mewn gwaedlyd fwriad.
O'r bryn i'r dyffryn y daeth
Garw gawr, gwr o ragoriaeth,
O luestai'r Philistiaid,
Eu grymmus gableddus blaid.
Rhag y cawr hagrwawr a hyll
Arswyd oedd drwy'r holl wersyll:
Y brenin a'i fyddin fawr
A darfwyd mewn ofn dirfawr:
Rhag arfau, rhag cuchiau cas,
Rhag wyneb y cawr gwynnias,
E ddelwodd Saul a'i ddeiliaid,
Hwy ffoisant mal plant heb blaid.
Y cawr yn swnfawr y sydd,
Ail i fôr ei leferydd;
Dyfal draethai ei dafawd
Greulon fygythion a gwawd:
Tywynbost o bres tanbaid,
O bell mal castell ei caid.
O flaen y cawr aflonydd
Tarianog was arfog sydd.
Gloywddur llym oedd ei gleddyf,
Gwaed gâlon yn ĕon ŷf;
Dur aruthr! rhaid arwredd
Cref law i gludaw'r fath gledd:
Tew arwr, â'i gledd teryll
Chwyrn a hawdd chwareuai'n hyll.
Ym mhob brwydr bu'r cawr hydr hwn,
Ei fawrddig darfai fyrddiwn:
Wrth faint ei nerth certh y caid
Y cawri megis corriaid.
Os rho'i'r cawr i ddewrfawr ddyn
Ond arfod,—dyna'i derfyn.
Ei dalder, braff swmmer, sydd
Uwch hefyd na chwe' chufydd.
Y gwr a ddaeth o gariad
At feibion ei dirion dad
Ei ysbryd yn danllyd iawn
Ennynnodd ynddo'n uniawn;
Y duwiolaf wr dilys
Gyffrôdd, fe redodd ar frys,
Fe redodd at ei frodyr,
Drwy barch i gyfarch y gwŷr.
Hylaw frysiodd yn hoywlym
O blaid Israeliaid â'i rym;
C'wilydd a dychryn calon
Oedd yno'n briwo eu bron.
Gan ofn y cawr mawr, eu mwyn
Frawd eiddil, o fryd addwyn,
Y dynion prin adwaenant;
Gwan oedd, a'i ddirmygu wnant.
Tra bu fe'n llafaru'n fâd
Wir odiaeth air ei wiwdad,
Y parodfawl fardd prydferth
A glybu, a ganfu gerth
A gorwyllt arfawg arwr
Yn guchiawg fygythiawg wr:
Pan glywodd, edrychodd draw
Yn ffyrnig, yn graff arnaw:
Tân nefawl, rhyfeddawl fodd,
Yn ei enaid ennynnodd:—
Pwy yw'r andras, drygwas draw,
Heb ludded, sydd yn bloeddiaw
Caeth w'radwydd ac athrodion
Cyhoedd i fyddinoedd Ion?
Ei wladwyr anwyl odiaeth
Yn brudd, ac mewn cystudd caeth,
A dd'wedent, Oh Dduw Awdwr,
Ein Ceidwad, ein Tad a'n Tŵr!
Y mawr gawr am ragoriaeth,
Garw fraw, i'n gw'radwyddaw daeth.
Hwn ydyw (Oh annedwydd
Fyd tost!) y deugeinfed dydd.
Gw'radwyddwr, bradwr ein bro,
Llwyddiant i'r sawl a'i lladdo.
Pa wobr addas geiff gwas gwych
A guro'r cawr rhagorwych,
Yn rhwydd a hael wna'n rhyddhâu
O ddidawl w'radwyddiadau?
Attebent hwy, Gwobrwy gwych;
Y gwr geiff ferch ragorwych
Y brenin, o bur rinwedd,
Yn hyfryd i gyd ei gwedd;
A rhydd, dros fyth, y rhoddir
Tŷ ei dad gwiwfad, mewn gwir,
Heb deyrnged yn ddyled ddu
O daliad ar ei deulu.
Y gwron wnelo'n gwared,
Dyna'i fael, ac nid gwael gêd.
Y gwrawl langc hygaraf
Attebawdd dan nawdd ei Naf:
Mi wn, drwy gymmorth Duw mâd,
Mi awn, pe cawn ond cennad,

Er arfau 'r gwr gweryrfawr,
Mi wn y cwympwn y cawr.
  Ac Elïab a glywodd,
Yn draws mewn drygnaws e drodd;
Ennynnodd, holodd, Pa ham,
Ddynyn, it' o'th wlad ddinam
Deithiaw? ai yma daethost
Mewn balchder, ffraethder a ffrost?
Dafydd, gan bwy mae 'r defaid?
Pwy draw'n eu bugeiliaw gaid?
Hawdd yn wir cyfrgolli 'r gail
Fo egwan; os da fugail
(Gwae fawrgŵyn!) fydd ar gyfrgoll,
F' â'r bleiddiaid â'r defaid oll.
P' le, 'r adyn, mae 'th delyn di,
A'i hynaws dannau heini'?
I luniaidd bêr delyniwr
Gwell tannau nag arfau gwr.
Dewrwych yn wir yw d' araith;
Arfau, nid geiriau, wna 'r gwaith.
Gwel o'th ddeutu y llu llawn,
Rif agwrdd o arfogiawn,
Filoedd o hen ryfelwyr,
Cryfach ac amgenach gwŷr:
Pwy wyt ti 'n berwi mewn bost?
Y doethwr, o b' le daethost?
Ai ti a wynebi 'n awr
Y dewrfalch arwr dirfawr?
Gwna 'th dad alarnad o loes
Farwol, am dy wael fêr-oes.
Na feiddia, mae 'n anfuddiol,
Gad ymaith dy ddewriaith ddôl.
  Ebe Dafydd ddedwydd ŵyl
Mor dyner,—Fy mrawd anwyl,
Nid da 'r gwaith (hagriaith yw hon,)
Chwarau â geiriau chwerwon.
Ai gau dduwiau y ddaear
(Oh farwol anferthol fâr!)
A gânt ogoniant y gwir
Dduw Ion? a ddifeddiennir
Ei weision o lwyslon wlad
Eu Harglwydd, ei rwydd roddiad?
Onid oes achosiawn da
Immi 'n awr ddyfod yma?
  Y duwiol langc a dawodd,
Ac draw yn fywiog e drodd.
  Yn hoyw a gloyw, Golïath,
Urdduniant, gogoniant Gath,
Rhuadwy 'n parhâu ydoedd,
Brasgammu, taranu 'r oedd:
Didaw 'r dïenwaededig
Yn ddewr grochfloeddiawdd yn ddig;
On'd gweision anëon y'ch?
Sal wladwyr i Saul ydych!
Glywodd neb am Golïath?
Myfi wyf o gawri Gath.
Ac yna od oes gennych
Arwr clodfawr o gawr gwych,
Deued; ger bron ein duwiau
Yn dêg ymladdwn ein dau.

Y gwr mewn arfau a gyll
Yr orchest a'r frwydr erchyll,
Ei genedl fyth fo 'n gweini
Y llall a'i hennillo hi.
Mawr son am Samson y sydd;
Pa filwr, pwy hefelydd,
A'i holl wallt fal llu o wŷr
Arfogion, eirwon arwyr?
Oh na b'ai 'n fyw heddyw hwn!
A'm dewrnerth mi a'i darniwn:
A hon yw 'r wych waywffon chwai
Ar unwaith a'i trywanai.
Oes naill ai cyfaill ai câr
Gwyrennig i'r gwr anwar?
Os ydych heb arswydaw,
Ba ham, falch ddewrwalch, na ddaw?
Pa les mewn rhyfel wna plant?'
Eu llu gwael oll a giliant.
Gwrid yw iddynt, gw'radwyddais
Eu llu â tharan fy llais:
I'w calon drom mae c'wilydd,
Nid am lai na deugain dydd.
Mawr fawl gaf am ryfelu,
Neb ail mewn arfau ni bu.
  Ddydd yn ol dydd fal y daeth
Yr hylym arwr helaeth
I'r dyffryn i'w herbyn hwy,
Yr ydoedd fwy rhuadwy;
Y cawr â'i arfau cywraint
Oedd hŵy, oedd fwyfwy o faint:
Yr Israeliaid gweiniaid gwâr,
Gwelwon, mewn ofn a galar,
A deimlant, hwy fynnant fod,
Hwy welant hyd ei waelod
Y bryn crwn mewn braw 'n crynu,
Mae 'n sŷn, gan eu dychryn du.
Dychryn Saul a fu dechrau
Y gŵyn hell fu 'n eu gwanhâu:
Delwi, gwelwi gan g'wilydd,
A ffoi wnai 'r brenin di ffydd.
Diuerth yw gallu dynol,
Ofer, a nawdd Nêr yn ôl.
  Lawened yw 'r gelynion!
Plaid y Philistiaid sy lon.
Ar fanneran, duwiau dig
Eu tadau sydd baentiedig,
A Dagon yn hedegog
A golygon creulon crog.
Yr utgyrn â chwyrn chwerwnad
Gyffroant nerth y gerth gâd.
Erchyll drwy 'r gwersyll i gyd
Eu rhyfyg bloeddfawr hefyd:
Terfysgant, gwaeddant, Mae 'r gwr,
Mae 'r eres a'r mawr arwr?
Os ydych heb arswydaw,
O'r bryn i'r dyffryn y daw.
  Y cawr, drwy 'r dyffryn mawr maith,
Bloeddiawdd ynfyd gableddiaith;
D'wedodd eiriau nad ydyn'
Oddefol i dduwiol ddyn.

Y siriolwawr Israeliad,
A'i fynwes am les ei wlad,
Llanwyd ef o ddigllonedd,
Ennynnai, newidiai 'i wedd;
E dd'wedodd y bardd odiaeth,
Duw 'n tadau! pa ddyddiau ddaeth?
Ai Israel ffraw, mewn braw bron,
A giliant rhag eu gâlon?
Aeth o gof y gwyrthiau gynt?
A gredwn mai gwir ydynt?
A olynol gyflawnir
Addewidion Ion yn wir?
Teilwng yn ein Tad dilyth
Credwn, a gorchfygwn fyth.
Y gw'radwydd (hawdd in' gredu)
Cyn hir, ddilëir o lu
Gwarddoeth yr unig Wir-Dduw;
Molir, anrhydeddir Duw.
Ei wynebpryd hyfryd hardd,
A gwawr dêg y gwr digardd,
Ei ryfedd iaith oreuferth
Adfywiodd, anadlodd nerth
Duwiol yn ei wrandawwyr,
Weithion mae'r gweinion mal gwŷr.
Golygant y gwr gloywgu,
Yr harddaf, llonnaf o'u llu:
Helaeth ydoedd ei hoywlun
A pherffaith lanwaith ei lun;
Tew i'w lâd ei wallt ydoedd,
Modrwyawg ac eurawg oedd;
Ei wyneb hardd, pan wenai,
Oedd lanach, mwynach na Mai;
Os haccru, ennynnu wna,
Un ffunud â'r Gorphena':
Yn ei wedd yr oedd glân wawl
A doniau mwy na dynawl.
Cennad Ion yn union aeth
A'i siriol negeswriaeth
At Saul, ac yntau y sydd
Galonnog o lawenydd;
A'i dda osgordd weddusgain,
Llawenhâu wnai rhestrau 'r rhai 'n.
O'u niferoedd nid oedd dyn
I'w gael wynebai 'r gelyn.
A Saul anfonawdd lwys wr
I wiwrwydd gyrchu 'r arwr.
Yr anwyl fwynwr union,
Gwâr bryd, pan ddaeth ef ger bron,
Geinwalch, yn ei wedd gannaid
Hyder a gwylder a gaid.
O wych dêg barchedigaeth
Ymgrymmu'n fwyneiddgu wnaeth;—
O frenin o fawr rinwedd!
Yn hir boed it' fyw mewn hedd!
Na lwfrhâed, ac na wnaed neb
Grynu rhag ei hagr wyneb:
Dy was a â, dewis waith,
At y gwr taeog araith,
Er geiriau 'r gorwag arwr
Mi âf, mi gwympaf y gwr.

Saul, dros ennyd, a sylwodd
Ei faint, os caid wrth ei fodd;—
Yr wyf yn gwel'd, wr ifangc,
Glwys lun, nad wyt ond glas langc:
Curo 'r pennaf o'r cawri,
Mae 'n hyspys yw d' wyllys di.
Och o'r dydd! gwybydd, mae 'r gwr
Dewr mawrwych yn drwm arwr
O'i febyd; ni chaf obaith;
Hawdd gwybod gormod yw 'r gwaith.
O ba ryfel bu'th brofiad?
Pa farwol angerddol gâd?
Yn union, â mwyn waneg,
Rhoes wiwfad attebiad têg:
Gwynnias gâd lawn drygioni,
Wiwlwys Ior, ni welais i:
Dy was bugail defaid oedd
Hyd oror uchel-diroedd;
A llew ac arth hyll eu gwedd,
Yn daerion, yn llawn dewredd,
Oen o'r praidd, lledradaidd dro,
Cynnes gipient i'w cinio.
Finnau, fel mai byw f' enaid,
Gwir dïau o'm genau gaid,
Ni's ofnais un o'u safnau,
Rhedais, mi ddeliais y ddau;
A'r oen gwan, druan, o drais
Eu dannedd mi a dynnais:
Y llew, mewn digter a llid,
Lladdai fi, oni's lleddid:
Er bod ei nerth mor gerthfawr
Ag ydyw nerth certh y cawr,
Gorchfygais, lleddais y llew
Melynlwyd, y mileinlew.
Dan Dduw, dy was di 'n ddïau
Orchfygodd, ddarniodd y ddau;
Felly 'r cawr dirfawr ei dyb,
Y gau ffŵl, fydd gyffelyb.
Pa fodd! a gablodd y gwr
Di gréd lu Duw Greawdwr?
Pa fodd rhyfygodd ei fin
Feiddiaw 'r ardderchawg fyddin?
Er ei dwrf, arwr dirfawr,
Dan nawdd Naf, cwympaf y cawr.
Hyderus iawn yw d' araith,
Ebe Saul; mae 'n fawrbwys waith.
Y dewrfab, p' le mae d' arfau
Yn erbyn y gelyn gau?
Arfawg a nerthawg iawn yw,
Ef i gyd arfawg ydyw.
Oh pa olwg! mae paladr
Ei waywffon gyfrgron mor gadr
Yn llaw gadarn ei llywydd
Ag yw cyfan garfan gw'ŷdd.
Cyffrôdd, ennynnodd glân wawl
Yn Nafydd, y tân nefawl:—
O frenin! dirfawr ynni
Hyll arf nid rhaid i'm llaw i;
Myfi 'n llaw Celi wna 'r cawr
Diawlig yn un â'r dulawr;

Myfi 'r dinerth, yn nerth Naf,
Wyf agwrdd, a gorchfygaf.
Nid dewrder na doethder dyn
A waredodd o rydŷn
Garchar ein tadau gwâr gynt,
Blynyddoedd blinion oeddynt,
Eu dwyn wnaeth Duw'n dra dinam
O gadarn ffwrn haiarn Ham.
Yn ddïau 'r Ion addawodd
Wlad Canaan, oreulan rodd,
I'n tadau; rhoisant hyder
Nerthawl yn eu nefawl Nêr:
A'r sawl a gredodd i'r Sant,
I'w cysur, hwy a'i cawsant.
Ior mâd roes yr ammodau
Mewn hedd in' fyth ei mwynhâu;
Peunydd mae'n rhaid, rhag penyd,
Yn Nêr, roi'n hyder o hyd;
Ufuddhâu cyfreithiau 'r Ion
O gulwys wraidd y galon;
Ac ni ddaw, yn drymfraw drwg,
Un gelyn yn ein golwg.
Gweiniaid ydyw 'r drygionus,
Ffoant, diflannant fal ûs.
Ceinferth, mal yn y cynfyd,
Mae gwyrthiau 'n parhâu o hyd.
Ionathan eirian arab,
Dy wrol ryfeddol fab,
Un gwr, drwy Dduw 'n ei garu,
A darfodd, a laddodd lu
O ryfygus arfogion
Heb gredu mawr allu 'r Ion;
Ar unwaith ffodd yr annuw,
Trwy 'r gelyn bu dychryn Duw.
Cofier, a chyhoedder hyn
Yn g'wilydd llosg i'n gelyn.
Heddyw mae achos haeddol,
Trwy ffydd, i ddistrywio 'r ffol:
Iawn achos sy 'n galw 'n uchel,
Mae 'n gwlad â'i galwad, heb gêl,
Mae Enw santaidd ein Muner
I'n galw ni, gwiwlu ein Nêr,
Yn erbyn y gelyn gau
A'i ddidawl w'radwyddiadau.
Yr harddaf addfwynaf wr,
A gwrawl olwg arwr
Drodd ar hyn i'r dyffryn dwys
Ddau olwg ei wedd wiwlwys;
Canfu 'r anferth gydnerth gawr
Mileinig a melynwawr;
Ar ol ei anferthol fost,
A'i w'radwydd a fu rydost,
Rhuadwy 'n ol y rhodiawdd
Mewn balchder a hoywder hawdd,
Yn ol, mewn buddugoliaeth,
Gawr erchyll, i'w wersyll aeth.
Yn bur trodd wyneb eirian
Y Salmydd Dafydd yn dân:
Estynnodd (f' edrychodd draw)
Ei dda hylwydd ddeheulaw:—
Duw Abr'am! geiff y dybryd
Gawr hwn ein gwarrau o hyd?
Oh g'wilydd! geiff y gelyn
Ddychwelyd o hyd fal hyn?
Nid â dyn i'w erbyn ef
O feibion Ion y wiwnef?
A geblir yn wir fy Naf,
Duw agwrdd, ac ni's digiaf?
Y blaidd a'i lu cableddus,
Beth ŷnt, nid ydynt ond ûs.
O frenin! âf ar unwaith
Mewn grym yn gyflym i'r gwaith:
Yn Enw Ion yn union âf,
A'i derwyn ben a dorraf.
Y brenin da, gyd â'r gair,
A gododd o'i deyrngadair;
Ei yspryd yn danllyd iawn
Ennynnodd ynddo 'n uniawn;—
O yr aelfwyn wrolfab!
Dos yn ddi 'maros, fy mab;
Agwrddawl was y Gwir-Dduw
Yn union dos, yn Enw Duw!
Mewn cyfiawn achos dos di,
A neddair Duw'n dy noddi.
Saul, er lles, roddes i'w ran
Ei hynod eirf ei hunan;
Arfogodd, gwisgodd y gwr
A'i lurig yn loyw arwr.
Pan brofodd, ni fedrodd fo
Was mâd, yn hon symmudo.
Dïosgodd, d'wedodd, Nid yw
Reidiol, gorthrymder ydyw:
Y Duw mawr fydd blaid i mi,
Yn gymmorth nerthawg immi.
Y mirain langc cymmerawdd
Ei dafiffon harddgron yn hawdd;
O fewn pant, 'min garwnant gwrdd
Rhedegawg, rhuad agwrdd,
Yn hawdd e godawdd y gwr
Gwiwlwys i gôd bugeilwr
Bum carreg lyfndeg â'i law
Hir gadarn i'w hergydiaw.
Aeth yn bwyllawg, ddoniawg ddyn
Têg olwg, at y gelyn:
Gwiwlon aeth y bugeiliwr,
A Nef-lu 'n amgylchu 'r gwr.
Yn ei falchder arferawl,
Atcas a dewrwas y Diawl
Aeth at wersyll ei hyll haid,
Hoff luestai 'r Philistiaid:
Pan oedd y mawr gawr gwrol
I'r bryn yn esgyn yn ôl,
Rhaid oedd ei anrhydeddu
Gan haid Philistiaid, ffol lu:
Y pennaethiaid, geinblaid, gânt,
Ei fawredd a glodforant;
Ymlonnant, lu melynwawr,
O herwydd nerth certh eu cawr.
Y cawr creulonwawr i'w wlad
Oedd eilun eu haddoliad:

Arglwyddi eurawg wleddoedd
A ddyblant, blethant eu bloedd;—
Mae Saul â'i rymmusoliawn,
Gwae Saul! yn ddirmygus iawn!
Ennyd credai 'r dorf annuw
Nad Ion, ond Dagon, yw Duw:
Diwegi, mawr yw Dagon,
Digymmar uwch daear dôn.
Er trwst blin y fyddin fall,
Duw Ior ni âd i arall
Ei gu Enw a'i Ogoniant;
I'w syndod gwybod a gânt.
Llew Iuda oll yn lliwdeg,
Euraid wawr, ar fanniar dêg
A ddyrchafwyd; canwyd cyrn
Y cadau gan wŷr cedyrn,
Yn arwydd fod iawn wron
Ar hynt yn brysio 'r awr hon.
A Goliath a glywodd,
A'i drom guwch draffrom fe drodd:
Y gerwinfawr gawr anferth
Grochfloeddiodd, neidiodd â'i nerth,
Gan lawnder o falchder fod
Erfawr gawr i'w gyfarfod.
Y mileinwyllt melynwawr,
Yr anferthol gorphol gawr
A drodd ei waywffon gron gref
Uwch ei ben drwy 'r wèn wiwnef;
Fe lammodd yn gyflymfawr
Yn ôl yn nerthol yn awr,
Gan chwarau, geinwych wron,
Ei dra ffyrf a'i gadr wayw ffon.
Cadau 'r Philistiaid cedyrn
Grochfloeddient, canent eu cyrn.
Eu disgwyliad ysgeler,
Llawen, ddaeth i ben yn bêr;
Hwy gânt weled y cedyrn
A'u harfau yn chwarau 'n chwyrn;
Golud a gwlad eu gelyn
A gânt, ni 'mheuant mo hyn;
A mwynion yn eu mynwes
Cânt wynnion wyryfon, res;
Gloddest fawr fu i'r arglwyddi,
Beilchion frêyron mawr fri.
Y dewrion wŷr daearawl
A gânt bob mwyniant a mawl;
Y rhai 'n, ym mhen deugain dydd,
A lanwyd o lawenydd;
A godwrf melltigedig
Bloeddiant a dyblant eu dig.
Dinerth, ac ar fudanu
Ydoedd Israel, lwfr-wael lu,
A golyth rhag y gelyn,
Mewn distawrwydd sobrwydd sŷn.
A Saul fwyn, mewn isel fodd,
Yn fanwl iawn ofynnodd,
Mab pwy yw 'r llangc ieuangc hwn?
Ei wyneb nid adwaenwn:
Pwy, Abner, yw doethber dad
Yr aelfwyn langc gwrolfad?
Abner mewn gwylder a gaid
Yno;—Fal mai byw d' enaid,
O frenin! ni's gwn i 'n wir;
Un dawnus er na 'dwaenir.
Yr haelfwyn langc gwrolfad
Yw'r harddaf, glanaf drwy 'n gwlad,
Eb Ionathan wiwlan wedd,
Mae 'r gwr mawr ei hygaredd,
Agwrddawl was y Gwir-Dduw,
Yn loyw dêg, fal angel Duw.
Ei frawd, a wnaeth afreidiol
Araith benrhydd, ddi ffydd, ffol,
Pan ganfu 'n wynebu 'n awr
Y dewrfalch arwr dirfawr;
Rhodd brofiad gwiwfad ar g'oedd,
Wr didwyll, mai brawd ydoedd;
I'w olwg deigr o alaeth,
Gan fraw, yn ddistaw a ddaeth.
Miloedd a myrddiynoedd ŷnt
Yn ffyrnig graffu arnynt.
Uthr ydyw'r awr a thradwys,
I bawb yn fatter o bwys.
Dïogel y bydd du-gwymp,
Cyn hir y gwelir pwy gwymp,
Pwy roddir mewn pur ruddwaed,
Pwy, mewn braw, fydd draw dan draed.
Golïath, arwr gloyw-wawr,
Ar dda ddyffryn Elah 'n awr
A safodd, floeddiodd yn flin,
A feiddiodd Saul a'i fyddin
I ddanfon yn union wr
O dra-chwyrn gadr ymdrechwr:
Ofnadwy fe a neidiodd,
A'i waywffon drymgron a drodd
Yn chwern drwy 'r awyr yn chwai,
Hyf arwr, mai arferai.
Garw ei gynnwrf, gawr gwynnias,
A bonllef grochgref mor gras,
Nid llai na bugunad llym
Gan lwyrddrwg hen lew erddrym,
Fe lenwodd, drwy fleiniaw,
Y dyffryn a'r bryn â braw.
Dan synnu, canfu y cawr
Wyneb harddlangc eirianwawr,
A golwg megis gelyn,
Yn fywiog ardderchog ddyn,
A glân mal o lu gloywnef,
Yn cyfeirio atto ef.
Y cawr erchyllfawr a chwyrn,
Gwaedwyllt, a holltawdd gedyrn,
Ei drem yn danllyd a drodd,
Gweled cawr a ddisgwyliodd,
Ac eirf oll yn ddisgleirfawr
Am y nerthawg guchiawg gawr.
Safodd y llangc glwys hefyd
Ger bron yr arwr hagr bryd:
Gwelant o draw eu gilydd;
A'r ddau 'n fud heb symmud sydd.
Y cawr gloyw-wawr, Golïath,
Rhyfygus gawr gygus Gath,

Ddïystyrawdd was tirion
Y gwir-fendigedig Ion.
Dychryndod a syndod sydd
O'i farwol groch leferydd:—
Ai ci ydwyf fi, dy fod,
Un difarf, yma 'n dyfod
Yn fy erbyn â ffyn?—ffo!
Wr egwan, rhag dy rwygo!
O Dagon! ai ni's digi?
Dy drymmion felldithion di
Ddelont â chwyrn ddïalau,
Annyn, ar ei goryn gau.
Pa wialen lyfnwen i'th law?
Ai gwialen i fugeiliaw?
Neu nerthog wialen wyrthiawl
Moesen a fu'n meddu 'r mawl?
Crîn yw 'r fath hudlath â hi,
Wanddyn, na 'mddiried ynddi.
Ai gwaedwyllt, ai dig ydwyt?
Ai gwrîdiaw ar ruthraw 'r wyt?
Tyred, ac mi 'th gwarteraf,
Dy ddarnio 'n union a wnaf.
Torraf yn chwyrn d' esgyrn di
Drwyddynt, hawdd im' dy roddi
Rhwng adar, anhygar haid,
Neu foliau 'r anifeiliaid.
  Y gelynion llon yn llu
Floeddiant, gan orfoleddu;
Rhed! rhed! fachgen, mae 'n rheidiol,
Was gwych, na edrych yn ôl!
  Addas oreuwas yr Ion,
Heb fraw rhag digiaw Dagon,
F' ae 'n y blaen, heb ofni bloedd
Na chynnwrf twrf eu torfoedd:
At yr anferth gydnerth gawr
Troe ei wyneb tirionwawr:—
Hyderu 'r wyt ti, 'r diras,
Mawr wagedd, yn dy gledd glas,
A tharian o waith eurwawr,
A'th waywffon anferthgron fawr;
Finnau yn Naf y wiwnef,
Ior a wnaeth ddaear a Nef.
Duw 'r Hedd, am dy gabledd gau,
Y dwthwn hwn rhydd dithau
I'm llaw i, dydi y dyn
Dewrfalch, sy 'mron dy derfyn:
Heddyw 'n hawdd, dan nawdd fy Naf,
Dy deryll ben di dorraf.
Er crochfloedd dy dorfoedd di,
Aberthaf hwynt i borthi
Adar a llu 'r ddaear ddwys,
I'w camwedd mae 'n dâl cymmwys.
Duw 'r lluoedd, gwrando 'r lleiaf!
Pob peth sy 'n hawdd dan nawdd Naf.
  Y gelyn ffyrnig olwg,
Trwy ddewr rym ei nattur ddrwg,
Ruthrodd, mal llew cefndew cas,
Llawn ynni, oll yn wynnias,
A llidiog olwg llydan
O'i ddeutu 'n melltennu tân:
Yr eirian arwr arall
Gyfarfu 'r cawr mawr a mall:
Ar hyn cymm'rai 'r gwr hynod
Lyfndeg drom garreg o'i gôd;
Mewn ffon dafl yr ymaflodd,
Yn gyflym ei rym e rodd,
A'r garreg, yn bur gywrain,
Gyd â nerth, o'i law gerth gain
Yn chwern hedodd, dan chwyrnu,
Yn fellten i dalcen du
Yr ynfyd arwr anferth,
Cwympodd i lawr y cawr certh
I'r llawr yn swnfawr!—bu 'n syn
Yr olwg i'r hagr elyn!
Taro wnaeth, mal bollt o'r nef,
Dychryn drwy 'r gelyn; gwae-lef
Miloedd hyd y cymmylau
Fu 'n esgyn, Gwae 'r gelyn gau!
  Siriolodd yr Israeliaid;
Ymunant, bloeddiant o'i blaid;—
Duw a fyddo 'n llwyddo 'r llangc!
Oreuferth arwr ifangc!
Gwr odiaeth! fe 'n gwaredir!
Mawrwriaeth a wnaeth yn wir!
  Ionathan wiwlan ei wedd,
Wr hoenus yn llawn rhinwedd,
A floeddiodd, llammodd yn llon
A duwiol ysbryd ëon;—
Duw anwyl gadwo d' einioes!
Canlyn, dim dychryn nid oes
Attaliol, fy mrawd hoywlun,
Dy ddyrnod hynod dy hun!
  Rhedodd, mewn dirfawr hyder,
Calonnog enneiniog Nêr
At y cawr ar lawr, oer loes,
Yno ar derfyn einioes,
Yn beichiaw, 'n ymdreiglaw 'n drwm
Gadarn wedi 'r mawr godwm;
Mewn creulonder, digter du,
Yn agwrdd ysgyrnygu.
Tynnodd, e gymm'rodd y gwr
Sywdeg, gledd llym y sawdwr:
A'i droed ar y dirieidwas,
Golygodd wedd ei gledd glas:—
Dyma gleddyf dïammhur,
Cei deimlo pwys dy ddwys ddur,
Dy hynod gledd dy hunan,
Dy loyw arf, nid o law wan.
Ion ei hun blau 'n heinioes,
Yr Ion yn rhyddion a'n rhoes.
  Trodd, yn awr, y gloywfawr gledd
I deilwng roi 'r dïaledd:
Hynod fawr arfod fe rodd,
A'i deryll ben a dorrodd;
Ei gorph ddychlammodd i gyd,
Gadr arwgorph, gyd â'r ergyd.
Y gloywrudd fugail eirian
A drodd, f' olygodd nef lân:—
Mawl i Ti, ein Tad ni, Naf,
Yn deilwng iawn a dalaf:

Hael Dad, dy ddeheulaw Di,
Fu 'n weddus yn fy noddi:
I Ti 'r Ion cyfion cufad
Addas yw 'r deyrnas, O Dad!
  Pen y cawr hyllfawr, yn hawdd,
A'i gadarn law a godawdd;
A thaflodd draw, o'i law lân,
Y llidiog ben tra llydan.
Diweddiad gwaedlyd addas
Am gabledd a balchedd bas.
Gwelwyd y fuddugoliaeth;
Yr awr ddïalfawr a ddaeth!
Gwelwyd yn y dydd golau,
Chwerw gwymp y balch arwr gau;
Ei fawr ben mewn diferwaed,
A'i gledd yn gochwedd mewn gwaed!
  Annedwydd ddïenwaediaid!
Ar ol eu cawr, bloeddfawr blaid,
Hwy ffoisant, anhoff weision,
Filoedd, rhag byddinoedd Ion.
Anhylwydd iawn eu helynt!
Trwy Elah 'r ae 'u hudfa hwynt.
Caid gweision cyfion Duw cu,
Câd lon, yn cyd-lawenu;
Dyna 'r bêr odfa brydferth
Eu bloedd aeth drwy 'r cymmoedd certh;
Yn ôl dyblwyd eu dolef,
Yn ôl o'r cymmoedd i Nef:—
Lladdwn, torrwn watwarwyr!
Erlidiwn, lladdwn hwy 'n llwyr!
  Oh laddfa ddïaleddfawr!
Creulon elynion i lawr
A dorrwyd oll yn dyrrau;
Barn gyfion i'r gweision gau.
Gwersylloedd eu lluoedd, llawn
O dra siriol drysoriawn,
A ddaethant yn hawdd weithion
Yn feddiant i wiwblant Ion:
Fe ddygwyd yn fuddugol
Anrhaith yn anrhaith yn ôl.
  Hoenus iawn yr hanes aeth
Ar hwylwynt drwy 'r fro helaeth,
A'r holl-wlad oreu-fâd rydd
A lanwyd o lawenydd:
Gwyryfon y lwyslon wlad,
Ceinwiw ydoedd eu caniad
O fawl, mewn prydyddawl dân,
I'r arwr clodfawr eirian:
Pob llon wenfron yn unfryd
A ddawnsiodd, a ganodd gyd
A lleisiau tannau tyner
A seiniau tympanau pêr;—
Ein gwladwr glân goleudeg,
F' aeth Dafydd â'r dydd yn dêg!
P' le mae 'r cawr dirfawr ei dyb,
Hynottaf?—pwy a'n hettyb?
Pa le mae 'r cawr hagrwawr hwn?
Fe laddwyd!—gorfoleddwn!
Cynnydd i'n gwladwr ceinwawr!
Gorchfygodd, cwympodd y cawr!
Dêl addas iawn dâl iddaw,
Gorchfyged, llwydded rhag llaw.
Mae 'r gwynnias mawr ei gynnen?
Mae 'n wannach,—byrrach o'i ben.
Terfysg swnfawr eu torfoedd,
A'u crechwen, aflawen floedd,
Ddarfu eu berw a'u chwerw chwant
Eisoes? lwyr-ddistawasant?
I'w gw'radwydd, gwasgaredig
Yw 'r beilchion dewrion a dig.
O'r brynniau drwy 'r wybrennydd
Udfa 'r cwn yn arw swn sydd.
Saul ei fil (nid salw foliant)
O âlon blinion ei blant
A laddodd! Dafydd loywddawn
Orchfygodd, a laddodd lawn
Fyrddiwn! pwy mor gyfurddawr
Yn ein gwlad â'r mâd wr mawr?
Chwi forwynion gwychion Gath,
(Pur ynfyd, pwy o'r unfath?)
Prysurwch, arlwywch wledd
Arbennig, bawb o'r bonedd,
Yn nhemlau 'ch duwiau, can's daeth
Gwiwlon ddydd buddugoliaeth.
Molwch ddewredd eich milwyr
Gwrolion, enwogion wŷr.
Cantoedd ddaw am y cynta'
Yn ŷr o redegwyr da;
Ac felly y rhei'ny 'n rhes,
Rhei'ny rydd i chwi 'r hanes.
Chwi feilchion gwylltion a gau,
Ynfydwch gan ofidiau!
Galar ac anferth g'wilydd
I'ch calon, ynfydion! fydd.
Synnwch, distêwch dros unawr,
Pa fodd y cwympodd eich cawr!
Un o Iuda lawndda lwydd,
Gwridog, dynnodd y gw'radwydd
O'n plith, ein bendith bob awr
I'r enwog wr eirianwawr:
Ein gwladwr glân goleudeg,
F' aeth Dafydd â'r dydd yn dêg.
Bythoedd, 'r ŷm yn gobeithiaw,
Rhydd Ion 'i elynion i'w law.
Yn llaw ein Duw a'n Llywydd
Eneidiau ei seintiau sydd:
Yn llaw ein Naf, oll yn wir
Gwiwlwys y'n dïogelir;
Pêr ryddid, pob pur roddiawn,
Bywyd a gwynfyd a gawn.
I'w fawr Enw annghyfrannawl
Canwn ar g'oedd fythoedd fawl.
  Dyna barod lwysglod lon
Gwiw rifoedd o'r gwyryfon.
  Pa fardd ffraeth ddichon draethu
Addas gerdd i Iesse gu?
Yn ddirgel ei dawel dad,
Rywiog wr mawr ei gariad,
O'i febyd anwylyd Naf,
Yn ei fynwes wên fwynaf,

Uwch geiriau, fu 'n mwynhâu hedd
Fywlon, a gwir orfoledd:
Tad odiaeth mewn byd dedwydd,
A mab eurddawn yn llawn llwydd.
O Dafydd, wr celfydd coeth!
Y pêrddawn brydydd purddoeth,
Tydi, drwy Geli, yw 'r gwr
A gurodd y gau arwr:
Ddewrwas, ar orsedd eurwawr
Bydd frenin i'r fyddin fawr!
Gwiw fendith! bydd gu fwyndad
I'r mwynwawr Fugail mawr mâd:
Cysgod hynod o honaw,
O'th lwynau dïau y daw!
Wr hael, eistedd, rheoli
Wna 'r Mawredd ar d' orsedd di:
Yn Dduw 'n wir, yn Ddyn eirian
Y daw o lwyth Iuda lân.
Difyr im' d' enwi, Dafydd;
Difyr, ond rhy fŷr a fydd
Yr amser;—dydd Nêr sy 'n ôl;
Dydd mawr fydd, mor ryfeddol,
Odiaeth ac annhraethadwy,
Yn dragywydd ni fydd fwy.
Nawdd hylwydd, pan ddaw 'n ddilyth,
Gorchfygir a bernir byth
Hyll Elyn y Dyfnlyn du,
Diwaelod, a'i holl deulu:
A Dofydd a rydd, wrth raid,
Ddilys ryddid i'w ddeiliaid.
O chaf, o'r goruchafion,
Yn brydferth gu nerth gan Ion,
Mae 'mwriad wneud caniad cu
I 'Mrenin am fy mhrynu.*

---

## IESU O NAZARETH.

Fe ellir dosparthu bywyd ein Harglwydd a'n Hiachawdwr yn dair Rhan: Y Rhan gyntaf yn cyrraedd o'i enedigaeth hyd ei ymddangosiad yn mhlith y docteriaid yn y deml yn Ierusalem: Yr ail Ran yn cyrraedd o'i ymddangosiad yn y deml hyd fedydd Ioan: A'r drydedd Ran yn cyrraedd o fedydd Ioan hyd esgynniad ein Harglwydd i'r Nef. Y mae yr hanes yn y Rhan gyntaf yn dra rhyfeddol a gogoneddus, ond nid yn gynnwysfawr: Ond am yr ail Ran, nid oes ond dwfn ddistawrwydd. Y mae y drydedd Ran yn cynnwys bedydd, profedigaeth, gwyrthiau, athrawiaeth, dïoddefaint, marwolaeth, claddedigaeth, adgyfodiad, a gogoneddus esgynniad ein Harglwydd. Yr ail Ran, yn fwyaf pennodol, sydd yn cael ei hystyried yn y Cywydd canlynol. Onid ydyw yn rhesymmol feddwl fod pob rhan o fywyd ein Harglwydd, yr Hwn a ddaeth i'r byd yn Oleuni i oleuo y cenhedloedd, ac yn Ogoniant i'w bobl Israel; onid ydyw, meddaf, yn rhesymmol feddwl fod pob rhan o'i fywyd Ef yn gyflawn o athrawiaeth fuddiol a gwerthfawr i bob enaid difrifol ac ystyriol? Ystyried a barned y darllenydd.

*Cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch gennyf; canys addfwyn ydwyf a gostyngedig o galon; a chwi a gewch orphwysfa i'ch eneidiau.*—Matthew 11. 29.

Ei gulwys Fab glân galon
I'r Aipht anfonawdd yr Ion.
Hynaws Arglwydd brenhinwych,
Duwiau 'r Aipht yn wael eu drych,
Du-gwymp gawsant, mal Dagon,
Marwol ger ei freiniol fron.
O herwydd y tramgwydd trwm
Ar gedyrn a'u mawr godwm,
Fferodd gwaed yr offeiriaid,
Gan grynu yn hyllddu haid;
Offeiriaid Paganiaid gynt,
Didduw ac ynfyd oeddynt.
Gwywddelwodd gau addolwyr
Boncyffion gwelwon fu 'r gwŷr.
Oraclau drwy barthau 'r byd,
Dwyll anferth i'r dall ynfyd,
Gwyddir mor dwyllawg oeddynt,
Mudanwyd, distawyd hwynt.
Dywysog gwâr hawddgar Hedd,
Adfera 'r byd i fawredd!
Y mae 'r byd i gyd yn gaeth
I'th aros mewn maith hiraeth;
Mae 'mhob gwlad ddymuniad mawr
I'th weled, Ior doeth heulwawr:
Doed, Ior gras, dy deyrnas Di
Yn rhyddion oll i'n rhoddi.
Dyred, medd d' Eglwys dirion,
I'n gwared, O dyred Ion!
O Ben a Gobaith y byd!
Gwel yma odfa adfyd;
Yn wir-gyflym, rhag aflwydd,
Ior da, prysura i'th swydd.
Daeth Naf â'i Fab doeth nefol,
Dan ei nawdd, i'w wlad yn ôl.

* Gwel y Cywydd dilynol.

Yn Naz'reth, Frenin Israel,
Ior mawr mâd, mewn galwad gwael,
Tra ufudd y cartrefai,
Dirgel fyw 'n isel fe wnai.
Ior hael, gan mor wael ei wedd,
Er hynny yn llawn rhinwedd,
Ni wyddai Satan eiddig,
Drwy ddichellion dyfnion dig,
P' un ydoedd y Pennadur;
Bu flin a gerwin ei gur.
Pechod llawn chwerwdod a chur,
Diwaelod ydyw 'n dolur
Fal Annwn, mae 'n fefl inni,
Anffurfiodd a nychodd ni:
Ond Ef, gorph ac enaid, oedd
Fab glanaf Naf y nefoedd,
A'i ryfedd Nattur wiwfad,
Bôr doeth, yr un â'i bur Dad:
A'i gwelent a'i hoffent; hedd
Gu eirian a thrugaredd
A wenent yn ei wyneb
Yn lân iawn, ac uwch-law neb.
Dyner Fachgen diweniaith,
Wrth glywed wacced y iaith
A daenid gan rai dyniawn,
Neu weled gweithred ddrwg iawn,
Aneirif y dylifodd
Mewn nefawl fyfyriawl fodd,
Ei wlybion ddagrau 'n loywbur
I'w ruddiau, mal perlau pur.
Ioseph a Mair a Iesu
Beunydd i'w gilydd oedd gu:
Diwydrwydd, sobrwydd a serch
Erfawr at Fair ddiweirferch,
Têg olwg at eu gilydd,
O galon dirion bob dydd;
Hyn oedd pur gysur di gêl
Ioseph yn ei fyd isel:
Yn borth i'w rïeni bu
Gwir ddwys hygaredd Iesu:
Odiaeth ym mhob gwaith ydoedd;
Llawn bywyd a diwyd oedd:
Bob awr gyd â'u Mab euriaith
Pob mwyniant gawsant o'u gwaith.
Sabbathau, pob oriau, bur
Oleufab, heb ryw lafur,
Yn dra llon y darllennodd
Ef a Mair, mewn mwynaf modd,
Y gyfraith gysgodfaith gu,
Fanol, oedd ar derfynu;
A llawen iawn y llëynt
Ddoniawg waith prydyddion gynt,
Y caniadau gorau gald
I rannu nerth i'r enaid,
Rhodd fâd o anadliad Naf,
Pur addysg y pereiddiaf
Brophwydi, goleuni glwys
Y rywioglan wir Eglwys.
Deuddeg o weledyddion
A'i loyw ddysg oleuodd Ion:
Gorau swydd, geiriau y SANT,
Dda weision, gyhoeddasant,—
Danfonid o Nef wenwawr
Geidwad goleufad i lawr,
Dirion Dad a chadarn Dŵr,
Barchedig bur Iachawdwr;
Cenhedloedd ar gyhoedd gânt
I'w radau ymddiriedant.
Canfu 'r Anwylfab ceinfad
Ewyllys dilys ei Dad;
O'i febyd Efe wybu,
A chyflawn foddlawn a fu.
Arwyrain gydsain a gaid
Yn hynaws iawn o'u henaid;
Yn wiwferth i'w Tad nefawl
Canai 'r ddau emynnau mawl.
Mynych yr Iesu mwynwawr
Aeth E mewn dirgel le i lawr
Ar liniau i eiriol yno,
Weithiau allan, neu dan dô.
Cywirwych fwynhâu cariad
Tawel, mewn dirgel, ei Dad
Nefawl bu 'r Bachgen ufudd
I'w ddidawl anfeidrawl fudd.
A Mair, wrth ganfod Mawredd
Gloywgu 'n ennynnu 'n ei wedd
Ar droiau, hithau ar hyn
Lafarodd, anwyl Forwyn:—
Fy Mab, er gwaeledd fy myd,
Mae 'n rhyfedd, mae 'n wir hefyd,
Y caredig Greawdwr
Mawrfad yw 'th Dad, Ef fo 'th Dŵr.
Ebe 'r Iesu 'n gu a gŵyl,
Mi a wn, fy mam anwyl:
Fy Nhad, Myfi a'i hadwaen
Yn berffaith;—blinwaith o'm blaen
Osodwyd; anfonwyd Fi
Yn lân nefawl Oleuni
I'r byd; yr amser y bo
Addas ymddangos iddo,
Gwelir yn amlwg olau
Pwy ydyw 'r Tad mawrfad mau,
Drwy 'm gweithredoedd cyhoedd certh,
A'm mirain wyrthiau mawrwerth.
Yn y Bôd wnaeth y bydoedd,
Ufudd-dod, awdurdod oedd
Yn t'wynnu yn Iesu 'n wir,
Y Ffyddlon, Gwirion, Geirwir.
Mair wiwdeg gymmeradwy,
Un gair ni dd'wedodd Mair mwy:
Ei eiriau yn glau hi glodd
Yn ei chalon, a chelodd.
F'Arglwydd yn ddeuddengmlwydd aeth
I Salem, ddinas helaeth,
Dangnefeddol rasol Ri,
Ar unwaith â'i rïeni,
Ar ŵyl y Pasg areulwawr,
Gŵyl iawngred ymwared mawr.
Cyfeiriodd, mewn cu fwriad,
I loyw deml ei anwyl Dad:

Tirion lu o ddoctoriaid
Yno 'n ymgommio a gaid,
Y senedd mawr eu synwyr,
A brig y dysgedig wŷr.
Dda Wir-Nêr, craffodd arnynt,
Gwrandawodd a holodd hwynt.
Rhai o'r gwŷr tra rhagorol
Gofynion ëon yn ôl
A roesant i'r gwâr Iesu;
Yn union, o'i galon gu,
Y rhoddawdd Ef, o'r rhwydda',
Attebion doethion a da:
Ei nefawl wrawl araith
Glywsant,—rhyfeddant yn faith.
Holodd Ef hwythau 'n hylaw;
Pa bryd fydd y dydd y daw
Teyrnas dda Messïa 'r SANT?
Gwelir myrdd a'i disgwyliant.
On'd oes arwyddion i'n dydd
O'i gwawr, er amryw gerydd?
Pan wawrio Siloh, Sylwedd
Y gyfraith, mewn hirfaith hedd,
Ei hebyrth, ânt hwy heibiaw,
Fawrwerth Hedd-Aberth, pan ddaw;
A fydd y grefydd mewn grym
Myg iawn, fal y mae gennym?
Fydd i Israel y fael fawr,
Fael unig o'r byw Flaenawr?
Yw y Rhodd i gyrrhaeddyd
Cenhedloedd, pob oesoedd byd?
A ddaw cyrrau y ddaear
Yn llu at Dduw cu a'u câr,
I foli 'r Ion, dirion Dad,
Yn gadarn raslawn Geidwad,
O'r enaid, mewn gwirionedd,
Mewn yspryd, mewn hyfryd hedd?
  Dwfn ryfeddu bu 'r llu llawn
Ei fanwl ddoeth ofyniawn;
Holiadau golau i gyd
I dywys meddwl diwyd
O fil myrdd o ffyrdd y ffol,
A dewis ffordd y duwiol.
Y modd o'i ymadrodd mwyn,
Gweddus ydoedd ac addwyn;
Da reswm llawn o draserch
Yn wir yn gwresogi 'r serch.
Yn ei olwg anwylaf
Yr oedd hedd fal eurddydd haf:
Fe rannai o'i fyw rinwedd,
A'i gwelant, teimlant fâd hedd.
Ystyriol iawn ddistawrwydd,
Dros dro, fu yno 'n ei ŵydd.
  Mair a ddaeth, dan hiraethu,
Tridiau mewn mawr boenau bu;
Ni welodd mo 'i Hanwylyd,
Ni wybu p' le bu 'n y byd:
Hi ddychwelodd i chwiliaw
Holl Sïon, a'i bron mewn braw;
Ac yn y deml gannaid iawn
Y cafodd ei Mab cyfiawn;
Ei dawnus Fab tra dinam
A ganfu ei fwyngu fam;
Gwelodd bedwarplyg alaeth
Ei deurudd mewn cystudd caeth:
Fwyn Ior, drwy dorf aneiri',
Aeth, drwy barch, i'w chyfarch hi.
Hael Fair wrtho lefarodd;
Fy addien Fachgen, pa fodd
Yn y dorf collasom di?
Chwiliaw, a mynych holi
Miloedd o luoedd y wlad,
A dwyn gofal am danad
A chalon drom wnaethom ni,
Ag enaid llawn o gyni.
  E ddwys attebodd Iesu
Yn hawddgar â gwâr wên gu:—
P' le, meddych, mynnych fy mod?
Da berwyl, on'd wyf barod
Yn ol fy nghyfiawn alwad,
A hynny yn nhŷ fy Nhad?
  I Naz'reth, Frenin Israel,
Dref fechan a gwan a gwael,
Fe eddyw 'n Fab ufuddol
Mwyn wedd gyd â'i fam yn ôl.
  Er i'r senedd ryfeddu
Ei ddoeth ymadrodd coeth cu,
Heb fedru iawn draethu dro,
Heb addas atteb iddo;
Ei reswm ystyriasant,
Ac yn llu ennynnu wnant.
Y disglair archoffeiriad,
Ysprydol a doniol dad,
Roes yn ffraeth hydraeth am hyn
Arw a chwimmwth orchymmyn:—
Na sonier, na chofier chwaith
Fyth eiriau y fath araith;
Hyfion, dinystriol hefyd
Yw 'r holiadau, gau i gyd.
  Crynodd Satan yn dân dig,
Ennynnodd yn wenwynig,
Ymwylltiodd ef, fal mellten
Hedegawg drwy 'r niwlawg nèn:
Lew Annwn, llawn gelyniaeth,
I nèn yr wybren yr aeth,
Y lle yr oedd llawer iawn
Ar wŷs o'i ammhur weisiawn.
Drwg Lys mewn lle dirgel oedd
I Annwn a'i byddinoedd:
Tewion gymmylau tywyll
Y ddyfnfawr nos hagrwawr hyll
Oedd llawr y creulonfawr Lys,
A'i nèn achrwm yn echrys;
A Senedd gwynnias Annwn
Yn llu hyll yn y lle hwn
Mewn ffraeth ymrysonaeth sydd,
Gelyn pob un i'w gilydd,
Ond swyddog llidiog, â llym
Wrdd-roch, gyhoeddodd erddrym
Ddistawrwydd, o herwydd hwn
Oedd yno, mawredd Annwn.

Yn union Satan wynnias,
Prif Bennaeth Annwn gaeth gas,
Areithiodd, mewn chwerwfodd chwyrn;
Chwi Bennau cadau cedyrn,
Ai amser i bryderu
Pwy yma a lywia lu
A dewrnerth rhyw wael deyrnas
Yw hwn?—na fyddwn mor fas.
Beth eill hil eiddil Adda,
Gaethweision trawsion llawn tra,
Wneud waelach, mewn hudoliaeth,
Dan fy iau â'u gyddfau 'n gaeth?
Llywiawdwyr gwledydd llydain,
Myfi sy 'n rheoli 'r rhai 'n;
Myfi, er llawn egni Naf,
Dynnais y ddaear danaf;
Ac yn ddilyth fyth myfi
Fawrnerth deyrnasaf arni.
Mae dyniawn yma danom,
Ddewr lu, ar y ddaear lom,
Cyn ffraethed a doethed ŷnt,
Ymadrodd fal pe medrynt
Ag anfad siarad a swn
Luniaidd reoli Annwn;
A chwithau mewn awch aethwyllt
Am *ran* o'r byd gwan a gwyllt:
Pob T'wysog enwog ei waith
Yn deilwng fŷn un dalaith:
Cofiwch, os colli'r *cyfan*,
Gan bwy 'n rhuadwy bydd *rhan?*
Drwy 'ch dadleuon chwerwon chwi
Y gallwn yn llwyr golli,
Gadarn hyll-farn! yr holl-fyd,
Cyn hir e gollir i gyd.
Am hyn crynwch, ofnwch iawn
Addas boenau newyddiawn.
Addig dorf, oni wyddoch
Mai 'r hyd yn y byd y b'och
I rwydo, i dwyllo dyn,
A'i wneud yn aflan adyn,
Mai hyn sy 'n cadw yma haid,
Uthr olwg, o gythreuliaid,
Gwelwch, rhag rhwygo 'ch gilydd
Yn chwerw dost? can' och o'r dydd!
Oni wyddoch (broch a braw,
Dinystr meddwl am danaw)
Y maith Drag'wyddoldeb mawr
Ogylch pan wnel ymegawr
I'n llyngcu 'n un llu i'r Llyn
Diwaelod, angau 'n dilyn!
Yr unig gysur yno,
Lyn erchyll dan dywyll dô,
Fydd rhwygo, darnio, mewn dig,
Eneidiau y damnedig?
I luddio ein helyddiaeth
Ein Gelyn yn Ddyn a ddaeth!
Fe, yr Un a'n difreiniawdd
O Nef, ddaeth i ddyn yn Nawdd!
Och! chwi a'i gwelsoch i gyd
Yn Faban!—yn ei febyd!
Ffoisoch, ni safasoch;—Fi
Wyf enwog, heb ei ofni;—
Na 'nganed,—gwylied pob gau
Unwaith un gair o'i enau.
Agwrdd i ddadwrdd ydych,
O wanned i weithred wych!
Crynu, synnu bu 'r Senedd
Fflammawg, rhag ei guchiawg wedd,
A llidiawg olwg llydan
O'i ddeutu'n melltennu tân.
Myfi 'n ffyrnig, eiddig wyf,
Fi 'n unig heb ofn ynnwyf,
A'i gwyliais, gan ei ga'lyn
O'i febyd, ac hyd yn hyn,
Er canfod, rhag drwg cwynfawr,
Ddwfn amcan y Mudan mawr.
Gwyliais, yn ol fy 'm galwad,
Ef yn hy' i dŷ ei Dad.
I'm dirfawr gur, eglur iawn
Oedd yno 'i ymddiddaniawn
Hydraeth, a'r holl Sanhedrim,
Lu anghall, yn deall dim.
Dinerth gyfreithiau dyniawn,
Drwy yr hollfyd ynfyd iawn,
D'unant, er eu daioni,
A nerth ein cyfreithiau ni;
Ond os cyfraith hydriaith Hwn
A ffynna, ffŷ i Annwn
Yn ol ein cyfreithiau ni;
Ninnau'n ŷr, yn aneiri'.
Oh g'wilydd! geiff y Gelyn
Yn hawdd orfoleddu 'n hyn?
Mae rhyngom, ac ynnom, gaeth
Lawn drag'wyddawl elyniaeth.
Meddiannu 'r byd ynfyd oll
Ddeugain can' mlynedd ddigoll,
Rheoli 'r ddaear helaeth
Y buom yn ffrom a ffraeth;
Ennynnawg Gedyrn Annwn,
Gollwn ni 'r byd hyfryd hwn?
Dilys mai hyfryd olwg,
Llawenhâu wna Dreigiau drwg
Annwn weled myrddiynau
Yn rhyddion o'u gweision gau,
A Gelyn y Dyfnlyn du
Oesoedd yn llawn deyrnasu.
Coronawg Gawri Annwn,
Trwy araith a bagriaith hwn,
A nawswyllt ennynnasant,
Gan guchio a gawrio, gànt:—
Cyn i hyn, i'n Gelyn gael
Y gwiwfawr fyd o'n gafael,
Taniwn, myn Annwn wynnias,
Bob goror, a'r gloywfor glas!
Dygwn y Greadigaeth
I'r Penyd, i gyd yn gaeth;
Yn addig hêd anoddef
Fflammau hyd anneddau Nef!
Lusiffer, mewn hyder hyll,
Lewyrchodd yn loyw erchyll;—

Dyna iaith hagrwaith, medd hwn,
Dyna Bennaethiaid Annwn
Ddirfawr yn awr yn eu nerth
Yn un-gâd gadr ennyn-gerth.
Mi wn, a ninnau 'n mynnu,
Mi wn, y llwyddwn yn llu.
Dewr a hyf, hyd yr awr hon
Ni chollais fy nichellion:
Soddais fyrdd, er oes Adda,
O gryfion, doethion, a da,
Drwy wragedd, i wagedd oes,
I ddybryd ynfyd anfoes.
Gellir distrywio gallu
Drwy gyfrwys ddichell ddwys ddu.
Moesawl, ufuddawl i'w fam
Dyner yw 'n Gelyn dinam;
Drwy ei fam, fy hyder fydd
I ddenu 'r Trawsfeddiannydd
Yn ddewrwych, yn ddaearawl
Frenin, a phob min a'i mawl.
Yna crochfloeddied Annwn,—
Dieifl pïau 'r byd hyfryd hwn.
On'd duw 'r byd hwn oeddwn i?
—Wyf yn awr?—torf aneiri'
O ddeiliaid a'm haddolant
Yn fy mhyrth âg ebyrth gànt;
Ond rhan mor fechan a fedd
Ein Gelyn,—Ow ei gwaeledd!
Yma 'n ei deyrnas ammhur
Yn blaid in' mae byddin bur;
Pennaethiaid, fileinblaid, lu
Yn arthod sydd i'n nerthu.
Er Addaf chwi hir wyddoch
Bob dichellion creulon croch.
I ddwyn rhyfeloedd Annwn,
Drwy naws hyll, i deyrnas Hwn,
Rhuthrwch, meddiennwch ddynion,
Gan rwygo a briwo 'u bron.
Chwi'r Erchyllion mawrion mau,
Trwch benydiwch eneidiau;
Carcharwch mewn cur chwerwaf,
Brysiwch, na ofnwch eu Naf:
D'wedwch pwy 'ch awdurdodawdd,
Eich uffernol nerthol Nawdd.
Cewch ddigon o'ch gweision gau
Yn addas gyfanneddau.
  Y Senedd, mewn chwerwedd chwant,
Marwol a dwfn furmurant.
Torrodd cymmanfa 'r Taerion
Ar hynt i fynu 'r awr hon:
Saethan' allan yn hyllwawr,
Mal mellt o'r tew gwmmwl mawr.
  Yr haul â'i belydr hoywlym,
Nerthawg, yn ei wresawg rym
A ddwyrëawdd i'r awyr;
Yn raddol, llesol a llwyr
Chwalodd yr haul uchelwawr
Y cwmmwl marwddwl a mawr:
Gwên bur ei gu wyneb ef,
Gannaid enaid y wiwnef,
Yn fwyndes haf-wres hyfryd,
Oleuodd, adfywiodd fyd:
Felly fydd yn nydd ein Nêr,
Cu fwyndeg Haul Cyfiawnder;
Ei fyw wyneb deirf Annwn,
Oleua 'r byd hyfryd hwn.
  Ond Oh! pa gyffro ar g'oedd
I lawer iawn o luoedd!
Nerthoedd byddinoedd Annwn,
Mal rheipus, mal gwangcus gŵn,
Rhuthrant, meddiannant ddynion,
Rhwygant a briwant eu bron;
Aflonydd yw 'r rhai flinant,
Gwallgofi 'n aneiri' wnant;
Gwanant eu cyrph gan gynnwr',
Hwy syrthian' i dân a dŵr;
Gan gur y dur a dorrant,
Pob rhwymau 'n ddarnau ydd ânt.
Y dynion gwaelion dinerth
Gystuddiant, gospant yn gerth.
Hyll olwg! pwy all weled
Eu cystudd, a'i rudd ni rêd!
Anfynych rho'i Naf union,
Cyn bod yr oes hynod hon,
Gennad i Ddreigiau Annwn
Ddirboeni 'r byd hyfryd hwn.
Ond yn awr y dirfawr Dad,
O'u chwerw a'u dwfn garchariad,
Y Diafol a'i lu di-foes,
Dros fŷr dro 'n rhyddion fe 'u rhoes.
Beunydd mae rhyw ddibenion
O dêg iawn râd gan yr Ion:
Can's wrth hyn y Gelyn gau,
Hen Lew, sydd yn ei liwiau;
Ei ddichellion dyfnion dig
A'i ddu lid sydd weledig;
A godidawg y Duwdod
Yn gyfiawn a gai lawn glod.
Gwelid gan bob trigolion
Radau a mawr wyrthiau 'r Ion.
  Yn gu eirian mae 'n gwawriaw,
Mae dydd y Llywydd ger llaw.
Galar fydd i ti, 'r Gelyn,
Yn ebrwydd o herwydd hyn;
Gwir yw, D'wysog yr awyr,
I dân llosg teflir di 'n llwyr:
Y ffyrnig Sarph uffernol,
Cyn hir ysigir dy siol:
Dy ddrwg ddeiliaid tanbaid ti,
Yn rhawd, rhag ei Fawrhydi
Ddychrynant, ffoant i'w Ffau,
I ddu Annwn, fyrddiynau;
I genfaint foch (gwae anferth)
Rhuthrant, ymguddiant yn gerth;
Enciliant, rhag ofn Celi,
I'r dyfn-fôr, rhag ein Ior ni.
  Yr oes danfonwyd Moesen
I'r Aipht gan y dirfawr Rên,
Mwy caled fu lludded llym
Taerwaedd Israeliaid dirym.

Caled gaethiwed a thost
A dradwys wnaed yn rydost.
Yr enaid a drywaner
A waedda am noddfa Nêr.
Mae 'r hanes tramawr hynod
Yn eglur, er gloywbur glod
I Dduw hael am lwyr ryddhâu
Hil ei weision o'u loesau.
Un oes waredodd Moesen,
Duwiol hâd un genedl hen;
Da odiaeth hyn, a dedwydd,
Gwyrthiol, ond amserol swydd.
Mae'r Trag'wyddawl, rasawl Rên,
Mae Iesu 'n fwy na Moesen;
Mae'n ei fron gyfion yn gwau
Odidawg fyfyrdodau,
Hyfawl, ac nid llai hefyd
Na rhyddhâu o'i boenau'r byd.
I'r holl fyd fe gyfyd gwawl
Daionus, cyffredinawl:
Daw 'r Haul â'i belydr hylon,
Eurddydd rhydd i'r ddaear hon.
Mewn gwlad nid pur glodadwy,
Synn yw y modd, heb sôn mwy
Am ei Enw, bu 'r Ior mwynwawr,
Cyn addysgu llu y llawr.
Mae 'n eres, hanes Ior Hedd,
Gawn, am lawn ddeunaw mlynedd,
Mewn mawr a dwfn ddistawrwydd,
Cyn dechrau nesâu i'w swydd.
Ddichon doeth anwylgoeth Nêr
Y Nef wneud dim yn ofer?
Ddaeth i'n plith fendith mor fawr
O fynwes Duw 'r Nef wenwawr
Ag Iachawdwr gwych odiaeth,
Goleuni rhag cyni caeth?
Heb baid on'd rhaid bod pob rhan,
Fâd Ior, o'i fywyd eirian
I gyd yn addysgiadawl
I ddyn fyth,—ac i Dduw 'n fawl?
Mewn gwir, mewn mwy na geiriau,
Canfod mae 'r fyfyrdod fau
Fywiol addysg; fe lwydda
I'r doeth, yn ei amser da.
Mae 'r Iesu yn dysgu dyn,
Yr isel ddêl i'w ddilyn,
A siamplau, cyn geiriau; gwaith
I'w sylwi; hwn yw 'r seilwaith.
Mae clwyfau 'n heneidiau ni
Yn orwyllt, yn aneiri':
Amled yw ym mlodau oes
Gwŷniau llygredig einioes!
Pa 'mrysonion gweigion gânt
A ddig fileinig flinant
Ynfydion beilchion y byd
Yn un-llu mawr cynnenllyd.
Y mae yspryd tanllyd dyn
Yn annoeth ynddo 'n ennyn
Am enw a pharch dymunawl,
Am eglur ddifesur fawl:
Yn hyf nid llai fŷn hefyd
Na bod yn ffraeth bennaeth byd.
Ond caledfyd dybryd du
O'i fodd ddewisodd Iesu,
Heb os, i ddangos i ddyn
Na ddylai yntau ddilyn
Neu ddeisyf swydd urddasawl
A chrochfloedd miloedd a'u mawl.
E ŵyr glân Ior Goleuni
Mor ammhur yw 'n nattur ni:
Fe ŵyr Nêr yr amserau
Dedwydd i hylwydd lanhâu
Ffynnon y galon i gyd
O feichiau ei hafiechyd.
Hael Ddofydd a rydd wrth raid
Rinwedd i nerthu 'r enaid
Cyn llygru, cyn dallu dyn,
Cyn diffaith unwaith ennyn
O bechod mawr na bychan,
A'i dwyll roi nattur ar dân,
Hwn yw 'r amser tyner têg,
Hon ydyw 'r union adeg
I hau, ac i ddyfrhâu, hâd
Y gwir a dyf drwy gariad:
Mebyd yw 'r pryd prïodawl
I rinwedd, a'i gwedd fel gwawl,
Dyfu a chynnyddu 'n wir
I raddau na ddadwreiddir.
Mae enaid llawn amynedd
Yn parhâu i fwynhâu hedd.
Nid yma, mewn byd ammhur,
Ceir mawrlwydd happusrwydd pur;
Nid yma, aflan dommen
Y ddaear anhawddgar hen,
Mwynhêir mawl dymunawl mâd
A chyfoeth a dyrchafiad.
O'r ing mae 'n rhaid i'r angau
Yn rhwydd ei hun ein rhyddhâu.
Na ollyngo 'n ango' neb
Ddi-ail-daith Trag'wyddoldeb:
Yn y Gwawl, fry, gan Geli,
Fry 'n wir gogoneddir ni.
Fel y diwael flodeuyn,
Dan fawr ofal dyfal dyn,
A dyf yn hardd mewn gardd gu
Gynnes, dan loywdeg wenu,
A rydd arogl pereiddiaf,
Tra pery llon hinon haf;
Er hyn, flodeuyn diwael,
Hawdd syrthio neu wywo 'n wael:
Pob blodau golau eu gwedd
Buan deuan' i'w diwedd;
Ni oddef un o naddynt
Nag ia, nag eira, na gwynt.
Dïau megis blodeuyn
Yw 'r gwagsaw,—ni ddaw yn ddyn;
Mawrwriaeth helaeth hylym
Ni faidd; mae ei wraidd heb rym:
Ysywaeth pob croes awel
Fydd rwystr, fydd ddinystr pan ddêl.

Hawddfyd o hyd sy 'n gwanhâu
Yr adyn syrth i'w rwydau.
Mal derwen harddwen lawn hyd,
Lawn hoywfrig o lun hyfryd,
A'i gwraidd yng nghreigiau hagr ia
Oer fynydd yn Arfonia,
Er ymladd ar riw amlwg
A nerthoedd gwyntoedd llawn gwg,
Y fawr hon dyf er hynny
Yn nerthawg, yn frigawg fry:
Dyfnderau 'i gwreiddiau a'u grym,
Rhac afiwydd rhuthrawg cyflym,
Yn hylwydd a'i cynhaliant,
Er crochfloedd y gwyntoedd, gànt.
Hoff fydd cysgod hynod hon
I ddinerth lu o ddynion:
Côr o adar caredig,
Eu braint fydd canu 'n ei brig.
Y wiwglod dderwen eglur,
Fawrwerth, â dewrnerth y dur,
Pan dorrir hon o'r fron fry,
Da yw hon wedi hynny:
Yn hyf a hardd y nawf hon
Y gygus donnawg eigion;
Hi ddwg deyrnasoedd agwrdd
Yr holl fyd i gyd i gwrdd
A'u gilydd, hi ddwg eilwaith
Bob trysor dros y môr maith;
Hi ddwg lawn ddigawn o dda
Hael wleddoedd i hil Adda:
Mae 'n ddedwydd, o herwydd hon
Y gwelir pob trigolion
Môr a thir mewn gwir gariad,
Yn blant cu, teulu 'r un Tad.
Bynnag pa ddyn yn bennaf
Anfonir yn wir gan Naf,
Adfyd, o'i febyd, a fydd
Yn bennaf ei ran beunydd.
O glodfawr ysgol adfyd!
Mae d' wyrthiau 'n parhâu o hyd:
Afreidiol rhifo 'r odiaeth
Wŷr nefol o'th ysgol aeth;
Teyrnasoedd ac oesoedd gànt,
Y doethion a'u bendithiant.
I seilio teyrnas helaeth
Yng nghalon dynion y daeth
Trugarog Enneiniog Naf,
Drwy ras, deyrnas gadarnaf.
I ddinystrio, lluddio llwydd
Yr Iesu a'i oreuswydd,
Pa derfysg fu 'mysg llu 'r llawr,
Pa floedd gan dorfoedd dirfawr!
Lywiawdwyr yr holl wledydd
Yn rhawd, torf Annwn yn rhydd
Eu drysau a dorrasant
I ddifa Messïa, 'r Sant.
Llawn adfyd o'i grŷd i'w groes
Fu 'i fwyn santeiddiaf einioes.
Er mai anghyfiawnder fu,
Fawr-Nêr, ei euawg farnu,
Torri Gwr llawn trugaredd
O dir y byw i dŷ 'r bedd;
Er du astrus fro distryw,
Daeth Ior Hedd o'i fedd yn fyw:
Fyw Ior mawr, rhyfedd fu 'r modd,
Fe agwrdd lwyr orchfygodd
Aflan drigfan y drygfyd
A beilch orchfygwyr y byd.
Bôr odiaeth, byw Waredydd
I'w ffyddlon gyfeillion fydd.
Ym more d' oes ymro di,
Y cain wr ieuangc heini',
Yn oedran diniweidrwydd
Myfyria, rhodia yn rhwydd
Ar ol dy rinweddol Nawdd,
Cywiraf Ior a'n carawdd.
O ysbryd y byd i bwyll
Dedwydd, i gysur didwyll,
O ddwylaw ei ddu Elyn,
O'i ffyrdd drwg, fe a ddwg ddyn
Yn rhannog, Nêr y wiwnef,
O'i nattur oreuber Ef.
Yn rhwydd dod i'r Ion a'i rhoes
Dyner flaenffrwythau d' einioes;
O'i draserch ti gei drysawr
Mynwesol, buddiol bob awr,
A deuddeg gwell, rhaid addef,
Nag aur,—gwirioneddau 'r Nef.
Trwy anial llawn trueni,
Hyll hirfaith, mae d' ymdaith di;
Cyfyng a llithrig hefyd,
A serth yw 'r ffordd gerth i gyd:
Bythoedd na wan-obeithia,
Drwy 'r daith cei Gydymmaith da,
Ddoeth Lywydd i'th oleuaw,
A'th dywys i'w Lys â'i law.
Os gwrandewi di bob dydd
Ei fawrwerth bêr leferydd,
D'wysog enwog y wiwnef,
Di nag y cei gyd âg Ef
A'i garedig Oreu-Dad
Undeb a chymmundeb mâd.
Gweddi o ddifri' ddwyfron,
Yn Enw cu 'r Iesu, ar Ion,
Yn wir attebir, y Tad
A geir yn llawn o gariad.
Byth mae 'r SANT i'w blant yn blaid,
Gwrendy 'n fwyn gŵyn y gweiniaid.
Drwy 'n byw Ior (drwy neb arall)
Tydi orchfygi y Fall;
I ti rhad-roddir, wrth raid,
Iach hinon heddwch enaid;
Tydi gwrddi â'r Gwir-Dduw,
Tydi a feddienni Dduw.
Y myg wr, Abraham gu,
Oesoedd cyn geni 'r Iesu,
A golwg ffydd y gwelawdd
Ei drag'wyddol nefol Nawdd:
E ganfu borth y Gwynfyd,
Bu 'n llon ei galon i gyd.

Yr un Arglwydd eirian-ael
O hyd ydyw 'r Iesu hael;
Un ydyw annewidiawl,
Iehofa, Nawdd da 'n ddi dawl:
Yn d' enaid, pan adwaenir,
Tydi lawenychi 'n wir.
I'r enaid, Ior y wiwnef,
Nid oes gwir Athraw ond Ef.
Un Siampl berffeithlawn y sydd,
Olau iawn i'r dilynydd;
Un Cyfaill ffyddlawn, cofier,
Wrth angen, îs wybren ser.
Blinderawg, rhyfelawg fyd
Anafus, llawn o ofyd
Yw hwn; y mae llygredd hyll
Yn duo 'r galon dywyll
Yn fynych, a'r Nef wenwawr,
Fal pe byddai 'n llai na'r llawr,
O'r olwg; bydd chwerw alaeth
Yn eigion y galon gaeth.
Weithiau gorthrymderau dig
Daearol, yn chwyrn derrig
A ruthrant, fygythiant gerth
Erwinfawr ddistryw anferth.
Os credu yn Iesu 'n wir
Yr ydwyt, fe 'th waredir
Drwy bob tòn o'th galon gaeth,
O lawnwynt pob gelyniaeth;
Er cryfder blyngder eu bloedd
Ceir yntau 'n y corwyntoedd.
Gennyt, yn d' enaid gwiwnaws,
Heb gyffro rhag un tro traws,
Modd anwyl y meddiennir
Tawelwch a heddwch hir.
Os Awen gymmen a gaid,
Llon dân, yn llenwi d' enaid,
Ac anwyl os yw gennyd
Arwyrain sydd gain i gyd,
Dwyfol ganiadau Dafydd
Yn gywrain darllain bob dydd;
Adfyfyria, wiwdda waith,
Eu sylwedd y nos eilwaith,
Gweli 'n llawn, drwy hoff iawn ffydd,
Un dwyfol mwy na Dafydd;
Helaeth fuddugoliaethau
Mab Dafydd sydd yn nesbâu.
Pan ddaw 'r amser ceinber cu
I'n Iesu mawr deyrnasu,
Pabyddiaeth helaeth, fu 'n hir
Lwyddaw, yn llwyr a leddir;
Tynnir Mahometaniaeth,
A'i llym gledd, o'i gorsedd gaeth;
Duwiau Paganiaeth dywyll
Yn un haid i Annwn hyll
Y rhuthrant, ffoant i'w Ffau
Groch-eirias, hagr Garcharau;
Ac yna o Nef geinwawr
Daw hedd oleuwedd i lawr:
Paradwys fydd pob brodir,
Bydd Iesu 'n teyrnasu 'n wir.

Brenin doeth hoywgoeth a hyf
Yn Salem a fu Selyf;
Y pennaf, dyfnaf mewn dysg,
A thra iawnddoeth athronddysg,
Ar led, mewn gweithred a gair,
A godwyd i deyrngadair.
Aeth enw ei fawr ddoethineb
Yn uwch o lawer na neb;
Son mae dynion am dano,
A'i bur fraint, ym mhob rhyw fro.
Ei iawn bur ddoethineb oedd,
Nid arfawg erwin dorfoedd,
I'w godi ef yn gadarn,
Pawb a fu 'n rhyfeddu 'i farn.
Llon ufuddolion ddeiliaid
O'i ddeutu 'n ei garu gaid.
Brenhinoedd yn gyhoedd, gânt,
Dda weision, ufuddhasant
Ddoethineb ddaeth o'i enau;
Pêr hedd drwy 'i oes fu 'n parhâu.
Ein Ior ddisgynnawdd o Nef,
Siloh sydd fwy na Selef:
I ddibenion mawrion (mwy
Ydynt yn annhraethadwy
Na sylwedd ffraethlen Selef)
Ddoeth iawn Ion, e ddaeth o Nef.
Od oedd iawn anrhydeddu,
Os haeddawl o fawl a fu
Nodawl frenin ffynnadwy,
Marwol,—Anfarwol sydd fwy,
Rhesymmol haeddol i Hwn,
Fyw Ddofydd, cyfaddefwn,
Bob clod ac ufudd-dod fyth;
Oh talwn foliant dilyth!
Mor lân, Ior mawr y loywnef,
Cyfreithiau ei enau Ef!
Newidiant ein heneidiau,
Mae mawr fudd o'u hufuddhâu.
Prophwydi, goleuni 'u gwlad,
Hyddysg roesant gyhoeddiad
I'r cenhedloedd, pobloedd pell,
Y denai Dduw i'r dywell
Ddaear, oleuwar Lywydd,
Haul nefol rhyfeddol fydd.
O'i gyflawnder, sywber Sant,
Ei weision dderbyniasant.
Rhoddion ellir gyrrhaeddyd,
Os gwrandâwn, a gawn i gyd;
Beunydd ninnau dderbyniwn
Ras a hedd yr Iesu hwn.
Fy Ior rodd ddeddfau erioes;
Dïau rhydd y Duw a'u rhoes
Y gallu ac ewyllys,
O'i dda law, i'w cadw 'n ddi lys.
Ystyr, O lange! yn astud,
Boed i'th fron fyfyrio 'n fud;
Nid yw cywaeth ond cawod
A â, ddiflanna fal ôd.
Gwag ogoniant, mwyniant mawl
Diras ddynion daearawl,

Hafal yw hynny hefyd
I swn gwledd, gwagedd i gyd!
Cofia, tlodi, nid cyfoeth
Fu 'n dilyn swydd d' Arglwydd doeth.
Heb un fraint bu 'n byw 'n ei fro,
Na dyn yn son am dano.
Mewn distawrwydd gwiwlwydd, gwel
Addwyn Iesu 'n Ddyn isel;
Llon Ddyn llawn o ddaioni,
Nêr têg, yn Flaenawr i ti.
Mae cariad eglurfad glân
O freiniol gyfryw anian,
Fe dŷn, mal wrth gadwyn gu,
Fyw enaid dyn i fynu
I'w ddilyn, fe rydd olau
Pur a hedd byth yn parhâu.
Cariad coeth yr Ior doeth da,
I lwyddiant mawr hil Adda,
A'i dygodd Ef o degwch
Y Nef wèn hoff lawen ffiwch
At lu 'r ddaear hagrddu hon,
I ofid, llid, trallodion.
I'r waelaf iselaf swydd,
Erglyw, y daeth dy Arglwydd,
I dynnu 'n gyffredinol,
Drwy ras, y byd ar ei ôl.
Buddiol diriondeb addysg,
Ar sail dda, gwir rasol ddysg!
Trwy dêg mae 'r Iesu 'n troi dyn
Yn ddeiliad mwyn i'w ddilyn.
Calon newydd rydd Celi,
Yn dyner fe 'i hadfer hi.
Mae 'n parottôi mewn pryd da
Y fynwes, fe rydd Fanna
Nefol iddi 'n fywiol faeth,
Ei goeth rywiog athrawiaeth:
Dyna 'th Iachawdwr doniol,
Dy lân Nêr, dilyn ei ôl:
Na ŵyra drwy wèn araith
Temtiwr na chyhuddwr chwaith.
Bydd dda, beunydd bydd ddiwyd,
Bydd lon, bydd foddion i'th fyd,
Rhinwedd yn amser henaint
Fydd rwydd, mewn sicrwydd, i'r saint;
Ac os bŷr y tyrr y Tad
Eu heinioes, y gwahaniad
Fydd fawrlwydd, fydd ddedwydd iawn,
Cofier, i'r ieuaingc cyfiawn:
O boenus fyd derbynnir
Hwynt i Hedd heulwedd a hir.
Dïau, mewn geiriau ar g'oedd,
Llawer am Ior y lluoedd
Yn ddidwyll allwn dd'wedyd,
Y gwir yn gywir i gyd:
Y gwir a dd'wedir gan ddyn
I'r enaid ni wna ronyn
O les, heb i ras hael Ion
Gulwys lanhâu y galon:
Fyw Ior, Efe lafara,
A'r afiach yn iach fe wna:
Caethion gweinion a gŵynant,
Rhyddion, ar air Ion, yr ânt.
Wr ifangc, mae mawr ofyd
A thwyll du o bob-tu 'r byd.
Ysywaeth, er dy ffraeth ffrost,
Dy enaid nid adwaenost:
Degwm y llygredigaeth
Sy 'n eigion dy galon gaeth
Ni wyddost; mae 'n dost, fe 'th dynn,
A deil di 'n rhwydau d' elyn;
Chwerwder a chyfyngder fydd
Hyll yno, nid llawenydd:
Ond yno byddo 'n ddibaid,
Y dinerth, i dy enaid
Weddïo 'n effro am nawdd
Y Brenin a'th ddrud brynawdd.
Ein hynaws Ior brenhinwych,
Sydd orseddawl mewn Gwawl gwych,
Sydd Ben yn y wèn wiwnef,
Ar wan dall e wrendy Ef.
Hwy gânt a geisiant gysur
O eigion calon lawn cur.
Gwiwlwys eiriol ar Geli,
Ar y Tad, mae erot ti;
I ti 'n bêr, rhag llymder llid,
Y rhoddir nerth a rhyddid.
Tydi adwaeni dy Dŵr
A Cheidwad, hael Iachawdwr.
Yn Enw yr Iesu 'n unig,
Dy ddoeth Iachawdwr di ddig,
Llawn gras, bo 'th addas weddi,
A Duw Dad a'th wrendy di.
Ti, fu 'n gaethwas diras dall,
Ddeui 'n wir yn ddyn arall.
Mal rhodau golau 'r nef gain,
Yn gôr drwy 'u goror gywrain,
Yn hedeg eu hoywdeg hynt
O gyrraedd pob rhyw gorwynt,
Yn siriol gadw amserau
Mewn hedd, a rhyfedd barhâu
Yn amgylchu 'n neutu 'r nen
Eu rheolydd, yr heulwen;
Felly pan lon wawrio Nêr,
Cu fwyndeg Haul Cyfiawnder
Eirianwedd yn yr enaid,
Y cynneddfau golau gaid
Heb dwrf di drefn, heb derfysg
Na dig, ond miwsig i'w mysg,
A gwâr hedd a gwir ryddid
Yn y galon lon ddi lid:
Dedwydd ydyw 'r credadyn
Sydd yn ddïau 'n mwynhâu hyn.
Y gwr ieuangc, y llangc llon,
Drwyddynt clyw f' ymadroddion;
Mae 'n fuddiol resymmol swydd
Ystyried, mewn distawrwydd,
Beunydd am Iesu 'n bennaf,
Am fawrion hanesion Naf:
Ei fywyd diwyd tawel,
Ei athrawiaeth, fal maeth mêl,

Ei chwerw ing a chur angau,
Adgyfodiad Ior mâd mau,
Ei gain nefawl esgynniad
I'w orsedd, rhyfedd barhâd
Ei oreulwys eiriolaeth;—
*Drwy hyn*,—Dduw a Dyn,—y daeth,
O'i gariad sy 'n rhagori,
Yn Iachawdwr, Tŵr i ti:
*Drwy hyn*, fe adfer Duw 'r Hedd
O farwol ing i fawredd
Y byd fu gyhyd yn gaeth,
I'w hynaws rydd frenhiniaeth:
Mae 'n hyfryd, hefyd, *drwy hyn*,
Dedwydd i bob credadyn,
I drag'wyddol orfoledd
Fe a gyfyd fyd o'i fedd!
On'd yw 'r Iesu, dy gu Gâr
Llawn heddgoeth, oll yn hawddgar?
O iachus wylfa uchel
Fy rhydd Awenydd a wêl
A fu, neu fydd dan nef fawr,
Trwy 'r oesoedd, orau trysawr.
Blaenawr yw 'r Iesu mawr mâd,
Ein cadarn unig Geidwad,
Blaenawr ei holl bobl weinion
Yw 'r nerthawg drugarawg Ion.
Nêr a ddaw yn wir ddïau,
F' Arglwydd i'w swydd sy 'n nesâu.
Dydd o ryfel a welaf,
Dydd mawr ein hanwylwawr Naf!
Dydd tywallt gwaed hallt fydd hwn,
Mawrdda i lawer myrddiwn.
Mewn swm y mae yn nesâu
Dra chedyrn ymdrechiadau.
Mawrion ac annghydmarawl,
Rhwng Iesu, Gallu y Gwawl,
A Llu 'r Tywyllwch du dwfn,
Nerthoedd myrddiynoedd Annwfn,
Dirym a fydd pob dewrion,
Ofer rhawd i'r frwydr fawr hon.
Pob dyn, heb ronyn o rym,
A dawdd, â 'n llai na diddym.
Pa ddydd hefelydd! pa fawr
Grynfa drwy 'r ddaear gronfawr!
Mewn braw yn entrych awyr
Haul eurfyg mewn llewyg llwyr!
Annwfn, a'i dieifl gwenwynig,
A gryn mewn dychryn a dig.
Pyrth angau 'n ddarnau ydd ânt,
Ac i Annwn disgynnant.
Ing dufaith, angau Dofydd
I'r byd yn fywyd a fydd;
Daionus Dad y wiwnef
Dderbyn ei ferth Aberth Ef.
O Salem gref ei seiliau!
Mor gynnes i'r fynwes fau
Yw 'th gaerau a'th dyrau di,
Ddinas lawn o ddaioni!
Mor addien yw 'th lawen lu,
Ba wyneb sydd heb wenu!
Pa gedyrn âg udgyrn gwiw,
Hylon, mewn gwisgoedd hoywliw,
A welaf? O anwyled
Seiniau 'r pêr leisiau ar led!
Yn ol gorchymmyn eu Naf,
Lïosawg genedl lwysaf,
Rhyddfyd i gaethion, rhoddfawr
Fendithion mwynion Duw mawr
Heddyw gânt eu cyhoeddi
A bloedd udgyrn Jubili:
Jubili 'r lân Ganaan gu
Dywynnodd, dan fâd wenu;
Hafaidd dywynnodd hefyd
Haul byw Iubili y byd.
Dorau 'r carcharau chwerwon,
Llwyr brudd lle 'r oedd llawer bron,
Ar unwaith, llon yw 'r ennyd,
Clywant, agorant i gyd.
Daeth tlodion caethion o'u cur
I heuloglan wawl eglur.
Wele wynfawr lawenfyd!
Rhyddion yw 'r gweinion i gyd!
Fe ddaeth o'r Nefoedd weithion
Flwydd lwyr gymmeradwy 'r Ion:
Dydd hynod y cymmod cu,
Rhaid oedd ei anrhydeddu:
Rhwng Ion a dynion y daeth
Hylwydd gymmod ehelaeth:
Gŵyl anwyl a ragluniawdd
Duw Nef yn gysgod o'i nawdd.
Ar ol hir ddirfawr alar,
Tywynnodd a gwenodd gwâr
Ael hedd, a gorfoledd fyw,
A rhyddid eglur heddyw.
Israeliaid a siriolant,
Bywyd a gwynfyd a gânt;
Luoedd, â chalon lawen,
Bendithiant, mawrhânt eu Rhên.

## CYWYDD AR DDYRCHAFAEL Y MESSIAH.

FAD Iesu, fe dywysodd
Ei dystion, ufuddlon fodd,
Ar liw dydd, i'r mynydd mawr
Olewŷdd, le goleuwawr.
Yn llu o'i ddeutu ydd ânt;
Tra siriol y trysorant,
O dda awydd yn ddiwyd
Ei eiriau golau i gyd.
Yn ffraeth, yn hydraeth, yn hawdd,
Y gwirair a egorawdd.
Ym mlas ei gymdeithas dêg,
Y Gwaredwr goreudeg,
Yr oedd y Nefoedd yn wir,
Ei groywdeg air a gredir.
I'w rasol apostoliawn
Fe rodd awdurdod fawr iawn,
I ddedwydd ddysgu 'n ddidwyll,
A dwyn y byd i'w iawn bwyll.
Addawodd Ef, o Nef, nawdd
I'w weision a ddewisawdd:
Codawdd ei ddwylaw cudeg,
Gannaid Ior, ac â'i wên dêg
Bendithiawn a radlawn rodd,
A'n Iesu gwŷn esgynnodd
Yn hynod Ior brenhinwawr,
Archoffeiriad mwynfad mawr.
Mewn gwawl, yn raddawl, yr aeth,
Ior hael, drwy 'r awyr helaeth.
Claerwyn gwmmwl discleiriawl,
Sef meibion gwynnion y Gwawl,
Cedyrn Gerubiaid cudeg
Yn taenu o'u deutu 'n dêg
Eu 'splennydd adenydd da,
Wir addfwyn drugareddfa,
Mal cerbyd oleubryd lu,
Wnai 'i ddwyn e 'n fwyn i fynu.
Apostolion, tystion têg,
I'r lydan wybr oleudeg
A dra uchel edrychant
Ar ol y gorseddol SANT:
Craffant, rhyfeddant yn fud,
Wŷr mwynion, lawer munud.
Weis unawl, a hwy 'n synnu,
Hwy glywant, a gwelant gu
Ddeuwr, neu ddisglair dduwiau;
A bu hyn yn eu bywhâu.
Pa ham y sefwch, eb hwy,
Liwdeg wŷr canmoladwy,
Gan graffu i fynu i'r nef fawr?
E ddaw Iesu wedduswawr
Yn ôl mewn rhyfeddol fodd
Ceinwych, fel yr escynnodd.
Gyd â'r gair f' â'r ddisglair ddau
I ga'lyn y llu golau;
Genhadon sywlon y SANT,
Weis cannaid, cyd-escynnant.
Yn hawdd esgynnawdd Gwiw-Nêr
Oddiar wawl siriawl y ser,
I drigfannau 'r seintiau sydd
Lawnion o bur lawenydd.
Ysprydion rhyddion, a'u rhif
Yn eres, yn aneirif,
Wâr hynaws feibion rhinwedd
Yn gorphwys mewn hylwys hedd.
Patriarchiaid, loyw-blaid, lu
Addwyn, yn gorfoleddu
Wrth ganfod gollyngdod llawn
Doniog Iachawdwr dyniawn.
Llon bendefigion Nef fawr,
Luoedd, o'u gwlad oleuwawr,
O lwyr serch, i foli 'r SANT,
Gain wiwswydd, disgynnasant,
I gu roddi 'n gôr addien
Anrhydedd rhyfedd i'w Rhên.
Gan hedd ei gain wedd, gan Wawl,
Gwir degwch digreedigawl,
Gwelant, addolant e 'n Dduw,
Y geirddoeth unig Wir-Dduw.
Wynnion ddeulu 'n un ddolef,
Mal ION y Tad, molant Ef.
Iaith odiaeth! annhraethadwy
Eu pyngciau a'u hodlau hwy.
Ysprydion mwynion a mâd,
Gwelant eu holl ddisgwyliad;
Mewn bedd er gorwedd yn gaeth,
Gwelant ei fuddugoliaeth:
Yn ei dda-lon wedd ddilyth
Gwelant a fyddant dros fyth.
Tan nawdd Ion, gwyddant yn dda,
Y dydd gelwir hâd Adda,
Y cesglir y meirw cysglyd
O'u beddau, drwy barthau 'r byd,
Enaid a chorph a unir,
Gogoniant fwynhânt yn hir.
Pan ddaw 'n gyflawn wiwddawn wŷr,
Buredig lu eu brodyr,
I gannaid Fyd Gogoniant
Ar ol eu Harglwydd yr ânt.
Wrth esgyn yn wŷn ei wedd
O'r Iesu mawr i'w orsedd,
Hedd lwys a gorfoledd lawn
A rannodd i'w rai uniawn;
I'w ddeiliaid bendigaid Ef,
E rannodd Ior y wiwnef
Ei gariad ym mhob gorawr
O'i deyrnas gyfaddas fawr.
Y ffur wir Archoffeiriad
Trag'wyddol, grymmusol mâd,

A llu o'i Engyl llawen,
Esgynnawdd, yn Nawdd, drwy nen
Cynteddau'r Deml olau lân
O'i hynod waith ei hunan.
Myrddiynau 'r Nef olau fawr,
Yn dorf, gyd â'r Ion dirfawr,
Lïosawg gyd-alwasant,
Rhoi gawr gerth â'u nerth a wnant:—
Dorau 'r wen-gu dirion-gaer,
Y nefol dragwyddol Gaer!
O ddorau y caerau certh!
I'r Prïodfab, Ior prydferth
Nef a llawr, i'r mawr Ior mau
Egorwch, nefol gaerau!
Porthorion gwynnion, yn gôr
Anfarwol, yn Nef-oror,
Attebant, a holant hwy:—
D'wedwch, luoedd clodadwy,
I ba Ior yr agorwn?
Pa Arglwydd hylwydd yw hwn?
I lân Ior yr oleu-nef,
Ior a wnaeth ddaear a nef;
I'r Geirwir ddaeth o'r gweryd,
Ac a brynodd, o'i fodd, fyd;
I ogoniant Nef geinwawr,
A daw i mewn y Duw mawr!
Ysplennydd geurydd Nef gain
Egorynt oll yn gywrain:
A dorau 'r caerau cwrel
Wnaent fiwsig o'lymmedig mêl.
Aeth yn awr Ior, clodfawr clau
Goreuddoeth, uwch pob graddau:
O'r bedd i'r orsedd yr aeth,
I'w hynod fawr Frenhiniaeth:
Aeth Ef i Nef y nefoedd,
Mewn mawr nerth yn gerth ar g'oedd;
I dda-Lys santeiddiolaf
Burdeb presennoldeb Naf,
Salem, Fam-ddinas heulwawr
Teyrnas y Tad, Dduw mâd mawr;
I'w orsedd oleuwedd lân
Yn Bennaeth ar bob anian,
Gorsedd ddiduedd ei Dad;
A chyfion yw 'r dyrchafiad.
Cafodd yr hael Dad cyfiawn
Yn llwyr ei fodloni 'n llawn.
Annhraethawl yw mawl melys
Yr Iesu 'n ei loywgu Lys.
Pur rwyddlon yw pereiddlef
Niferoedd Nerthoedd y Nef.
Rhoddant i'w Nêr rhfeiddwawr
Addoliant, a moliant mawr;—
Naf Awdwr y Nef ydwyt,
Gorchfygwr, Gwaredwr wyt:
Dedwydd a pharod ydym,
Ar air, gyd â bywiog rym,
I hedeg yn Genhadon
Heb rif, yn d' achos, bur Ion.
Rhy anghall yw deall dyn,
Rhy ammhur yw ei emyn,
I iawn adrodd anfeidrawl
Ganiad o ryfeddfad fawl;
Caniad Cerubiaid ceinwawr,
Holl raddau 'r Nef olau fawr,
Sydd ar orseddau eirian
A'u telynau 'n cyd-wau cân,
Gan ddilyn hoywgain ddolef
Erddigan dofn-Organ Nef:
I ddyn, yn ol ei ddoniau,
Mae 'n perthyn, er hyn, fawrhâu
Y cu Arglwydd; cywir-glod
Yn fwyn dâl, O f' Awen, dod.
Ai mudion fydd beirddion byd?
Oni ddylent iawn ddilyd?
Cu olau dân i'm calon
I lawr oddiar allawr Ion
Ddisgynno, wresogo 'm serch
Drwy Iesu Grist a'i draserch.
Mae mawl mor haeddawl heddyw,
Dibaid, gan bob enaid byw
I'r Iesu, a'r dydd cu certh
O'i dda Esgynfa geinferth:
Bur Bennaeth, mae 'n Bôr beunydd,
Parhâu mae effeithiau ffydd:
Parhâed, ac amlhâed mawl Hwn,
Ei fywiawl Enw foliannwn.
Drwy gyfan bedwar bàn byd,
Gan y saint, hoywfraint hyfryd,
Cofier dy fedd, Ior hedd hael,
A chofier dy ddyrchafael.
Yn Dduw 'n wir, yn Ddyn eirian,
Tragywydd Lywydd Nef lân,
Y grasol gywir Iesu,
Yn enw ei lân anwyl lu,
Heddyw gymmerodd haeddawl
Feddiannau o gaerau 'r Gwawl.
O'i dra serch, brodyr y Sant,
Lu anwyl, a'i dilynant,
Fyddant gyd-etifeddion
Ag Ef yn y lwysnef lon.
Bydded im' yn dra buddiawl
It' esgyn, Ior gwŷn, i'r Gwawl.
Fy ngh'wilydd, pla fy nghalon,
Oh iachâ, Oh glanhâ hon!
Clyw, Oh Feddyg! claf oeddwn,
Ac wyf, o'r gwahanglwyf hwn.
Gwybyddwyf, teimlwyf mai Ti,
Nêr hylwydd, sy 'n rheoli
Beunydd ynddwyf yn bennaf,
Gan fywhâu 'm cynneddfau, Naf.
Dïammhur iechyd immi,
Dod, fy Nêr, yn d' amser Di.
Yn y dydd bu d' enaid, Oh
Fodur! yn dwys ofidio,
I gyd a'th gorph yn gwaedu,
Poen ddibaid yn f' enaid fu.
Darfu fy nhrymder dirfawr;
Fy Nuw, esmwythaist fi 'n awr.
Llawen adeg, llon ydwyf,
O f' Arglwydd, mor ddedwydd wyf!

Llon wy 'n awr, llawen yw 'nydd,
A llon a fo 'm darllenydd!
Mae f' awydd i am fywyd
Yn y lon hwyl hon o hyd:
Mae 'nghalon weithion yn iach;
Mi ganaf gerdd amgenach.
Yn fywiog datgan, f' Awen,
Fawl haeddol dy rasol Rên.
Nid gwaith dyn yw 'th delyn di;
Iawnddestl dannau dod ynddi,
Newyddion dannau addas,
Yn gyflym cei rym cu ras.
Yr Awen ufuddwen fau,
Tynnion, croywber fo 'r tannau.
O'r Nef, rhaid addef, y daeth
Hoff delyn prophwydoliaeth.
F' Awen, bydd lawn o fywyd,
Bydd lawen gymmen i gyd:
Dwyre felyswawd eirian
I'm Ior hael, ac nid gwael gân:
Y byd a glyw, heb oedi,
Fyw-leisiau dy dannau di.
O Nef pan êl yn wiwferth
Yr huan seirian yn serth
I fôr Atlas wyrddlas wawr,
I'w ddisgynfa ddwys geinfawr,
I gyd yn waedlyd ei wedd,
A hynny mewn dyhinedd,
Gan nerthoedd gwyntoedd e gyrch
Y môr yntau i'r mawr entyrch;
Y tonnau'n fyrddiynau 'dd ânt,
Yn chwyrn gedyrn ymgodant;
Ferwedig dorf ruadwy,
Ennyd hir crochfloeddiant hwy.
Ond huan eirian ei wedd,
Ef eilwaith, mewn gorfoledd,
I lawen ail oleuaw
Yn gain i'r dwyrain y daw.
Er terfysg y rhawd dirfawr,
Iuddewon geirwon eu gawr;
Er rhyfyg milwyr Rhufain,
Aruthr a fu rhuthr y rhai'n;
Er angau a barrau 'r bedd,
Er Annwn groch yr unwedd,
Gwir ydyw, y Gwaredydd
Ar lon Fryn Sïon y sydd.
Ni bydd ond goleuddydd glân
Yn Salem, ddinas wiwlan;
Yn gwawrio 'r tirion geurydd
Haul tyner Cyfiawnder fydd.
Teyrnasa, ein Ior!—bydd Bôr byth
Teilwng i'th ddeiliaid dilyth.
Iesu gogoneddusawl,
Mawrglod, awdurdod heb dawl,
A haeddaist, dderbyniaist, bydd
Yn Bennaeth graslawn beunydd.
Gweler dy Allu gwiwlawn,
O Arglwydd dedwydd pob dawn!
Gweddus y cynnysgaedder
Dy ffyddlon weision, O Nêr!
A doniau, â gwyrthiau'n gerth,
I farnu 'th deyrnas fawrnerth.
Cadwyner ciwed Annwn,
A ffoed dieifl o'r hoff fyd hwn.
Teyrnasa, ein Ior da doeth!
Yn dyner dwg fyd annoeth
O'i wallgof, yn ddof, yn dda,
Ein Iesu mawr, teyrnasa!
Er pellder yr amser aeth,
Dduw hael, a'th Fawredd helaeth,
Gwir iawn, yr un garennydd
Ar un serch yr awrhon sydd
Yn ddïau 'n parhâu o hyd,
I ryfedd barhâu hefyd.
Da dy rodd, dod arwyddion
O'th hynod awdurdod Ion;
I'w dinystr cryned Annwn,
A boed hedd yn y byd hwn.
Gweler y byd i'th ga'lyn,
Nôd Duw ar bob enaid dyn,
A chlywer dy fwynber fawl
Gan fyddin dangnefeddawl
Drwy gyfan bedwar bàn byd
Eirianfawr, mewn hir wynfyd.
Dywed y gair, a'r dëau
Ddaw o hyd i'th ufuddhâu.
Yn ddilys iawn addoli
Wna 'r gogledd ger d' orsedd Di.
Draw 'n gôr daw 'r dwyrain i gyd,
Hyfwyn orllewin hefyd,
Pob eddyl; d' Efengyl fydd
Eu gloyw unig lawenydd:
Pan glywant, ufuddhânt hon
O gulwys wraidd y galon.
O'r Gwawl yn eglur gweli
Holl gwmpas dy deyrnas Di;
Gwrandewi, ddoeth Ri, wrth raid,
Ei chwynion a'i hochenaid;
Amgylchi i gyd hefyd hon
A chaer o fawl, â choron
Iachawdwriaeth helaeth, hi
A gywreinwych goroni.
Hi ddeil, hi bery'n ddilyth,
Fâd Ior, o fôr i fôr fyth.
Pa bêr gân, mewn eirian iaith,
I'r anwyl Ior, ar unwaith
A glywaf gan gu luoedd
Y ddaear gerddgar ar g'oedd?
Gan ddynion pob gwên ddinas,
Pob uchel fryn, pob glyn glas?
Gan filoedd o dorfoedd da
Ynysoedd mawrion Asia?
Am orau breintiau mewn bro,
Am ras hael y mawr Siloh
Y cenir, y clywir clod
I'r Heddychwr, Dduw uchod,
Ar lennydd araul iawnferth
Yr Oronoco fawr nerth.
Pob moliant i'r SANT y sydd
Gu Lywiawdwr pob gwledydd,

I'n cadarn unig Geidwad
Ar orsedd gorfoledd fâd!
Dy Enw santaidd adwaenir,—
RHYFEDDOL; nefol yn wir:
Purffawd yr holl rai perffaith,
Rhyfeddol dy lesol waith!
Duwiau eraill daearawl,
Neu 'r Fagddu, fu'n mynnu 'n mawl;
Ein delwau a'n hudoliawn
A fu yn dallu pob dawn.
Tydi, Dduw 'r Goleuni glân,
Hynod, Tydi dy hunan,
Tydi foliannwn ni 'n Ior,
A garwn ym mhob goror.
Ior glân yn nhrefn Rhagluniaeth,
O dew niwl ein dwyn a wnaeth,
O fawrdrwch dywyllwch dwfn
Gerwinawl o hagr Annwfn.
Ein Noddwr, mae 'n iawn addef,
Goleuodd ni, Arglwydd Nef:
I ryddid fe 'n harweddawdd,
Ein dwyn a wnaeth dan ei nawdd:
Iachawdwr mawrwych odiaeth,
Iachâu 'n heneidiau a wnaeth:
O'i ddeiliaid ufuddoliawn
Y ddaear liwgar sydd lawn.
Drwy Iesu mawr, didrosedd
Yw 'r byd mwyn hyfryd mewn hedd.
Cadwynwyd ciwed Annwn
Rhag temtio, twyllo 'r byd hwn.
Trwyddo, yn ddeiliaid rhyddiawn,
Teyrnasu dan Iesu wnawn.
O gwŷn ein byd ein geni
Yr oes hon, hyfrydlon fri!
Teyrnasoedd ac ieithoedd gânt,
Er oesoedd, lwyr wywasant:
Heddyw mae 'th deyrnas hyddawn,
Dêg Ior, yn flodeuog iawn:
Ys agwrdd llïosogi
Mewn urddas mae 'th deyrnas Di.
O ddedwydd ryfedd adeg!
Fe ddaeth prophwydoliaeth dêg
I ben, a dyfod beunydd
Mae 'n gryfach deccach bob dydd.
Pob gweigion ddych'mygion mall,
Uthr ebwch, aeth ar aball:
Gwawr wyneb y gwirionedd
Darfodd dwyll byrbwyll i'r bedd.
Goleuni i ni a nerth
Yw 'th fanol gyfraith fywnerth:
A rhyfedd yn wir hefyd
Y llwyddodd; gorchfygodd fyd!
Gwâr, ewyllysgar, a llon,
Llïosawg yw 'th holl weision.
Mawrwaith wnaethost, Ior mirain,
Erom, ac ynnom, yn gain.
Bychan gennyd, hefyd, hyn,
Ein galw, a rhwymo 'n Gelyn;
Soniaist, crybwyllaist yn bêr,
Fyw Lywydd, fwy o lawer
O lawenydd, haelioni
Rhyfedd, ger bron d' orsedd Di.
Gweled d' Ogoniant gwiwlawn
Mewn Gwawl trag'wyddawl a gawn,
A chanu dy fwyngu fawl,
Ior dedwydd awdurdodawl.
Nodawl Garwr eneidiau,
Beunydd mae ffydd i'th goffâu,
A'th barchus felus foli;
Bendith byd hefyd i Ti:
Bendithion calon pob cu
A geirwir sy 'n dy garu,
Ar d' ol i'r Nef fawr delont,
Ar dy ben, Ior da, y b'ont.
Gwawried y dydd i'n gorawr
O'th fâd ail ddyfodiad fawr.

---

## EMYN AR ESGYNNIAD CRIST.

Dygymmydd Duw âg Emyn
O Awen dda a wna ddyn.
GORONWY OWEN.

ESGYNNODD Iesu gwŷn,
I ddynion hyn sy dda;
Yn Ior dilyth, mae byth yn Ben
Uwch llawen heulwen ha':
Ei ddirgel ddydd
Grasusawl sydd,
Y Llywydd mawr, gerllaw;
I lawr o'i Lys,
Wir Frawd, ar frys,
Yn ddilys fe a ddaw.

I weision doethion Duw,
Sydd yma 'n byw dan boen,
Fe a ddaw hedd o ufuddhâu
Gwir eiriau y gwâr Oen:
Fe ddarfu ddwyn
Eu cosp a'u cŵyn,
Do, er eu mwyn, Ior mâd;
Mae byth yn bêr,
Wiw Nawdd a Nêr,
A thyner Frawd a Thad.

Ei fâd ddyfodiad fu,
Bur Iesu, 'mhob rhyw oes,
Cyn ei eni yn Rhi i'n rhan,
Cyn griddfan ar y groes:
Holl barthau 'r byd,
Lyw hael, o hyd
Sydd dan Anwylyd Nef;
Ior glwys mawr glod,
Bydoedd sy 'n bod
Dan ei awdurdod Ef.

Mae 'n dyfod wiwglod wâr
Drag'wyddawl Gâr mor gu;
Ior y Nef fawr, gwir iawn ei fod,
Hynt hynod, ar ein tu:
I'n dwyn y daw
I'w wledd, â'i law,
A'n gwyliaw 'n fwyndeg iawn;
O ffyrdd y ffol
Fe 'n dwg ni 'n ôl
Drwy nerthol dduwiol ddawn.

Rhagluniaeth helaeth Hwn
Sy 'n trefnu i fyrddiwn faeth;
Ei ras a rydd, a ffydd hoff wâr,
I'n dwyn o'n carchar caeth:
A dïau daw
O'i Drigfan draw
I oleuaw pob rhyw wlad;
At lonnaf lu
O frodyr fry
Fe 'n dwg i Dŷ ei Dad.

Mae 'r wybren harddwen hi
A'i thêg oleuni glân,
A'i hannifeiriol siriol ser,
Yn haeddu geirber gân;
O 'r lwysaf wlad!
Cynteddau 'n Tad,
A'n Ceidwad mwynfad mawr!
Awn ffordd yr aeth,
Drwy 'r cystudd caeth,
Cawn etifeddiaeth fawr.

Fydolion geirwon gau,
Sydd yn parhâu o hyd
I orthrymmu a gwasgu 'r gwan,
Clywch,—bychan ydyw 'r byd:
Nid golau glân,
Hyll dywyll dân,
A chwynfan mawr gewch chwi,
Gan soddi 'n serth
I'ch carchar certh
Ag anferth grochgerth gri.

Terfysgoedd pobloedd pell,
A'u hamryw ddichell ddofn,
Yn ein hoes sy 'n llenwi o hyd
Ein gwlad i gyd âg ofn:
Oh! ofnwn Ef,
Ein Ior o Nef,
Gan addef gweinion ŷm;
O Nef wên iawn,
Gan Dad y dawn
Ni gawn barodlawn rym.

Fel hyn ein Gelyn gau
A wêl yn olau 'n wir
Fod y Duw mawr, yr awr bo raid,
Yn taro 'mhlaid ein tir.
Pa genedl gu
Mor fawr a fu?
Ei Duw 'n ei serchu sydd!
I'w Duw, heb dawl,
Rhydd felys fawl,
Ac anorchfygawl fydd.

Fy addunedau, Naf,
A dalaf, gweuaf gân;
Aberth o fawl, sylweddawl werth,
Dderbynni 'n loywferth lân.
A d' anadl Di
Fy nwyfron i
A lenwi 'n ddifri' ddwys;
Dan nawdd dy wên,
O rasol Rên!
Mae f' Awen lawen lwys.

# AMRYWION CREFYDDOL.

---

## CAROL NADOLIG,

AR Y MESUR A ELWIR, "GWEL YR ADEILAD." (1793.)

> O farddwaith, od wyf urddawl,
> Poed i wau Emynnau mawl.
> GORONWY DDU O FON.

AM eni Mab dymunol
O forwyn,—y Duw anfarwol,
I'n dwyn i fawredd,
I ddynion mae 'n haeddiannawl
Lon ganu mawl plygeiniawl
I Dduw 'r Gogonedd.
Pob clod i'r Ion fo byth yn bod,
Am iddo 'n caru
A'n rhad waredu
Rhag ein gorchfygu
Gan allu 'r Fagddu fawr;
Yn deilwng daeth, Oen dilys,
Ar frys o'i Lys i lawr.
Dydd braw a fydd y dydd y daw
I fawrnerth farnu
Y Diawl a'i deulu;
Ond gorfoleddu
Yn gu wna harddlu Hedd;
Dewiswch Iesu 'n D'wysog,
Cewch lawn-oludog wledd.

Dy'gwyl ei enedigaeth
Geiff dirion goffadwriaeth
Dan helaeth heulwen;
Ac uned â ni gannoedd
O nifer meibion Nefoedd
Yn lluoedd llawen.
Tros fyd, a thros y gwaetha' i gyd,
Tywalltodd heilltion
Aml ddagrau calon,
Adferodd feirwon
A'i gyfion wirion waed;
O'u pen iachâ'dd y poenus,
Modd trefnus, hyd eu traed.
Er bod ein beiau rif yr ôd
Heb attal etto,
Gwnawn daer weddïo,
Gan gysson geisio,
Mae Duw yn addo, nerth;
Mae'n addo dwr santeiddlan
Heb arian ac heb werth.

Cychwynnech pe gwelech unwaith,
Drwy burffydd, y wlad berffaith,
Y lanwaith loywnef;
Mae nifer y Ser siriol,
Puredig Blant ysprydol
Mewn duwiol dangnef;
Mae llawn gymdeithas addas iawn
Drwy 'r Gaer ragorol
O annifeiriol
Angylion nefol
Yn wyrthiol iawn eu nerth,
A heddyw mae 'r gwahoddiad
I'r geinfad Nefoedd gerth!
Mae mawr Benllywydd Nef a llawr
A gwir drugaredd,
A gwên ogonedd,
Fal heulwawr haelwedd,
Ar orsedd, ryfedd Ri;
Dedwyddol i hâd Adda,
Mae yma Noddfa i ni.

O f' enaid bydd gyfannedd
I guro drws trugaredd
Ne's yr agorir;
Mae'r Iesu mawr mor isel,
Oen Duw sydd addfwyn dawel,
Fe a'th wrandewir;
Mae ffydd i'm dwyn uwch caerau dydd,
At borth y Nefoedd,
At fawr niferoedd
O lawen luoedd,
Lle clywaf gyhoedd gôr;
Ior agwrdd a fawrygant,
A'u moliant fel y môr.
Mae 'n dda, mae 'myd fel hyfryd ha',
Taranau 'r gyfraith
Ni chlywaf eilwaith,
Ond cariad perffaith
A gobaith mawrfaith mâd;
Ni ergydia Tad rhinweddau
Mo 'i folltau lle mae 'i Fab.

Er rhadol Ior mawrhydi,
A'i gariad sy 'n rhagori
At y rhai gwirion,
Yn nawsaidd, er mwyn Iesu
A dalodd dros holl deulu
Ei blant duwiolion,
Oh Dad! dod inni lawn ryddhâd;
Dy santaidd Yspryd
A buro'n bywyd,
A'n dysgo hefyd,
Mewn drygfyd ynfyd iawn,
I'th foddio'n ddoeth ufuddol
Ym mhob rhyw dduwiol ddawn:
Duw hael, boed inni, 'r gweiniaid, gael
Am gamwedd gymmod,
A llawn ollyngdod
O'n baich o bechod
I ddyfod ddydd a ddaw
I fyw 'Nghaersalem newydd,
Duw Lywydd, dan dy law.

## CAROL NADOLIG,

### Ar y Mesur a elwir, "Y Fedle Fawr." (1798.)

Ym ni 'n awyddus am newyddion?
O Nef wenfawr mae Duw 'n anfon
Newyddion da yn wir:
Newyddion rhadlon i'r cenhedloedd,
Pêr i lawer iawn a luoedd
Eithafoedd môr a thir.
Ei addewidion mawrion mâd
A wnaeth y Tad gyflawni,
Gan roi sicrwydd purlwydd pêr
O'i dyner gariad inni.
O Wynfyd!—Duw 'n anfon
Rhywioglon Hâd y wraig!
Doeth Sylwedd, daeth Siloh
I ddryllio pen y Ddraig.

Nyni 'n unol, yn ei annedd,
I hygar Enw Duw 'r gwirionedd
Rhown oll glodforedd fawr,
Am anfon mwynfad gadarn Geidwad,
Iesu hylwydd, oedd cyn seiliad
Y ddaear werddfad wawr.
Hoffed gwaith prophwydi gynt,
Pan genynt ei Ogonedd!
Mor bêr a mwyn, mor bur yw mawl
Ei holl anfarwawl Fawredd!
Ei hynod iawn henwau
Yw 'r gorau seiniau sydd:
Santeiddiol—Trag'wyddol—
Rhyfeddol fythol fydd.

Mawr ryfeddod, mor ufuddol
Daeth y Mawredd anghymmarol
O'i freiniol orsedd fry,
O'i Ogoniant mawr, i ganol
Gwael a diriaid lu daearol,
Yn wir rhyfeddol fu!
Tros fyd gau yn Feichiau f' aeth,
O'i boenau daeth bendithion;
Y mwyn Ior ddaeth erom ni
I dlodi a dyledion,—
Dyledion rhy drymmion
I ddynion dalu i Dduw;
Gwaed gwirion y Cyfion
Sy 'n foddion inni fyw.

Naf, o'i gariad, y Nef agorodd,
Ac o'i fynwes a ddanfonodd
Ei wirfodd Fab yn Was.
Rhown ninnau hyder ein heneidiau
Ar gu Roddwr trugareddau,
Drwy rym a gwyrthiau gras.
Mab trugarog, enwog wyd,
A roddwyd, anwyd inni;
O Dduw lwys, ar dy ddelw lân,
Dêg anian, boed ein geni.
Trwy d' Yspryd Glan hyfryd,
Ein gwir ddedwyddyd yw,
Oh tyred, Ior tirion,
Gwna feirwon yma 'n fyw.

Beth ddymunwch?—pa beth meddwch
Am wir ryddid, a mawr heddwch?
Ai hyn ddisgwyliwch gael?
Ewch â dagrau caredigrwydd,
Ewch a chroeso, wych oreuswydd,
Ewch at ein Harglwydd hael.
Drwy weddi ffydd rhydd fo 'n rhaid
I'r enaid o wiw rinwedd
Yn gynhaliaeth helaeth hir,
Y Geirwir llawn trugaredd.
Os ceisiwch, derbynniwch
Bur heddwch i barhâu;
Daw 'n ebrwydd ein Harglwydd,
Dduw hylwydd, i'n rhyddhâu.

Ai gair ofer yw gwir grefydd?
Ai pêr luniaeth, pur lawenydd?
A hynny 'n rhydd a rhad?
Oni wyddoch mai anweddus
Yw cyd-tyrru 'n llu gwatworus
I lys ein dawnus Dad?
Mae 'n ddïammhau 'r gorau Gwr,
Mae Chwiliwr (ymochelwch
Bob gwaith gau) wêl friwiau 'r fron,
A'r galon â'i dirgelwch;
Mae 'n canfod i'r gwaelod
Yn barod fai pob un;
Mae yma 'r Gorucha',
Y mawr Iehofa 'i hun.

Mae nefolion mwynion, filoedd,
Yn rhoi 'n llawen i Dduw 'r lluoedd,
Yn gyhoedd, fawl yn gôr;
I ni, gwyddom, y mae 'n gweddu,
O bur galon, lon foliannu
Ein Iesu mawr a'n Ior.
Gorchfygwr angau, gorau gwyrth,
A haeddai ebyrth moliant;
Tra bo 'r ddaear hawddgar hon,
Duwiolion iddo dalant
Fawl beunydd, drwy bur-ffydd,
I'n Llywydd, ym mhob lle;
Na ofnwn, na charwn,
Na folwn ond Efe.

A rodd ei fywyd i ddifeio
Ei greadur, pawb a gredo,
Beth na rydd etto i ddyn?
Y Duw anwyl sy 'n Dad inni,
Pa lawenydd, pa haelioni
Na rydd? mae 'n hoffi hyn.
Cywirdda Nawdd, fe 'n carodd ni 'n
Ein hisel fri, cyn oesoedd,
Cyn yr haul sy 'n cynneu 'n rhod,
Cyn rhoddi bôd i'r bydoedd:
Yn onest rhown ninnau 'n
Calonnau 'n demlau Duw;
I'w Lysoedd, hael Iesu,
Fe 'n dwg ni i fynu i fyw.

## MARWNAD IORWERTH RHISIART.

**Marwnad Iorwerth Rhisiart, gynt Athraw Ysgol Ystradmeurig, yn sir Aberteifi, am yr hwn y gellir dywedyd, yn wirioneddol, na adawodd ef yng Nghymru mo'i gymmar ar ei ôl.**

———— Præcipe lugubres
Cantus Melpomene.—Hor. Lib. 1. Carm. 24.

Ai gwir a glywir?—(Gwae'n gwlad!
Gwae finnau o'r gofynniad!)
Farw gwr o fawr ragoriaeth?
Oh, rhy wir!—ni fu wir waeth.
Oh Iorwerth! y gwr certh cu,
Gloywddoeth, pan glybum gladdu
Dy harddwch mewn llwch a llaid,
Griddfannodd gwraidd fy enaid.
Mae achos mawr im' ochi,
Wr rhagorol, ar d' ol di:
Canwaith ydd wyf mewn cynnwrf;
Meddalu a llaesu 'n llwrf.
Gwae Gymru gladdu y glod!
Ei hoenus Athraw hynod!
Gwae arw gur, gwae oer gerydd!
E ddarfu, e ddarfu 'i ddydd!
Minnau, pe bai'm awenydd
Odidawg oreurawg rydd,
Gwrdd olau gerdd a eiliwn
O fawl i'r haeddawl wr hwn;
Fe wyddai fu o addysg,
A'i ddawn oedd gymmaint â'i ddysg.
Ac ar ol ei farwolaeth
E fydd awenydd yn waeth:
Rhwng ynfydion gwylltion gau
Hi dawodd yn y Deau;
Aeth beirdd Deheubarth i'w bedd,
A gweiniaid yw beirdd Gwynedd.
Nyni 'n wir a wnawn eiriau
Ceimion, pur weigion i wau;
Fe 'n unig, fwyn awenydd,
Eiliai 'r gân ddiddan i'w ddydd,
Ragorol rywiog araith,
Synhwyrol, sylweddol waith.
Ei gerddi enwog eurddoeth,
Tra bo llên ac Awen goeth,
A fyddant yn rhyfeddawd,
Diwedd eu bri fydd Dydd Brawd.
Yna yr ennynna 'r nef
Wên gannaid,—gwaith Ion gwiwnef,

A'i lwysgyrdd a gyd-losgant,
Ar unwaith yn oddaith ânt!
I ddofion blant amddifad
Bu 'n noddwr, bu 'n dŵr, bu 'n dad.
Gonest galon ac wyneb,
Ni wrthodawdd nawdd i neb.
Da fuost yn dy fywyd,
Da beunydd a fydd dy fyd.
Y gwr gan Dduw a garwyd,
Yn Sïon yr Ion yr wyd;
Y duwiau wrendy d' Awen
Yn entrych y Nef wych wèn;
At y pêr nifer nefol,
Drwy nerth Naf, deuaf ar d' ol.

## MARWNAD Y SENEDDWR ENWOG

# THOMAS WILLIAMS, YSW.,*

### O YNYS FON. 1802.

Dignum laude virum Musa vetat mori.—HOR. CARM. LIB. 4. ODE 9.

Er eidduned taer ddynion,
Er gwaedd mil, er gweddi Môn,
Ni adfer Nêr amser oes,
Rhed einioes (nid rhaid uno'n.)
GORONWY OWEN.

GWAE Fôn ardderchog o fawl,
Ing am wr anghymmarawl
A dôdd ei holl ddedwyddyd,
Mwyndeg oedd mewn du i gyd.
Gwilym gywir ei galon,
Wr haelaf, mwynaf ym Môn,
Seneddwr, gwr trugarawg,
Ail yr hwn ni welir rhawg.
Mawrfrydig bendefig doeth
A dynnwyd o'r byd annoeth,
Ddewiswyd yn urddasawl
I Nef, i dangnef di dawl.
Y bonedd o bob enwau,
Pob mawrion, heb galon gau,
A wylant am farwolaeth
Y gwron ffriwlon a ffraeth.
O ffyddlon galon gwelir
Aml Gymro yn wylo 'n wir;
I'm coludd i a'm calon
Mae gwewyr am Eryr Môn.
Torraeth synwyr natturiawl,
Dysgeidiaeth helaeth, dda hawl,
A rannodd yr Ion uniawn
I'w feddiant, a llwyddiant llawn.
Gwr da mewn sefyllfa fawr,
Anrhydedd Gwynedd geinwawr,
Ef a luniwyd yn flaenor
Ei wlad gan y nefawl Ior.
Goreuon gwychion eu gwedd,
Gwŷr enwog â gwir rinwedd
A roddent i'r gwr addwyn
Barod ufudd-dod yn fwyn.
Dïoedi, diwyd ydoedd,
Tad hefyd i'r diwyd oedd;
Os gweiniaid di blaid, di blwy',
Ei nerthawg hael gynnorthwy
A geisient,—i'w mawr gysur,
Gwnae 'n llon eu calon o'u cur.
Bu lawer amser wrth raid
Yn fwyn i gŵyn y gweiniaid:
Rhag tlodi, rhag cyni caeth,
I filoedd rhoes fywioliaeth.
Yn ddïau 'n awr angau 'r oedd
Goruchaf Naf y Nefoedd
Yn tosturio, 'n gwrando 'i gri,
Wr addwyn, a'i daer weddi.

* Taid oedd y boneddwr hwn i T. P. Williams, Ysw. cynnrychiolydd seneddol presennol Great Marlow, yn swydd Buckingham, a thad Owen Williams, Ysw. Craig-y-don, Môn. Gof ydoedd ei dad, ond trwy ei ddeheurwydd a'i ddiwydrwydd, a chydweithrediad Rhagluniaeth, daeth y mab yn berchen cyfoeth mawr, ac yn gynnrychiolydd seneddol y lle uchod, a gynnrychiolir o hynny hyd yn awr gan yr un teulu. Bernir fod ei ŵyr, Mr. T. P. Williams, yn un o'r lleygwyr cyfoethocaf yn y deyrnas. Pa gydnabyddiaeth oedd rhwng Mr. Richards â'r boneddwr, i beri iddo eilio y Marwnad hwn i'w goffadwriaeth, ni's gallasom gael allan. Efallai mai ei gydnabyddiaeth â'i fab, Mr. Owen Williams, a'i cymhellodd i hyn, yr hwn oedd yn un o ychydig noddwyr ffyddlon y bardd pan gyhoeddodd Gywydd y Drindod, ac a barhaodd felly tra y bu byw.

Yn hyfwyn â'i dangnefedd
Gwnaeth Ion e'n foddlon i'w fedd.
  Iawn canmol rhinweddol wŷr,
Hwy luniant dda ddilynwyr:
Goleuadau y gwledydd
Yw gwŷr da, tra gwawrio dydd.
Er saethau'r angau a'i rym,
Ei ddewredd sydd yn ddirym,
Er hynny,'n erbyn rhinwedd;
Er cau â barrau y bedd,
Hon a ddeil mewn hoen ddilyth,
Ni sawdd rhinwedd i'r bedd byth;
Tra byddo'r byd hyfryd, hon
Dywynna 'mynwes dynion:
Pêr rinwedd mewn pur enaid,
Pa wrthrych mwy gwych a gaid?
Pan gyfodo etto wr,
Un addas, yn seneddwr,
Un dof wrth wan a difalch,
Cadarn mewn barn ar y balch,—
Gwr eres! medd gorŵyrion,
Mae fe mal Gwilym o Fôn!
  Cu yw gwâr deulu gwr da
Hefyd ger bron Iehofa;
Yn rhannog o'r un rhinwedd
A'u tad, bydd ei hâd mewn hedd;
Pan gospir byd ynfyd iawn
Y cofir hâd y cyfiawn.
  Od oes yn ein byd isawd
I rinwedd hoff hedd a ffawd,
Mwy o lawer uwch ser sydd
O loyw anwyl lawenydd.
Dduwiol enaid ffyddlonaf,
Y' ngolau anneddau Naf
Nefolion gwynnion yn gôr,
Dy geraint, drwy'r dêg oror,
A'th groesawant, mwyniant mawr,
I lysoedd y Nef lwyswawr;
Dyna orphwysfa d' enaid
Hyd Ddydd tragywydd a gaid.
Yng nghyfiawnder amser Ion
Y rhoddir cyrph yn rhyddion
O garchar byddar y bedd
I filwaith mwy gorfoledd.
Bydd mawl 'gan drag'wyddawl gôr,
Heb flinaw, i'n byw Flaenor,
I'r Iesu sy'n haeddu hyn,
Gan dda dyrfa ddiderfyn:
Gwelir yn y disgwyliad
Gysuron mawrion i'r mâd.

---

CYWYDD O GOFFADWRIAETH AM Y DIWEDDAR ANRHYDEDDUS A THRA DYSGEDIG

# SYR WILLIAM JONES.*

Boed heddwch a byd diddan
Byth it', ti a gerit gân;
Ac yna'n entrych gwiwnef
Cydfydd â cherdd newydd Nef
Lleisiau mawrgerth,—llesmeirgerdd
Côr o saint cywraint eu cerdd.
GORONWY MON.

AM Syr William siriolwedd
Sy 'mhlith meibion hoywlon Hedd,
Afreidiol, ofer ydyw
I mi *'mboeni*, am y *byw*
*Alaru*,—gwell traethu tra
Grymmus ddoniau'r gwr yma,
A'i rinweddau'n siamplau sydd
I lydain eang wledydd.
  Nid gweigion ddych'mygion mall
I ryngu bodd yr anghall
Yr ydwyf yn fwriadu
Eu rhoi'n dwyll ar wŷn a du;
Ond hanes eres, eirwir,
A thystion gwiwlon o'r gwir
Europa ac Asia gysson,
Y ddwy wlad oleufad lon;
Dysgedigion gwychion, gànt
Ei haeddol glod gyhoeddant,
D'wedant (nid annghredadwy
Mo'u tystiolaeth helaeth hwy)

* Ganwyd y Cymro enwog hwn yn Llundain, ond mab oedd ei dad i dyddynwr bychan yn mhlwyf Llanfihangel Tre'r Beirdd, Môn. Cydnabyddid Syr William Jones y dyn dysgedicaf yn ei oes,—yn ieithydd heb ei fath mewn unrhyw oes,—yn gyfreithiwr dwfn a gonest,—yn hyddysg yn mhob cangen o ddysgeidiaeth ddynol o'r bron,—yn fardd rhagorol,—ac, i goroni y cyfan, yn Gristion dirodres a diragrith. Treuliodd yr 11 mlynedd olaf o'i fywyd yn India, fel Barnwr y Prif Frawdlys yn Bengal. Bu farw yn Calcutta yn 48ain mlwydd oed yn 1794 yn ddisymwth, ac heb i neb ei weled. Ar ei liniau, a'r Bibl o'i flaen, yr oedd pan gafwyd ef yn farw yn ei ystafell. Y fath olygfa fawreddog!

Gwiw lwyddawdd wr goleuddoeth,
Lawn ddysgu, caru pob coeth
A gloyw fuddiol gelfyddyd,
A phob iaith berffaith drwy 'r byd,—
Bob iaith lle mae barddwaith bêr
I Ogoniant y Gwiw-Nêr.
Yn ei alwad, sywfad swydd,
Haerant ei fod e 'n hyrwydd
Areithydd, a phrydydd ffraeth,
O fawr ddawn am farddoniaeth—
Oedd enwog farnydd uniawn,
Ei swydd anrhydeddus iawn,—
Gwr dedwydd â gair didwyll,—
Llon i bawb, a llawn o bwyll.
Gau-frwnt olud y gyfraith
Ni chasglodd, ni cheisiodd chwaith:
E gafodd y gwr gwiw-fawl
Olud gwell o wlad y Gwawl,
Y golud sy 'n troi 'r galon,
Gwir ras i gredu gair Ion;
Bu lwysaf ddysgybl Iesu,
Gwir Gristion o galon gu.
  Pêr odiaeth buroriaeth rydd
I'w einioes fu 'n ddywenydd;
Gwiw seiniau cwbl-gyssonawl,
Plethedig fiwsig o fawl,
A ganai 'n fywiog union
A llaw ac â genau llon;
Yn anian ei fwyn enaid
Balchder na chwerwder ni chaid:
Dëola seiniau 'r delyn
Bob chwerwder o dymmer dyn.
  Blodau a llysiau y llawr,
Awyrawl goedydd eurwawr,
A'u rhyfedd nattur hefyd,
Adwaenai 'n gywrain i gyd;
Y weledig nef lydan,—
Haul a ser â'u gloywder glân
A lwyr hynod olrheiniawdd,
Mawrwaith Naf, anwylaf Nawdd!
A golwg ffydd y gwelodd
Baradwys, oreulwys rodd;
Gwelodd, hyfrydodd ei fron
Degwch anweledigion
Nef siriol sy 'n fwy seirian,
Pelydrawl anfeidrawl fan!
E ganfu Ser y Gwynfyd,
Angylion gwynnion i gyd;
Ac yno, Haul Gogoniant,
Anfarwol orseddol Sant,
(A golwg ffydd ei gwelir)
Mae 'r Iesu 'n teyrnasu 'n wir.
Helaeth lywodraeth hylwydd
Er mawl i'w orseddawl swydd,
Sy 'n bod dan awdurdod Ion,
Ddaionus Lywydd union.
Hyfedr y gwnaeth Iehofa
Bedair teyrnas ddisglair dda;—
Teyrnas bur *nattur* a wnaeth,
A glân deyrnas *Rhagluniaeth;*
Teyrnas *gras*, solas pob sant,
A gwên deyrnas *Gogoniant.*
Perffaith yw 'r mawrwaith mirain!
Celi sy 'n rheoli 'r rhai 'n [illegible]
T'wysog Hedd, y Mawredd mâd,
A gwir drag'wyddawl gariad,
A garodd, Arglwydd geirwir,
Tros eiriau, eneidiau 'n wir.
Gwynnion gedyrn Gogoniant,
Ar air eu Harglwydd yr ânt,
Gan 'hedeg yn genhadon,
O'r Nef i'r ddaear gref gron;
Mwyn wyliant, lu manylaf,
Ffyddlon anwylion eu Naf;
Diogel hwy a'u dygant,
Er mawl i'r grasusawl Sant,
O erlidfawr wael adfyd
Marwol i'r anfarwol Fyd.
  Yn addwyn, hir flynyddoedd,
Caru a hiraethu 'r oedd
Y doethfad wr bendithfawr
Am fwynhâu 'r Nef olau fawr:
O'r byd dyryslyd, aml dro,
Ei enaid hedai yno.
Gair anwyl Duw 'r gwirionedd
I'w yspryd fu 'n hyfryd hedd.
Ei lafur oedd bur ddi baid,
Ddawnus a santaidd enaid.
Dan Ior ymdrechiadau wnaeth
I gyrraedd pob rhagoriaeth;
Ei olau ddysg a'i loyw ddawn
A daenodd y' mhlith dyniawn,
Er mwyn cynnydd dedwydd da
I lwyddiant hil wael Adda.
  Asia, drwy lawer oesoedd,
Yn dywyll iawn a dall oedd;
Fe oleuawdd, dan nawdd Nêr,
Luoedd yn Asia lawer;
Yn Asia mewn mwyna' modd
Ei ddyddiau a ddiweddodd:
Yno, mewn distaw annedd,
Yno mae 'n huno mewn hedd:
Ei firain ran anfarwol
I Nef esgynnodd yn ôl;
Addfedodd i fwy odiaeth
Fyd,—i wir wynfyd yr aeth.
  Trwy gywrain lydain wledydd
Mae cwynion dyfnion bob dydd,
Galar i'r ddaear a ddaeth
O'i herwydd, a blin hiraeth:
Ond llawen yw 'r Nef wên fawr
A'i gwiw luoedd goleuwawr.
  Da gan Gymro 'i fro ddi frâd,
A'i gwŷr haeddawl o gariad.
Am Ynys Fôn mawr son sydd,
Hynod fu ei hawenydd;
Ac o Fôn dirion y daeth
Y gwr mawr ei ragoriaeth;
Môn ddinam oedd glwysfam glau
A dedwydd wlad ei dadau;

Sylwir gan oloesolion
Ei fod e 'n fawrglod i Fôn.
Mae Cymru 'n rhestru 'r gwr hwn
Yn fardd, yn un o fyrddiwn,
Heb ronyn o chwŷn neu chwant
Gweniaith, na gwag ogoniant.
Medd Prydain gywrain i gyd,
Yr unfodd medd Dwyreinfyd,
Am Syr William ddinam ddoeth;—
Gweddus ddysgawdwr gwiwddoeth,
Mawr oedd,—prin cymmar iddo;
Trwy y byd bydd 'i enw, tra bo
Haul eang yn ymddangos,
A lloer nef yn llywio 'r nos.

*Barddwaith diweniaith* DEWI IONAWR,
Yn y flwyddyn o'i oedran 75, Mai 12fed, 1826.

## BEDDARGRAFF MAM Y BARDD

### YN EGLWYS TOWYN.

Is llawr huno 'n awr a wna—gwraig eirwir
Garai y Goruchaf';
Ei henaid byth ni huna,
Mae 'n llaw Duw, mae mewn lle da.

## BEDDARGRAFF GENETH UNARDDEG OED

### YN MYNWENT DOLGELLAU.

TRALLODAU, beiau bywyd—ni welais,
Na wylwch o'm plegyd;
Wyf iach o bob afiechyd,
Ac yn fy medd, gwŷn fy myd.

## ENGLYNION

I GYFIEITHIAD EI HOFF GYFAILL, Y PARCH. T. JONES, CREATON, O "WLEDD I'R EGLWYS, GAN Y PARCH. W. ROMAINE, M. A., YN LLUNDAIN," 1791.

HEDDYW 'r wyt yn wahoddawl,—ddarllennydd,
I'r llwyni santeiddiawl;
I wledd gorfoledd, gwir fawl,
I brïodas ysprydawl.

Heddyw y mae 'r gwahoddiad—dedwyddawl,
Dod iddo wrandawiad,
I gywrain wledd o gariad,
I wledd a rhyfedd barhâd.

Pur iawn waith, mal pêr win yw ef,—yfwch
O afon goleunef;
E seiliwyd ar waith Selef,
Ar odlau caniadau Nef.

O gariad gwnaethost ragorwaith,—fwynwr,
Fy anwyl gydymmaith;
Da wladwr, a diledlaith
Gymro yn goreuro 'r iaith.

O'th frwd gariad i'th fro-dir—yn fynych
Anfonaist waith cywir;
Gan bob Cymro garo 'r gwir,
Fy nghyfaill, ni 'th anghofir.

Mae 'n galed, mwy mo 'n gilydd—ni welwn
Hyd na alw Dofydd;
Cawn wledd mewn cain oleuddydd,
A hynod gyfarfod fydd!

## GALARNAD

### UWCHBEN MARWEIDD-DRA YSPRYDOL A LLENYDDOL YR OES.

MEIRWON ydyw 'r marwnadau!—mwy eres,
Meirwon y pregethau!!
Meirwon 'mhlith trigolion gau
Yw 'r mwynion aur emynnau!!!

# AMRYWION CYFFREDINOL.

## ATTEB I DDIFREGAWD IEUAN FARDD DU.*

RHOES DOL dan iau ychen, i'w perchen bydd gwell;
Pe'i meddwn rhown drysor i goffor neu GELL:
Och! dwfn yw 'ch dyfais, cysylltais âg E,
DOLGELLE, medd f' Awen, mwyn llawen yw 'r lle.

Mewn CAE† rhown fy muchod; 'dwy 'n gwybod mo 'r gwir
Ai CEIRCH a wna 'r bara sydd amla 'n y tir;
Mae 'nghred, o'th wel'd IEUAN, mor druan â'r dryw,
Na chefaist i'w fwytta fawr fara 'n dy fyw.

Ond gwrando, fardd cymhen, yn llawen fy llais,
Gad Rebus‡ ddiarhebus, annhrefnus i'r Sais:
Cais gadw iawn synwyr a'r gloyw-wir, wr glân,
I Gymro de 'i gamrau da gweddai dy gân.

1770. DAFYDD AP RHISIART.

## ENGLYNION I FFYNNON Y GRO,

GERLLAW Y LLWYN, DOLGELLAU, SWYDD FEIRIONYDD. 1796.

O Fons ——— splendidior vitro,
Fies nobilium tu quoque fontium.
HOR. CARM. LIB. 3. ODE 13.

FFYNNON gwlad Feirion glodforaf—heddyw,
Mae 'n haeddu 'r glod bennaf;
Ei chroyw ddwr gloyw a wna glaf
Ddynyn yn iach ddïanaf.

Ffynnon y gweinion i gyd,—ei gelwir,
Rhag alaeth afiechyd;
Cyn hir fe 'i rhifir hefyd
Yn ben ffynnonau y byd.

* Evan Thomas, Golygydd yr Eurgrawn: merch y Caeceirch, gerllaw Dolgellau, oedd ei wraig. Difregawd IeuanFardd Du oedd fel y canlyn,—

Rhowch enw offeryn ddeil ychen dan iau,
Ac enw lle rhoddwch eich trysor yn glau,
At hyn rhowch ragenw sy weithiau 'n Gymraig;
A'r plwyf a gewch weled lle magwyd fy ngwraig.
Ac eilwaith rhowch enw rhyw ddernyn o dir
Lle trowch eich 'nifeiliaid ne's poront e'n glir,
A'r llafur wna 'r bara sydd amla 'n ein gwlad;
A'r tŷ a gewch weled lle trigodd ei thad.

† Caeceirch yw enw y tŷ.

‡ Rebus y geilw y Saeson y fath hyn o gwestiynau dychymygol. Y *Spectator* a'i geilw yn *False Wit*. Y Magasinau Saesoneg ydynt lawn o honynt.

Na phoenwch i Dreffynnon—ymlusgo
Am lesgedd elefydon;
Coeliwch, wrth fodd eich calon,
Cewch iechyd o hyd yn hon.

O flin haint ac o aflan hwyl—farwol
Adferodd fi eilchwyl;
Cefais iechyd, hyfryd hwyl,
Yn y ffynnon hoff anwyl.

Ym min dwyffrwd mewn dyffryn—gwyrdd y tardd
(Gerddi têg gyfarbyn)
I fardd ac i oferddyn
Yn gan' gwell nag yw gwin gwŷn.

Meddygon mwynion eu mant,—am un clwyf,
Am wan claf esmwythant,
Yma a thraw lladd naw a wnant,
Gwed'yn crog-bris a godant.

Brenhinbren, derwen sydd dyst,—haul eurwawr
Sydd lariaidd oleudyst;
D'wedant (a digon deu-dyst)—
Ewch i hon, a dim ni chyst.

Yn nattur nid oes hynottach—ffynnon
Hoff enwog, na'i hoerach;
Nofied ynddi ddyn afiach,
E ddaw yn ôl yn ddyn iach.

Ffynnon gro gwynnion ganwaith—a folir
Gan filoedd drwy'r dalaith;
Hir yr hoffir ei heffaith
Gan gleifion gwlad Feirion faith.

Os hir y cedwir mewn co'—y rhigwm
Anrhegais i honno,
Pur gyfiawn y pair gofio
Gloyw Ffynnon groywlon y gro.*

## ESGUSAWD Y BARDD

PAN GYMHELLWYD EF I GYMMERYD MERCH IEUANGC DDYSGEDIG YN WRAIG.

CYNHYGIWYD im' wreigen dda gymmen ddi goeg,
Yn medru tafodiaith y Lladin a'r Groeg;
Minnau attebais,—wr dawnus ar dir,
I wraig mae dwy dafod yn ormod yn wir.

* Y mae "y Llwyn," y "ddwyffrwd," y "dyffryn gwyrdd," y "gerddi têg," a'r "ddeu-dyst," sef y "brenhinbren derwen," a'r "haul eurwawr,"—a'r "rhigwm" tlws hwn a anrhegodd y Bardd diolchgar iddi am ei gwasanaeth iddo, yn parhâu etto fel yr oeddynt yn 1796; ond am "loyw ffynnon groywlon y gro," er mor rhinweddol ydoedd, fel ei hybarch fardd, "ei lle nid edwyn ddim o honi mwy."

## CYWYDD AR DDYDD ETHOLIAD

# SYR ROBERT WILLIAMES VAUGHAN,

### O NANNAU, YN SENEDDWR DROS SWYDD FEIRION. 1807.*

HWN yw y dydd hynod iawn,
Mâd araul yn Mai diriawn,
I ddethol rhinweddol wr
Yn syw nawdd, yn seneddwr,
Yn farchog, ardderchog ddawn,
A mawredd brynniau Meiriawn.
Pan fyddo 'r dyfnfor yn dêg
Ei wyneb, heb arw waneg,
Hawdd hwylio ar ddydd heulawg;
Ond pan fyddo 'n rhuo 'rhawg
Y tonnau 'n anghyttunawl,
A bloedd y dyfroedd heb dawl,
I'w droi 'n wir rhaid medr a nerth
Morwr wrth y llyw mawrwerth;
Neu 'r rhestrau o donnau dig,
A'u godwrf terfysgedig
Orchfygant, lyngcant long lawn,
I'w dinystr sawdd y dyniawn.
Terfysg sydd trwy 'r byd dirfawr,
Nerthoedd teyrnasoedd sy 'n awr
A'u bryd am lyngcu Brydain;
Rhag arfau a rhuthrau 'r rhai 'n,
Pa wr glân weithian yn wir
Addaswych a ddewisir?
I'n llu pwy gawn yn llywydd
Rhag gweision ffeilsion di ffydd?
Medd pob tafod gloywglod glau
Oll yn unair,—LLEW NANNAU!
Dan y gwr Duw a'n gweryd
Rhag creulon Babyddion byd.
Treiswyr, ni lwydda 'u trawswaith,
Na 'u dyfnion ddichellion chwaith.
Mae 'n brenin mwynbur rinwedd
Yn haeddawl o fawl hyd fedd;
A'r seneddwyr sy 'n haeddu
Gan eu gwlad bob cariad cu.
Syr Robert sy wr hybarch,
A rhwydd i bawb y rhydd barch.
Yn ei alwad anwyla'
Llwydded Ion ein llywydd da.
Yn llawen wlad ein llywydd,
Yn Meirion dirion bob dydd
Mynych iddo dymunir
Yn llys Nannau fwynhâu 'n hir
Bêr einioes, bob rhyw rinwedd,
Llon iechyd, a hyfryd hedd.

---

## CYLCHDAITH DRWY WYNEDD YN 1814.

I ARFON o Feirion teithiais yn fyfyriol;
O Arfon i Fôn; o Fôn i Feirion yn f' ol.

Croes ydyw 'r byd bawlyd byth;
Oer yw i fardd êl ar feth;
Oh am rydd fynydd neu fwth
Rhag byd terfysglyd o'r fath!
Barddoniaeth bêr yw mwynder maith
Dedwyddaf waith prydyddion;
A gwaith cybyddion budron byd
Yw hel golud i hael galon.†

* Adetholiad o Syr Robert ydoedd hwn yn amser yr etholiad cyffredinol a fu y flwyddyn honno mewn canlyniad i weinyddiaeth Whigaidd Arglwydd Grenville roddi eu lle i fynu. Etholesid ef yn Farchog y tro cyntaf ar farwolaeth ei dad yn 1792, a pharhaodd yn y swydd yn ddiwrthwynebiad hyd 1836, ystod o 44 mlynedd, pryd y rhoddodd hi i fynu, ac yr etholwyd y Marchog presennol, Richard Richards, Ysw. Caerynwch, yn ei le. Bu farw Ebrill 22, 1843, yn 75 mlwydd oed. Yr oedd y diweddar hybarch Farwnig yn wr o synwyr cryf,—yn wladgarwr ffyddlon a nodedig o haelionus,—yn Eglwyswr ac yn *Tory* trwyadl. Y mae ei fab Syr Robert Williames Vaughan, Barwnig, o Rug, cynnrychiolydd parchus presennol y teulu, yn cynnrychioli un o'r teuluoedd hynaf ac anrhydeddusaf yn y deyrnas. Gall olrhain ei waedoliaeth fil o flynyddoedd yn ol i Merfyn, trydydd fab Rhodri Fawr, brenin holl Gymru yn y nawfed ganrif. Llanwodd yr "ardderchog lu" hyn o'i hynafiaid le pwysig yn ngweithrediadau y Dywysogaeth trwy yr oesoedd olynol. Gall restru lluaws o brif enwogion y deyrnas, megis y Tywysog Llewelyn, Glyndwr, Cromwell, Robert Vaughan yr hynafiaethydd, ac eraill, ym mysg y naill neu y llall o deuluoedd ei hynafiaid. Rhai o honynt hwy oedd cynnrychiolwyr cyntaf Meirionydd pan orchymmynodd Edward II., yn 1342, anfon cynnrychiolwyr sirol dros Gymru i'r Senedd, a pharhaodd ei hiliogaeth i lenwi y swydd heb ond ychydig o eithriadau, o hynny hyd y pryd y gorfododd henaint a llesgedd i'w hybarch dad roddi y swydd i fynu yn 1836; ac—ond gwell tewi.

† I blant gwastraffus.

## I'R SEREN GOMER.

MAE 'r Seren geinwen ar gynnydd—bywiog,
Ni bu ei hefelydd;
Seren lon i feirddion fydd
O Fynwy i Eifionydd.

Clodforer Gomer ar gân—a'i Seren
Gysurus ei hanian;
Gweler ei hwyneb gwiwlan
A mawr lwydd drwy Gymru lân.

## ETTO. 1827.

Micat inter omnes
Gomerum* sidus, velut inter ignes Luna minores.
HOR. CARM. LIB. 1. ODE 12.

### TRI ENGLYN.

SEREN eglurwen ein gwlad—a lawen
Oleua 'n ei rhediad;
Seren a bair fawr siarad
Am Gomer a'i hoywber hâd.

Bo 'n Seren lawen i luoedd—ar led
Drwy 'r wlad a'r dinasoedd;
Bo 'n Seren uwchben siroedd
Cymru yn gwenu ar g'oedd.

Disgleiriach gwynnach na Gwener—gwelir
Ei goleu bob amser;
Gwiwlan trwy Gymru gweler
Ei gwawl tra bo 'r siriawl ser.

### CYWYDD DEUAIR HIRION.

Os iawn yw cymmaru ser,
Yn gymmwys Seren Gomer
Gu eirian, sy 'mhob goror
Fwy claerwen na Seren Sior.

### HIR A THODDAID.

Seirian a nerthawg yw 'r Seren wyrthiol;
Os pob celfydd ym mynydd a maenol
A'i gwiw noddant, hi fydd yn gynnyddol;
Gwŷr da goludawg, drwy gariad gwladol,
O rhoddant yn wir haeddol—gymmorth bach,
Oleuach, lanach, hi â 'n olynol.

* "Julium" sydd gan Horace.

## I'R DYSGEDYDD, GWILIEDYDD, A SEREN GOMER.

Dwys gadarn yw 'r Dysgedydd—i lawen
Oleuo y gwledydd;—
Gwawl odiaeth y Gwiliedydd
Uwch Gomer â'i dŵr ser sydd.

## ATTEB BYRFYFYR I MR. JOHN ROBERTS,

### CRYDD, DOLGELLAU,

PAN OFYNODD I'R BARDD PA FATH ESGIDIAU A DDYMUNAI GAEL.

'Sgidiau a gwadnau gwydnion;—gofynaf
Am gefnau esmwythion;
Crefaf am bwythi cryfion
O dlws waith deheulaw Siôn.

## PLESER BARDD.

O bob dawn radlawn a roes
Yr Ion yn gysur einioes,
Hynottaf peth yn nattur
Yw mwyn-waith Bardd mewn iaith bur.

## ENGLYN I GLER-FEIRDD.

———— tractant fabrilia fabri:
Scribimus indocti doctique pœmata passim.
Hor. Epist. Lib. 2. 1. 116. &c.

Llawer cyfyngder a fu—i'm cenedl;
Mae cwynion drwy Gymru
Fod dynion llymmion yn llu
Diddysg, pawb yn prydyddu!

## ATTEB I ORCHESTION DAFYDD DDU O ERYRI. 1801.

Arwyrain Bardd Eryri led ddigri' i'r wlad a ddaeth,
Dan hedeg fel hwyaden mor drom âg aden gaeth,
Nid "adgyfodiad Awen" hyfrydwen uchel fri
A welir, ond dychrynllyd hyll wedd ei hyspryd hi.

E dd'wedodd, O mor henffel! nid angel ydyw dyn;
Mae beiau ar y gorau, ac weithiau lawer gwŷn;
Pa achos, Fardd Eryri, oedd adgyfodi fyth
D' Awenydd, â'r fath newydd, o'i dwfn annedwydd nyth?

Mae eisiau cael gwell mesur, mwy difyr fydd y dôn,
Ac amlach bydd gwrandawwyr; am synwyr bydd mwy son;
A mwy o son am ddoniau a fydd drwy 'r parthau pell,
Y mesur a newidiwn, ni ganwn rywfaint gwell.

Mewn llawer Eisteddfod ei fawrglod a fu;
Nid oedd y fath brydydd â Dafydd Fardd Du:
Nid oedd y beirdd gorau, bid tenau, boed tew,
Ddim wrtho ond fel draenog neu lwynog wrth lew.

Ar ol curo Gwallter* â'i ddoethder cras ddant,
A phrydydd anfarwol a nerthol y Nant,†
Pa'm sathrai fe'r gwannaf a'r gwaelaf i gyd
O fân rigymmyddion a beirddion y byd.

Mae hyn mal p'ai eryr yr awyr clir iach
Yn gosod yn erbyn gwybedyn llwyd bach;
On'd tro ansynwyrol ar ddoniol fardd yw?
Fe bair iddo wrido tra byddo fe byw.

Oherwydd gywreinied, fywiocced a fu
Barddoniaeth ardderchog y doniog Fardd Du,
Yn ddïau fe 'mddengys yn hysbys wrth hyn
Fod rhinwedd rhy arw ar gwrw 'r Plasgwyn.

Ai ynddo fe 'i hunan mae 'r anian ddiras
A wnaeth i'r bardd drippio, tramgwyddo mor gas?
Neu ynte ddrwg blaned, neu dynged y dyn
A'i dallodd, a'i maglodd, a'i gwylltiodd mewn gwŷn?

Fe allai mai tynged ddimedded ei naws,
Neu blaned a guchiodd, edrychodd yn draws,
A'i gyrrodd i ddrewi a meddwi 'mysg moch,
I 'mborthi ar gibau trwyth cafnau 'r Traethcoch.

Deffrôdd, ymysgydwodd, ehedodd ar hynt,
Fel egwan aderyn, i gandyn y gwynt;
Disgynnodd yn ddiglion yng Nghaernarfon wych
Yn gwla mewn golwg, yn ddrwg iawn ei ddrych.

Ac yno 'n sychedig, a lloerig, a llwm,
Heb fawr o ddifyrwch, a'i dristwch yn drwm,
A'i byrsyn yn ysgafn, annifddan ei naws,
Yn wanllyd ei gwmman, a thruan, a thraws.

'N ol meddwi ar waddod, i'r daflod â'r dyn;
Bu yno 'n myfyrio, 'n ymgommio mewn gwŷn,
Yn hunanymddiddan mewn ffwdan mor ffol,
A hon ydoedd araith iselfaith ei siol:—

Ni thâl marwnadau a hymnau ddim hwy,
Ofeiriadd en dangos 'mysg plantos y plwy';

* Gwallter Mechain. † Twm o'r Nant.

Mae gormod o amledd (O rhyfedd!) o'r rhai 'n,
Hwy wnaethent o'r gorau yn nyddiau fy nain.

Mae 'r byd yn oleuach a doethach bob dydd,
(Oherwydd goleuni mwyn gerddi y gwŷdd)
Ni wna gwaith galarus truenus mo 'r tro,
Rhaid rhywbeth gwageddus a gwarthus o'i go'.

Am hynny caf fawrglod mynachod yn wir,
Caf, f' allai, hen ddillad, caf foliad o fir;
Personiaid cyfoethog yn rhywiog bob rhai
A'm haeddol wahoddant, a'm tynnant i'w tai.

A phwy ŵyr na ddeuaf, na fyddaf fi 'n fardd,
Fel Iolo* ddigymmar, wr hawddgar a hardd?
Neu 'r bardd a ga'dd Awen o bair bridwen wrach,
A ganodd fal Homer gân bêr Gweno bach?†

Beth bynnag a wnelwyf, na ddelwyf i ddant
Bardd ffyrnig, fromedig, gwenwynig y Nant,
Mae bardd bach ym Meirion digalon a gwael,
Mi gaf o'i w'radwyddo a'i fwlio ryw fael.

Ar hynny fe hunodd, breuddwydiodd yn ddwys
Ei fod ef dan feini 'n ymboeni, trwm bwys;
Pe gwnaethai breuddwydion, rai trymmion, y tro,
Ni buasai 'r Bardd cywraint ddim gymmaint o'i go'.

Fe glywodd ddylluan â'i hanniddan iaith
Uwch ben yn d'rogann drwy ganu dair gwaith;
A theirgwaith griddfannodd, e wichiodd y wasg,
Hi dorrodd o'r diwedd gan dostedd y dasg.

Heb gyfarch "*Urania*," y benna 'n y byd
O'i holl ben gyfeillion, rai gwychion i gyd,
Y dyn a brydyddodd, argraphodd mewn grym
Ei rigwm cynddeiriog yn llidiog a llym.

Danfonwyd baledwyr, rhedegwyr ar da'n,
I ganu a thaenu trwy Gymru ei gân,—
"Gwybyddwch! Gorchestion bardd Arfon a ddaeth!
Cewch glywed a gweled, gan sicred â saeth!"

Pa fodd gwnaethost ddanfon fath garthion o'th gell?
Mi wn y gwnai Person Tregaron‡ rai gwell:
Rhag c'wilydd cais geubren yr hwrthgen ar hynt,
Dos! pisa 'n un bwngler ar gyfer y gwynt.

Er gwneuthur cân wanllyd duchanllyd o'i cho',
Drwy anferth e ffwdan (on'd trwstan fu'r tro?)
Dangosaist fod pybyr faith synwyr i'th siol;
Dy enw ni ddodaist, ni arddelaist, gerdd ddòl.

* Iolo Morganwg. † John Jones, Glanygors.

‡ Haerodd y Person anffodus hwn nad oedd nac iaith na chynghanedd yn Marwnad Ieuan Brydydd Hir i Frederick, Tywysog Cymru. Y canlyniad fu i'r frawdoliaeth farddol heidio fel cacwn ya ei ben, a chymmeryd eu gwynfyd arno yn ddiarbed. Bu yn chwareubel ddifyrus iddynt tra y bu byw, a pharhaodd "Offeiriad Tregaron" yn Nghymru, fel Zoilus yn Groeg, flynyddau lawer wedi iddo farw, yn ddiareb am gwach-feirniad neu glerfardd. Gwel Diddanwch Teuluaidd, t. d. 23.

Amynedd i minnau; croes eiriau cras iawn
I arall adawaf, ni ddysgaf mo'i ddawn;
Mae 'n well gennyf ganmol haeddiannol dda was
Na boddio cybyddion, a'r beilchion wŷr bas.

Ond er mewn cyfyngder, fel llawer un llwm,
Heb arno fawr ganu, 'n rhigymmu 'n ei gwm
Er gwneuthur cerdd orwag, (p'odd bynnag y bu)
Nid egwan o brydydd oedd Dafydd Fardd Du.

☞ Yr oeddym yn petruso pa un a gyhoeddem yr attebion canlynol o eiddo y Bardd Du i Dafydd Ionawr ai peidio: pa fodd bynnag, ar annogiad y Parch. W. Rees, Liverpool, yr hwn a ddigwyddodd alw gyda ni ar y pryd, penderfynasom eu dodi i mewn. Barn Mr. Rees oedd, y dylasem naill ai gadael allan dychangerdd Dafydd Ionawr, neu ynte gyhoeddi yr ochr arall hefyd. Ceir amgylchiadau yr ymrafael yn y Cofiant.

ATTEB I GABL-GAN DAFYDD IONAWR, TACHWEDD 23, 1801.

Paham it', Fardd Ionawr, eglurfawr dy glod,
Droi'n ofer rigymmydd annedwydd dy nôd!
Argraphu caniadau, faledau di flâs,
Gan daenu pob gw'radwydd, a chelwydd, a châs.

Gosodais barch lawer ar gyfer y gwaith
A wnaethost ym mlodau llawn ddyddiau dy daith;
Pan genaist fursendod, o'th gwaelod daeth gwŷn,
Côs weled nad angel wedd-dawel yw dyn.

Ti luniaist gân benrhydd i Dafydd Fardd Du,
I'w *fastio*'n ei salwch, anferthwch a fu,
Gan feddwl ei drechu â chanu croch iawn,
Heb ystyr na sylwedd (nôd ceredd) na dawn.

Pa fael oedd o fwlio un llelo, ddyn llwm?
Croesi 'th ganiadau â rhesymau ryw swm
Oedd wir angenrheidiol sylweddol iawn waith,
Caredig, rhag gw'radwydd er aflwydd i'r iaith.

Os tlawd ydoedd Homer, fardd geirber oedd gynt,
Mae etto dylodion rai hoywon ar hynt;
Ehedant i'r entyrch ar gyrch eurog wawr,
Hwy dynant adeiniog oludog i lawr.

Paham it', Fardd gwallgo', w'radwyddo un dyn,
Oherwydd dy hanes a'th gyffes mewn gwŷn,
Gan gyfri' tylodi yn gwmni têg wawr,*
A'i edliw i arall yn anghall yn awr.

'N ol gwario dy geiniog gwan gyflog a gai,
At ffrwyagyn cyfoethog arianog yr ei;
Dehongli breuddwydion yn union a wnei,
Gan ddarllen i wanddyn ei ffortun, ffei, ffei!

Os gwir a ddywedwyd, a daenwyd yn d' ol,
Dy fod yn myfyrio ar farian y Ddôl,
Ar dywydd tra oerllyd a rhynllyd, sef rhew,
Yn neidio ac yn chwerthin â'th d—n yn noeth dew.

Os 'berni di, Dafydd, waith gwŷdd yn beth gwan,
Un alwad ni roddwyd, ni threfnwyd i'th ran,
Ond llunio baledi, a llenwi 'r holl wlad,
A theilo hyd y marian gnwd arian dy dad.

Pe buasai heb fod gweddill, ond ynnill i ti,
Dy gyflwr a ymddengys yn hysbys i ni;
Buasit yn dlotach, dau lymach dy lun,
Yn Ddafydd ysgafn-bwrs, mwy gwag-bwrs nag un.

A fuost yn brentis croes ddibris cras ddant
Yn ngholeg y Cooper,† neu yn nyfnder y Nant,‡
Yn dysgu cras chwedlau crog eiriau crog iaith,
A phob cynfigenllyd wenwynllyd wan iaith!

* Cyfeirir yma, mae yn debygol, at y llinellau canlynol a geir yn yr argraffiad *cyntaf* o Gywydd y Drindod, Rhan ix. ll. 249—252; ond nid yn yr *ail*, yr hwn a ddiwygiwyd *ar ol* hyn.

Dedwyddol dlodi addwyn!
Tad rhinwedd ddifalchedd fwyn!
Heb rinwedd, mewn bèr ennyd,
Soddai, darfyddai 'r holl fyd.

† Ellis y Cooper, y baledwr.

‡ Gyda Twm o'r Nant.

Os chwennych wnai etto ymgommio 'n bur gas,
Bydd mwyfwy dy gastiau, rhinweddau'r hen was;
Wrth lunio gwrthwyneb ymatteb i mi
'R wy'n ofni mai rhegu neu dyngu wnei di.

GWRON BACH O EIFIONYDD a'i cânt.

---

## EBRILL YN ERBYN IONAWR,

SEF ATTEB I DYCHAN GABLEDDUS DAFYDD IONAWR I'R BARDD O ERYRI.

*Eithr od wyd athraw didwyll,*
*Gwelych na rebellych bwyll.*

LLEWELYN, Moel y Pantri.

Ai awdwr cerdd y Drindod, ffrwyth dwys fyfyrdod faith,
A droes yn gas i erlid, gan newid ei hen waith;
Gan arfer rhyw freuddwydion yn ail i goelion gau,
A geiriau ffol plentynaidd, rhy ffiaidd i'w coffâu!

Ow ddyn! ai Dafydd Ionawr, oedd glodfawr brydydd glân,
A fwriodd draw yn forau o dref Dolgellau gân!
Rhyw Fardd o fro Eryri, heb geisio 'n ddifri', gwn,
Wrth fwrw ergyd allan a glwyfodd HUNAN hwn!

Hawdd ydyw, rhai a dd'wedant, i'r elephant erioed
Drwm sathru pryfyn egwan yn druan dan ei droed;
Ond etto'r egwan bryfyn ar fin y llecyn llaith
Sydd wydn dan ei wasgfa, fe winga yno 'n faith.

Y trosedd mawr enbydus, arswydus dyrys iawn
Oedd enwi Dafydd Ionawr yn wr o ddirfawr ddawn,
A dweyd fod ei 'hediadau uwch y cymmylau mawr,
Ac felly'n llwyr ddisithrol i'r lleddfol ar y llawr.

Ni châr y Bardd o Feirion, wr digllon, ar ei daith
Un dychan anheddychol, na cherdd i'w ganmol chwaith;
Ei hynod waith ei hunan sydd ddiddan ganddo ef,
Wel, dyna'r orchest bennaf anwylaf is y nef!

Os ydyw am ddiwygio, difeio 'r aflan fyd,
Dechreued arno'i hunan, rhag bod yn cwynfan o'yd;
Ond nid wrth hau enllibiau, croes eiriau, lle ceir sèn,
Y daw'r fath orchwyl pwysfawr sydd boenfawr swydd i ben.

Er ceisio gosod deuben* mewn awen ym mhen un,
Dangoswyd anghyfiawnder mewn llymder gwaethaf llun;
Wrth hynny aeth y ddeuben yn unpen, am wn i,
A'r unpen aeth yn benglog afrywiog isel fri!

Mae Bardd Eryri'r awr'on lle trig mewn purion trefn,
A dillad da didyllau o'r gorau am ei gefn;
Er nad oes gwaith trafferthu i werthu, torri tir,
Os digwydd syched arno, fe geiff, pan fynno, *fir!*

Os nad yw'r Bardd yn harddwych, wir drefnwych ar ei droed,
Ni wisgodd ef ddilladau 'ffeiriadau hoff erioed;
Eu hawddgar fwyn dderbyniad heb arian, anfad nwy',
Sy'n dangos nad cybyddion ond haelion ydynt hwy.

Ni fedrai gwr Tregaron yn gysson ddweyd y gwir,
Na gwybod rheol caniad, medd hyrriad Prydydd Hir!
Ac yntau, Dai o Dowyn, mae ffrwyth ei goryn gwan
Yn dangos fod madrondod ryw ormod yn ei ran!

Edliwiodd gwrw tafarn, trwyth cadarn y Traethcoch,
A bod y Bardd yn burddu yn cydgymmysgu â moch,
Gan gynnal anferth dwrw am gwrw cry'r Plasgwyn,
Bu yntau'n chwennych rhodio'r ffordd honno y' mhell cyn hyn.

Ond gwael yw'r neb a goelio, a rhoi, 'n ol gwrando, gred
I'r ganiad gynfigenus erlidus ddaeth ar led;
Dyfeisiodd anwireddau ffrom enau fwy na mwy
Nad ydyw mewn cyssondeb yn werth eu hatteb hwy.

Nid rhyfedd iddo geisio dwl wawdio eiddil un,
Ni pheidiodd a gw'radwyddo (ffei hono!) ei dad ei hun;†
Rhyw nodau anghrist'nogol o ffrwyth afrasol fryd
Oedd galw ei dad ei hunan yn "bagan" yn y byd.

* Cyfeirir yma, efallai, at ymosodiadau llymion Twm o'r Nant ar y Bardd Du yn y rhyfel boethlyd oedd rhyngddynt ynghylch yr amser hwn.

† Pan wrthododd ei dad roddi arian iddo i argraphu Cywydd y Drindod. Gweler y Cofiant.

